# GWAITH

## Mr. Rees Prichard,

Gynt Ficcer *Llanddyfri* yn Shir *Gaerfyrddyn*: A brintiwyd o'r blaen mewn tri Llyfr, wedi gyssylltu oll a chwbl (er nid yn yr vn drefn a chynt) ynghyd â Phedwaredd Ran, y nawr gynta yn brintiedig.



Deut. 31. 19, 21. *Scrifennwch yr awron i chwi* y gân *hon; dysc hi hefyd i feibion Israel; a gosod hi yn eu genau hwynt, fel y byddo* y gân *hon yn dyst i mi yn erbyn meibion Israel: canys nid anghofir hi o enau ei hâd ef.*

*Calvin* in *Isai.* 5. 1. Res insignes & præclaræ Carmine describi solebant, Ut omnium ore circumferentur, & perpetuum extaret earum monumentum: Sic enim celebrior sit doctrina, quam si simplicius traderetur.

*LONDON*,
Printed by *J. Darby*, *viz.* one third Part, and the fourth (now first printed) for *Samuel Gelibrand*, at the Golden-Ball in St. *Pauls* Church-yard, 1672.



Ir parchedig Dr. *William Thomas*, Dean o Gaer-Angon, Mr. *Hugh Edwards* o Langadog yn shîr Gaer-Fyrddyn, Mr. *David Thomas* o Fargam, Mr. *Samuel Jones* o Langynwyd yn shîr Forgannwg, Mr. *William Lloyd* o *St. Petrox* yn shîr Benfro, Gweinidogion yr Efengyl, y mae Gosodwr-allan y llyfr hwn yn chwennych pôb mâth o ddedwyddwch amserol a thragwyddol.

*Barchedig Syrs*

YN gymmaint a möd i yn credu eich bôd chwi yn wŷr ac sydd *yn ofni Duw*, ac yn rai ac sydd yn *dymuno yn dda* i eneidiau ein cŷd-wladwŷr y *Cymru*, yr ŵyfi yn gwneuthur yn *eon i ddanson allan y llyfr hwn (ac sydd yn dyscu *ofn* yr *Arglwydd*) sef, Gwaith yr *Awdwr bendigedig* Mr. *Rees Prichard*, tan eich enwau chwi, gan ddeisyf ymgeledd iddo, megis i blentyn ymddifad, tan gysgod eich adenydd. *Hyf.

Ac yr ŵyf yn cyssegru y llyfr hwn i chwi, oblegid bôd rhwymedigaeth arnafi, iê ac ar holl *Gymru* i fôd yn dra diolchgar i chwi. Canys os derbyniwyd dim daioni trwy y Trydydd Lyfr o waith yr *Awdwr*, (fel yr ŵyfi yn credu ei dderbyn, megis trwy y lleill) y mae holl *Gymru* yn rhwymedig am hynny i chwi y Parchedig *Dr Thomas*; canys y dystiolaeth dda, a roddasoch chwi ymma yn *Lundain*, dan eich llaw, am yr *Awdŵr* a'i Ddau

lyfr cynta, y fu fôdd i gael cennad i brintio 'r Trydydd.

Ac y mae 'r wlâd, Barchedig Syrs, yn rhwymedig i chwithau y lleill, am y cymmorth y roddasoch *(ym-mysc eraill foneddigion a gweinidogion cyfrifol)* i myfi yn y gwaith o brintio y *Testament* newydd, a'r *Psalmau*, a *Chatechism* Mr. *Perkins*, (y sydd ar fyrr i ddyfod i'r wlâd) fel y gallei y Cymru sy heb saesneg, gael yn eu iaith eu hunain *gyfarwydd-deb* ym matterion eu *iechydwriaeth* dragwyddol.

Mat. 16. 26. Y mae yn ddilys, yn gymmaint a bôd yr enaid yn werthfawroccach nâ'r corph, iê nâ 'r holl fŷd, fôd yr elusen neu 'r cynnorthwy honno a roddir i gyflawni angenrheidieu yr enaid, yn fwy rhagorol, ac yn fwy cymmeradwy gŷdá Duw, nâ'r hon y roddir i gyflawni angenrheidieu 'r corph.

Mat. 10. 42. Ac os o'i râs y gobrwya ein Harglwydd *Jesu* y sawl a roddant yn unic phiolaid o *ddwfr oer*, *i* dorri *syched corphorol un* o'r *lleiaf* o'i ddiscyblion ef; Pa faint mwy y gobrwya fe y sawl sydd yn torri *syched ysprydol miloedd o eneidiau* mewn gwlâd, trwy ddanfon *Gair Duw* iw mysc? A gofia *Christ* y dydd diwetha weithredoedd o drugaredd i'r
Mat. 25. *corph?* gan ddywedyd, *Bum newynog, a rhoddasoch i mi fwyd; sychedig, a rhoddasoch i mi ddiod; noeth a dilladasoch fi*: Ac a anghofia fe weithredoedd o drugaredd i'r *enaid?* Na atto Duw i ni dybied hynny.

Wedi cael profiad eisoes o'ch cariad chwi tu ac at ein Gwlâd, yr wyfi yn gobeithio, *(gan nad all gras, ble bo fe, fôd yn segur, ond cyfrannu ei hunan er daioni i eraill)* y bydd i chwi fôd yn barod i wneuthur *ychwaneg* o'r fâth weithredoedd: *ac yn*

*bennaf*

*bennaf dim, a bydd gwiw gennych i gymmeryd e mewn part da, i mi ddeisyf arnoch, i wneuthur eich gore, i gael printio yr holl Fibl cymraeg drachefn.*

Canys er danfon ir wlâd y Testamentau, i gyflawni y diffyg presennol sydd yno O Air Duw yn brintiedig; fel y bo i *bobl dlodion*, a *gwasanaethddynion*, a *phlant ieuaingc* (nid yw *abl* i brynu *Biblau*) trwy gyrhaedd y rhain, gael ychydig foddion ychwaneg i cyfarwyddo nhwy ym matterion eu iechydwriaeth: Etto er hyn i gŷd, gan sôd *yr holl Scrythur wedi ei rhoddi gan yspyrydoliaeth Duw, ac* yw *fuddiol i athrawiaethu, i argyoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder*; *fel y byddo dŷn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bôb gweithred dda*; fe fyddei drueni tôst i adel pobl heb y cwbl o honi; yn enwedig yn y fâth wlâd, *ble mae llawer o Weinidogion, iw dinistr ei hun, yn dra esceulus i borthi eu praidd, fel pe ni bae ddim cyfrif i roddi i Dduw y Dydd diweddaf, am yr eneidiau dan eu golygiaeth.* Ac o gael yr holl Fibl iw mysc, hwy fyddant ar y ffordd, oni bydd y bai arnynt eu hunain, i gael, nid *rhan*, fel y nawr, ond y *cwbl* o'r llesâd, y mae'r grasol Dduw wedi bwyntio i roddi allan i blant dynion trwy ei Air sanctaidd.

2 Tim. 3. 15, 16, 17.

Ezek. 33. 8.

Heb. 13.17

Y mae awydd yn llaweroedd o'n gwlâd i brynu Biblau yn gystal a Thestamentau cymraeg, *fel y gŵyr Marsiandwyr* Cymru *yn ddigon da, wrth yr ymofyn y sydd yn fynych am danynt, yn eu Shioppeys blynyddoedd*, ble nid ydynt iw cael am arian.

Nid oes ymma wedi adel ond ynghylch hanner cant o honynt, a'r rheini mor ddrûd fel na ddichon gweithwŷr, a gwasanaeth bobl, yn enwedig bugeiliaid tlodion gyrraedd mo honynt: canys rhaid iddynt hwy dalu rhagor yn y wlâd nag yr ydys yn ei

 dalu

*dalu ymma am danynt. *Er gwaeled yw'r cyfryw rai, etto rhaid meddwl, fod gan bôb yr vn o honynt enaid mor werthfawr iw gadw neu golli, ac enaid y Tywysog pennaf yn y bŷd ; ac o herwydd hynny, y maent yn deilwng iw cofio yn gystal ac eraill.*

* Mr. Owen, *a Stationer at the white Hart in* Bread-street *in* London, *has about* 50 *Welsh Bibles yet unsould, which the* Dealers *of* Wales *would do well to send for. They may have them for* 6 s. *a Book, it may be* 4d. *lest if they buy any quantity.*

Ni ddichon y cyfryw wneuthur densydd yn y bŷd o'r bibl saesneg, na miloedd ychwaith o Benteuluoedd yng *Hymru*, o herwydd fôd y iaith yn ddieithr iddynt. *Ac pyt fae dros lawer oes dri chant ar ddeg o Saeson dyscedig, cydwybodol, ar vnwaith yn cadw ysgolion, yn nhair Shîr a'r ddeg Cymru, i ddyscu saesneg i'n cydwladwyr: er hynny ni byddei bossibl, i gyffredin bobl ein Gwlâd golli iaith eu mammau y pum can mlynedd ac a ganlynant, os parhaiff y Bŷd cyhŷd a hynny.* Canys nid oes ond rhai o'r cyffredinwŷr yn abl cadw eu plant mewn ysgol. A'r Sawl a ellir eu cadw yno, wedi dysgu saesneg yn yr ysgol, rhaid iddynt ddywedyd cymraeg gartref, ac onid ê nis deallir mo honynt: ac pan tyfont i fynu i fôd yn Benteuluoedd ei hunain, fe wyddys mae cymraeg a orfydd arnynt ei ddywedyd ym-mysc eu tylwyth, ac yn gyffredinol yn y ffeirie a'r marchnadoedd: A pha fôdd erbyn hyn y collir y iaith gymraeg? *Ac etto dymma'r fath beth y mae rhai yn ei* * *phansio; ac ar hynny yn barnu, nad da printio mâth yn y bŷd o lyfrau cymraeg i gynnal y iaith i fynu; ond ei fod yn weddus ir bobl golli ei iaith, a dysgu saesneg.* Digon da. Ond cofied y cyfryw, mai *Haws dywedyd mynydd na myned trosto.*

* *Tybied.*

Gwîr yw, mae da iawn fyddei, pyt fae pawb *yng-Hymru* yn deall saesneg; canys yna ni byddei arnynt eisie na Biblau, na llyfrau da eraill, gan fôd Printwyr yn *Llundain* er mwyn eu hennill eu hu-

nain,

nain, yn printio miloedd o honynt bôb blwyddyn yn y iaith honno, fel nad all fôd diffig yn y matter hynny mewn vn lle yn y Deyrnas.

Ond er fôd llaweroedd yn ein Gwlâd *(i Dduw y byddo 'r diolch)* yn medru gwneuthur denfydd o'r *Bibl* saesneg: etto gan fôd y peth yn amgenach gydâ mwy o lawer nâ'r trydydd ran o bobl *Gymru*, ac nad oes possiblrwydd mewn llawer oês, nac iddynt i gŷd, nac ir rhan fwyaf o honynt i ddyscu cymmaint o saesneg, ac y gallont ddeall y *Bibl* yn y iaith honno (er dyscu o honynt ychydig i'w arferid mewn ymadrodd cyffredin) oni bae i Dduw wneuthur gwyrthiau, gan roddi tafodau dieithr iddynt, fel y rhoddodd efe gynt ir *Apostolion*; (yr hyn beth nid oes disgwyl am dano, gan nad oes addewid oi blegid) *Gan fod y peth meddafi fel hyn, Pwy (ond Dyn dieithr yn ein Israel ni, neu y cyfryw rai nad ydynt yn * dwys feddwl am gyflwr eneidiau pobl y sydd yn eiste mewn tywyllwch a chysgod angeu) nas gwêl mor angherbeidiol ydyw, os mynnir na ddifethir rhai o ddiffig gwybodaeth, i ddanfon allan yr holl Fibl iw mysc yn y iaith gymraeg.* * Mawr. Hos. 4 6.

Ac am y † phansi y soniais i o'r blaen am dano, y sydd gan rai y nawr fel gynt, clywch beth y ddywaid Mr. *Cyffin* yn ei llythyr at y *Darllenydd*, o flaen *Deffyniad ffydd Eglwys Loeger*; yn y flwyddyn 1594. Eb efe, † Tyb.

*A || chymmesur yw adrodd i ti yn hyn o fan pa ddialedd a llwyr-gam, a wnaeth gŵr eglwysig o Gymru mewn eisteddfod; pan † grybwyllwyd am roi cennad i vn * celfydd i brintio Cymraeg: yntef a || ddoedodd nad cymmwys oedd adel printio mâu h yn y bŷd ar lyfreu Cymreig, eithr ef a fynne i'r bobl ddyscu Saesonaeg, a cholli eu Cymraeg, gan † ddoedyd* || Cymmwys. † Sonniwyd * Artist, Printiwr. || Ddywedodd. † Ddywedyd.

'*ym-mhellach na wnae'r Bibl Cymraeg ddim da,*
'* *mamyn, llawer o ddrwg. Wele, ond rhinweddol*
'*a naturiol oedd fôd* † *yn eglwyswr fal hyn? A alle*
'*Ddiawl ei hun ddoedyd yn amgenach? Nid digon*
'*oedd gantho ef speilio 'r Cyffredin am eu da daiarol,*
'*ond ef a fynne gwbl anreithio eu heneidieu hwy he-*
'*fyd. Herwydd pwy ni ŵyr mor amhossibl fydde dwyn*
'*yr holl bobl i ddyscu Saesonaeg, ac i golli eu Cymraeg;*
'*ac mor* † *resynol yn y cyfamser fydde colli peth annei-*
'*rif o eneidieu dynion eisieu dysc a dawn iw hyfforddi?*
'*Ond tebig oedd hwn i'r ci yn gorwedd yn y preseb, ni*
'*wnae na bwytta gwair ei hun, na gadel i'r ŷch bori*
'*chwaith?* Na bo gwell helynt ei enaid ef nag oedd
'ei ystyriaeth fo am eneidieu eraill. || *Doetted pawb*
'*Amen*, ac na chlywer bŷth mwy sôn am dano.
'*Ond gan fôd llyfr gair Duw wedi ei gymreigu a'i*
'*brintio, nid gwiw i rôb o blant diawl bellach geisio*
'*tywyllu goleuni Cymru, gwnelont eu gwaethaf.*

* *Ond.*
† *Vn ac nid yn, y ddylei fôd im tybi.*
† *Dosturus*
|| *Dyweded*

Ond yn gymmaint a bôd *offeiriaid* y papistiaid yn galw yn unic am Grêd ac ufydd-dod dall oddiwrth y bobloedd, sef i gredu ac i ufyddhâu fel y mae eglwys Rhufain (*sef y Pâb, neu 'r Pâb a chyngor*) yn gorchymyn, ac yn credu (*bid drwg, bid da*) heb gennadu i'r † dynion llŷg, i chwilio 'r Scrythyrau, ac i brofi athrawiaethau yr eglwyswŷr wrthynt hwy, megis wrth *reol gymmwys*, (*fel y mae Duw yn erchi gwneuthur ag athrawiaeth pawb, ac fel y gwnaeth y Berœaid gynt ag athrawiaeth* Paul a Silas, *am yr hyn y mae 'r yspryd glân yn eu canmol hwynt, a thrwy wneuthur yr hyn y mae dynion yn dyfod i gredu, ac i ufyddhâu i'r gwirionedd, (fel y daeth y* Berœaid) *nid ar awdurdod dŷn, ond ar awdurdod y goruchaf Dduw yn llefaru yn ei Air*) yn gymmaint meddafi a bôd offeiriaid y papistiaid

† *Rhai nid ydynt wyr eglwysig.*
1 Thess. 5. 21.
1 Jo. 4. 1.
Jo. 5. 39.
Act. 17. 10, 11, 12.
Esa. 8. 20.

yn attal y Scrythyrau oddi wrth y bobl yn iaith eu mammau, *ac felly yn dodi un o ganhwyllau Duw dan lestr, yn wrthwyneb iw Ewyllys Sanctaidd ef*; oddieithr iddynt ganiattâu hynny idd eu cyfeillion yng-wledydd y *Protestantiaid*, nid i farnu wrthynt, *yn* ôl *Barn yr Arglwydd yn llefaru yn ei Air*, p'un a'i gwîr ai celwydd y mae eglwys *Rufain* yn ei ddyscu, (*canys rhaid iddynt druain dderbyn hynny i gŷd, a'i fwytta a'i lyngcu, heb ofyn un cwestiwn*, megis *bwytta a llyngcu yr ŷch, a'i glustiau, a'i gŷrn, a'i golyddion, a'i gynffon, a chwbwl*) ond i'r diben hyn ysgatfydd, fel y bo iddynt mewn lliw a rhîth saethu gydâ nyni yn ein Bwa, ac ymladd â nyni â'n harfau ein hunain: Allan o hynny, mewn rhyw wledydd, megis yn *Hispaen*, y mae 'n fatter bywyd (medd rhai) i ddynion fôd â'r scrythyrau wedi ei cyfieithu yn eu tai, neu i chwilio hwynt yn iaith eu gwlâd: Psal. 119. 105. Marc. 4 21

Ac ymmhellach, yn gymmaint a bôd offeiriaid y papistiaid (*tra ydyw rhai o weision Duw yn cysgu*) yn hau eu hefrau yng *Hymru*, yn gystal ac mewn llaweroedd o wledydd eraill, ac fôd ganddynt rhai † *Proselytiaid* yno, fel y mae 'n eglur wrth eu llyfr cymraeg o ddefosionau, &c. (*a elwir Allwydd neu agoriad Paradwys*) a brintiwyd yn hwyr: Mat. 13. 24, 25.

† *Rhai wedi dyfod i mewn, a throi attynt hwy.*

Ac yn gymmaint ac a dichon *rhagor* o'n cydwladwyr gael eu gwenwyno ganddynt; canys dyfal iawn ydynt i ŵyr-droi, ac i dynnu pobl oddiwrth Symlrwydd yr Efengyl, i gredu celwyddau, ac i arwain hwynt i ffiaidd eulynaddoliaeth, *gwedi* * *dieithro eu calonnau hwynt un-waith oddiwrth y Scrythyrau*, gan fôd gwedi eu twyllo eu hunain, a'u gyrru yn y blaen gan y † *Diawl* i dwyllo eraill, *gwedi eu gadel iddynt eu hunain gan Dduw*

* *Troi.* 2 Tim. 3. 13.
† Dat. 16 13, 14.

*trwy*

2 Thes. 2. 10,11,12. *trwy farn gyfiawn, i fod mewn amryfusedd cadern, fel y credont gelwydd, fel y barner yr holl rai nid oedd-ynt yn credu i'r gwirionedd, ond yn ymfodloni mewn anghyfiawnder:*

Am y rhesymmau hyn, (*Barchedig Syrs*) ac eraill o'r fâth, yr ydwyf yn ei weled yn addas, (*nid er eich mwyn chwi, y sydd yn gwybod y pethau hyn eisoes yn well na myfi, ond er mwyn y gyffredin bobl, i ddwylo pa rai y daw y llyfr hwn*) i ddodi lawr, ac i eglurhau y ddau bwngc hyn.

2Tim. 3. 15, 16. Yn Gyntaf, **Fod y scrythur lan yn abl i wneuthur pobl yn ddoeth i iechydwriaeth, ac i fyw y fath fywyd yn y byd presennol, ac y caffo Duw ogoniant, a'u eneidiau eu hun gyssur oddiwrtho.**

Yn Ail, **Fod Duw yn ewyllysio i ddynion † llyg yn gystal ac ir eglwyswyr i chwilio, ac i ddarllen, ac i fyfyrio ar y Scrythyrau Sanctaidd, fel y gallont gael || budd a thragwyddol lesad i'w eneidiau trwyddynt**: er nad oes gwadu y dylei'r Gweinidogion, o herwydd eu galwad a'u swydd, wneuthur hynny yn fwy nâ nêb arall, fel y gallont ddwyn allan o'u trysorau bethau newydd a hên er llesâd i'w gwrandawyr.

† *Y rhai nid ydynt eglwyswyr*

|| *Daioni.*

Mat.13.52

Psal.119.105. Fe sydd y pwngc cyntaf yn eglur ddigon os ystyriwn ni, *fôd y Scrythyrau*, yn Gyntaf *yn gwasanaethu i oleuo y rhai tywyll angnhabyddus, i adnabod Duw a'i ewyllys sanctaidd ef:* Ac yn Nessaf *i argyhoeddi pobl am ei pechodau, a'r embeidus gyflwr y maent yn-ddo o'plegyd hwynt:* Ac yn Drydydd *i wneuthur ein Harglwydd* Iesu Ghrist gwir feddyg *yr enaid yn gydnabyddus iddynt, megis yr hwn yn unic ac a ddichon eu cadw hwynt rhag eu pechodau, a'r ddamnedigaeth dragwyddol ddyledus am danynt:* Ac ar ôl hynny *i † troi nhwy at Dduw trwy gredu yn Iesu Ghrist,*

D h. 6.23. 2Tim.3.16 Rhuf.7.7. Rhuf.6.23 Jo.5.39. †Psa.19 7. Jo. 20 31.

*Ghrist, gan eu * gostwng hwynt am eu pechodau, a pheru iddynt alaru a chywilyddio am danynt, a'i casâu, a'u || ffieiddio, a || throi oddiwrthynt, ac ymadel â'r † gyfeillach ddrwg sydd yn byw ac yn ymhyfrydu ynddynt, ac o ddydd eu troedigaeth at Dduw hyd ddydd * marwolaeth, i fyw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd presennol.*

* 2 Cron. 34. 18, 19, 27. || Psal. 119. 9, 104. † Dih. 6. 24 Ps. 119. 115 * Psal. 119. 111, 112. 2 Tim. 3. 16, 17. Tit. 2. 11, 12 † Jo. 17 3.

Y mae yr scrythyrau yn llawn o'r Pethau hyn: *Ac nid yw bossibl i vn rhyw ddŷn mewn oedran fôd yn gadwedig heb † wybodaeth mewn rhyw fessur o honynt.* Canys y mae yr addewidion o drugaredd, a bywyd tragwyddol, wedi eu gwneuthur yn vnic i'r rhai sydd yn * *caru*, ac yn † *ofni* Duw, yn || *credu* yn Iesu Grist, yn * *edifarhau* am eu pechodau, yn † *troi oddiwrthynt* hwy, ac yn *ymroi i wneuthur* || *ewyllys Duw* trwy gadw ei *orchymynnion* ef; * Act. 3. 19. † Dihar. 28. 13. Esay. 55. 7. || Mat. 7. 21. Heb. 5. 9. Exod. 20. 6. Psal. 103. 17. 18.

* 1 Cor. 2. 9 Jac. 1. 12. † Luc. 1. 50 Ps. 103. 17. || Jo. 3. 36.

Y nawr pa fôdd y dichon pobl gyflawni hyn i gŷd, *(a thrwy hynny siccrhau eu hunain eu bod hwynt hwy yn * Aelodau i Ghrist, a bod yr addewidion hyn † trwyddo fe yn perthynu iddynt,)* oni sydd ganddynt wybodaeth o'r pethau sydd i'w cyflawni?

* 1 Jo. 2. 3, 4, 5. 2 Cor 1. 20

A ddichon dŷn garu ac ofni Duw heb ei adnabod ef? A ddichon dŷn ymofyn am *Iesu Grist vnig Feddyg yr Enaid*, ac hiraethu am dano, ac ymroi i gredu ynddo, heb fôd yn deimladwy o'i ddoluriau a'i glwyfau ysprydol, a'i gyflwr colledig hebddo? A ddichon dŷn alaru am bechod, a throi oddiwrtho heb adnabod beth yw pechod? A ddichon dŷn wneuthur ewyllys Duw, trwy ymdrechu cadw ei orchymynnion ef heb wybodaeth o honynt

Mar 2. 17. Act. 2. 37. Act. 16. 30.

honynt ? A pha fôdd y ceir gwybodaeth o hyn oll, ond trwy 'r Scrythyrau fel y dywedpwyd or blaen ? Ac o herwydd hynny *y mae 'r Scrythur lân yn abl i wneuthur pobl yn ddoeth i iechydwriaeth, yr hyn beth ydyw un rhan o'r pwngc cyntaf oedd iw eglurhau.*

A chan fod y Scrythyrau trwy 'r addewidion efengylaidd sydd ynddynt, ac sydd felusach nâ'r
†Psal. 19. 8, 10. † mêl, iê nâ diferiad diliau mêl, yn cysuro y sawl
Rhuf. 15. 4. sy'n galaru am eu pechodau, ac yn * cryfhau y gweiniaid; fel y cynnyddont mewn grâs : a trwy
*1Pet. 2. 2 y gorchymynnion, a'r cynghorion, a'r ceryddon, a'r bygythion , yn dihuno y rhai cysclyd, ac yn
‖Ps. 119. 50 ‖ bywhau y rhai marwaidd ym matterion eu iechydwriaeth, i gyflawni eu dyled-swyddau tu ag at Dduw a dynion ; y mae trwy hynny y rhan arall o'r pwngc cyntaf gwedi ei eglurhâu, sef, *fod y Scrythur lân yn abl i beri pobl i fyw y fâth fywyd yn* y bŷd *presennol, ac y caffo Dduw ogoniant, a'u heneidiau eu hun gyssur oddiwrtho.* Canys ym marn Christ, trwy gyflawni y dyledswyddau hyn, y
† Jo. 15. 8. mae pobl yn † gogoneddu Duw ; ac ym marn St.
*2 Cor. 1. 12. *Paul* y maent yn derbyn * cyssur i'w heneidiau eu hun. Siccr yw *fôd achos ddigon i'r Sawl sy'n rhodio*
‖Act. 9. 31 *yn ofn yr Arglwydd, i rodio hefyd yn ‖ niddanwch*
Phil. 4. 4. *yr yspryd glân.* Canys y mae y ffrwythau da hyn yn dangos yn eglur, eu bôd hwy yn * breniau
*Mat. 7. 17 da, ac yn * ganghennau ynghrist, ac o herwydd
Jo. 15. 5. hynny mewn † stâd o iechydwriaeth.
†1 Jo. 5. 12

Ac am yr Ail Bwngc, sef, **Fod Duw yn ewyllysio i ddynion ‖ lleyg, yn gystal ac ir Eglwyswyr i chwilio, ac i ddarllen, ac i fyfyrio ar y scrythyrau sanctaidd, fel y gallont gael † budd, a thragwyddol lesad iw eneidiau trwyddynt.** y mae hynny

‖ *Rhai nid ydynt eglwyswyr.*
† *Daioni.*

hynny yn eglur yn gymmaint a bôd ein *Har-glwydd Ieſu* yn * gorchymyn i bawb yn gyffredinol i chwilio 'r Scrythyrau. Ac yn fwy neillduol y mae Duw yn gorchymyn hynny i ||Frenhinoedd megis *Dafydd*, i † *Filwyr* megis *Joſuah*, i Benteuluoedd (*pa vn bynnag ai Gwŷr ai Gwragedd*) megis ir **Iſraeliaid*; canys y mae efe yn gorchymyn iddynt *ſcrifennu* ei eiriau ef *ar bŷſt eu Tai, ac ar eu pyrth, a'u rhwymo hwynt yn* Arwydd *ar eu dwylo, yn rhactalau rhwng eu llygaid, i hyſpyſſu hwynt iw plant,* a chrybwyll am danynt pan eiſteddent yn eu Tai, pan gerddent ar y ffordd, a phan gorweddent i lawr, a phan gyfodent i fynu.* I ba bwrpas y ſcrifennit hwy ar y pŷſt, ac ar y pyrth ond iw darllen?

*Jo. 5. 39.
||Deut. 17. 18, 19, 20. Pſal. 119. 15, 24.
†Joſ. 1. 8.
*Deut. 6. 6, 7, 8, 9.
*Sôn.

Ym mhellach, y mae Duw yn dangos ei fôd ef yn ewyllyſio i bawb (ſef Gwŷr, a Gwragedd, a phlant) i chwilio 'r Scrythyrau, gan ei fod ef yn canmol y || *Beraaid* am hynny, a *Thimotheus* am hynny, îe pan yr oedd efe yn † fachgen; a'r *Eunuch* am hynny, yr hwn oedd yn eu darllen hwynt yn ei gerbyd, ar y ffordd wrth * Shiwrneia. îe fe fendithiodd Duw ei gwaith hwy cyn belled, ac y daeth y *Beraaid* i † gredu, ac y derchafwyd *Timotheus* i fôd yn * Efengylŵr, ac y danfonwyd *Philip* i agoryd y Scrythyrau, ac i droi 'r || *Eunuch* i'r ffydd.

||Act. 17. 11.
†2 Tim. 3. 15.
**Ymdeithio.*
†Act. 17. 12.
* 2 Tim. 4, 5.
||Act. 8. 27 *hyd y diwedd.*

Y mae 'r yſpryd glân yn dangos, mai *dedwydd yw'r rhai ſy'n*ddarllen* yngyſtal *a'r rhai ſy'n gwrando geiriau prophwydoliaeth y Datcuddiad, ac yn cadw y pethau ſy yn ſcrifennedig ynddi.* Ac yn y *Pſalm* gyntaf, fei dodir i lawr megis *Arwydd o ddyn duwiol*, ei fôd efe yn myfyrio ynghyfraith yr Arglwydd *ddydd a nôs. Ac y mae 'n Iachawdwr yn dywedyd*

*Dat. 1, 3.

*yn*

*yn * blaen, mai vn achos pa ham y mae pobl yn cyfeiliorni ydyw, o herwydd nad ydynt yn gŵybod y Scrythyrau.*

Y nawr gan fôd y Scrythyrau gwedi rhoddi gan ysprydoliaeth Duw er || addysc i bawb, sef, i ddyscu pawb i * osni ef, ac i † gredu yn ei fâb ef, ac i goleuo nhwy i adnabod, ac i cyfarwyddo nhwy i wneuthur ei || ewyllys ef, fel y bont gadwedig; a chan fôd hyn oll yn angheurheidiol i bôb mâth o ddynion tan y nefoedd, (ac y fynno fôd yn gadwedig) yn gystal ac i *Ddafydd* y Brenin, i *Josuah* y *milwr*, i'r *Eunuch* y Pendefig, ir *Beræaid* yn wŷr ac yn wragedd, i *Timotheus* yn fachgen, ac i *Benteuluoedd* yr Israeliaid; y mae 'n canlyn oddiwrth hynny, Yn gyntaf, *Y dylei bawb ddarllen y Scrythyrau megis hwyntau:*

*Eglur. Mat. 22. 29. || Rhuf. 15. 4. * Deut. 17. 19. † Joan 20. 31. || 2 Pet. 1. 19 2 Tim. 3. 16, 17.

Ac yn nessaf, *Y dylit cyfieithu 'r Scrythyrau i bôb iaith fel y gellir cael llesâd oddiwrthynt.* canys oni chaiff y bobl y Scrythyrau yn y iaith y deallont, ni bydd bossibl iddynt i chwilio a'u darllen hwynt, yn ôl gorchymyn Duw yn y matter ymma. *A pha fodd y saif e gyda chyfiawnder Duw, i ofyn ar ddwylo pobl y peth nid ydynt abl i gyflawni? Na atto Duw i ni dybied ei fod ef yr hwn sydd yn berffaith gyfiawn, yn gofyn oddiar ddwylo pobl, ond yr hyn a allant hwy (trwy iawn arferiad y moddion, a thrwy ei fendith ef arnynt, a thrwy gŷdweithiad ei yspryd ef trwyddynt) ei gyflawni er bûdd iw heneidiau.* Ac am hynny fel y bo i Dduw gael ei gyfiawnhau yn ei † arch yn hyn o beth, y mae 'n wrthwyneb i reswm, i attal y Scrythyrau oddiwrth y bobl yn eu iaith ei hûn, fel y mae 'r papistiaid yn gwneuthur.

† *Gorchymyn.*

*Pa fôdd * ardolwyn y cae Duw ei † ddiwedd, wrth*

* *Attolwg.* † *Amcan.*

*roddi*

*roddi y scrythyrau i blant dynion, oni roddid hwy maes ir bobl yn y iaith y ddeallont?* Y mae Duw er mwyn cael ei ddiwedd ym mhregethiad ei Air, yn peri cyfieithu yr hyn y lefarir mewn ‖ tafod dieithr. Ac a dybygwn ni nad yw efe yn ewyllyssio yr un peth ynghylch ei Air yn scrifennedig? *Oni channiattaer hyn ir bobl, fe fydd llyfr Duw megis peth wedi selio iddynt.* ‖ 1 Cor. 14. 27.

Ni wasanaetha dywedyd *fod yr Offeiriaid i ddyscu 'r bobl, ac* fôd *hynny yn ddigonol i'r dynion llŷg.* Canys os yw Duw (fel y prwfiwyd yn eglur ei fôd ef) wedi pwyntio 'r Scrythyrau yn gystal a'r gweinidogion i dyscu hwynt hwy; ac nad oes ir bobl dderbyn dim oddiwrth y gweinidogion (*îe pe bae yr Apostolion yn pregethu yn eu mysc, neu Angel o'r nêf*) ond yr hyn a allant i wneuthur yn dda trwy 'r ‖ Scrythyrau; y mae yn canlyn oddi wrth hynny, *y dylit cyrchu* at *yr un fel y llall, sef at y Scrythyrau, yn gystal ac at y Gweinidogion i gael cyfarwydd-deb ym matterion ein iechydwriaeth.* Y peth gan hynny a gyssulltodd Duw ynghŷd na † wahaned dynion: *ac oes gwnant, byddent* * *siwr o hyn, trwy ei gwaith hwy yn gwneuthur hynny, y maent yn gwneuthur eu hunain yn ddoethach na Duw, fel pe bae nhwy yn gwybod beth sydd gymmwysach iw wneuthur yn y matter hyn nag y gŵyr Duw ei hunan, yr hyn beth sydd gabledd i un dŷn i dybied.*

‖ 1 Thess. 5. 21. 1 Jo. 4. 1. Esa. 8. 20. Act. 17. 2, 11. Gal. 1. 8, 9. † *Yscared.* * Sicer.

Ac o herwydd bôd llawer o weinidogion mewn amryw o wledydd y papistiaid, (*Och Dduw! na bae 'r peth yn amgenach mewn rhyw leoedd yn ein mysc ninnau y protestantiaid*) yn anwybodus, yn annyscedig, iê ac yn gyhoeddus yn annuwiol yn eu buchedd a'u bywyd, ac felly yn anghymmwys

iawn

iawn i ddyscu ffordd iechydwriaeth ir bobloedd; yn gymmaint ac *nad ydynt*, *nac yn gwybod y ffordd eu hunain, nac yn rhodio ynddi*; *ond trwy eu*
† Nehem. 13.29. *gwaith hwy yn* † *halogi y weinidogaeth, y maent yn gwneuthur offrwm yr Arglwydd yn ffiaidd yngolwg*
* 1Sam, 2. 17. *y bobl*, megis yn amser yr * offeiriaid melltigedig *Hophni* a *Phinees* Plant *Eli*; O herwydd hyn meddafi, y mae mwy anghenrheidrwydd, i bôb nasiwn a chenedl gael y Scrythurau yn eu iaith eu hûn, i ddangos ffordd y bywyd iddynt, ac i tynnu hwynt i rodio ynddi, *fel na bo iddynt yn ddei-*
Mat. 15.14 *llion gwympo gydâ eu blaenoriaid deillion ir un ffôs.*

Y nawr ble mae'r Papistiaid yn dywedyd yngwrthwyneb i hyn, *fod dynion llŷg yn gwyr-droi 'r Scrythyrau iw dinistr eu hunain*; ac am hynny nas dylent eu cael hwy yn rhigil, yn y ieithoedd cyffredin ym mhôb gwlâd: yr ym ninnau y Protestantiaid yn Atteb,

Yn gyntaf, *nad yw cam arferiad o un peth da yn dwyn ymmaith y iawn arferiad o hono*. Yr oedd rhai
† 2Pet. 3. 16. yn amser yr Apostolion yn † gŵyr-droi 'r Scrythyrau iw dinistr eu hunain: ac etto nid oeddent hwy yn gwahardd pobl am hynny i chwilio hwynt; iê yr oeddent hwy er hynny i gŷdyn * annog y
* 2Pet. 1. 19, 20, 21, 2 Cor. 1. 13. cristianogion i darllain hwynt.

Od oes dim pwys yn y rheswm hyn, rhaid rhoddi i fynu yr arferiad o fwyd, diod, dillad, physygwriaeth, ie ac o bôb mâth o bethau da eraill: canys pwy nis gŵyr fôd llaweroedd yn cam arferid y pethau hyn i gyd? Oni ddichon rhai arfer yr un peth yn dda, ac y mae eraill yn ei arfer yn ddrwg? A ydyw e yn sefyll gydâ rheswm, am fôd rhai yn cam arfer y Scrythyrau, y dylit eu cadw nhwy oddiwrth y sawl a'u iawn harferei

hwynt

hwynt? Onid cymmwysach ydyw dyscu *(gan eu bod hwy mor fuddiol i eneidiau pobl)* y ffordd i iawn harferid hwynt, nag eu llwyr hattal hwy oddiwrthynt?

*Ond yn nessaf*, od oes dim pwys yn rhesswm ein gelynion yn y matter hwn, *Fe ddylyt ar yr vn rhesswm gadw 'r Scrythyrau oddiwrth yr Eglwyswyr, yn gystal ac oddiwrth y dynion llyg.* Canys och Dduw! fe ddarfu i laweroedd o honynt hwy, ym-mhôb oes gan mwya, o amser *Christ* hyd y dydd heddyw *(fel y gwyddoch chwi Syrs yn well na mysi)* ŵyr-droi 'r Scrythyrau iw dinistr eu hunain, ac i ddinistr miloedd o'r bobloedd gydâ nhwy, ac y dwyllwyd i gredu eu celwyddau hwynt; ac erbyn hyn, os am ŵyr-droi 'r Scrythyrau y dylyt eu attal hwynt oddiwrth yr vn fel y llall, pwy fydd yn ôl gorchymyn Duw i chwilio, ac i ddarllain hwynt? a pha ddenfydd † ardolwyn sydd i wneuthur o honynt? †*Attolwg.*

Y mae 'r peth sy'n canlyn yn lladin yn haeddu iw ystyried gan y dyscedig.

*Theses Salmurienses p. 72, and 73.*

Yr ydys yn gosod i lawr gwrthddywediad y Papistiaid yn hyn o beth, ac yn eu Hatteb.

XXIV. Sed excipiunt, nihil etiam opus esse vt plebs ipsa lectioni sacræ Scripturæ vtpote periculosæ, vacet, ex qua nimirũ in errorem, & vero hæresim, facilè incidere possit, proptereaque satius esse, adeoque longè consultius, vt doctis & eruditis relicta sacræ Scripturæ lectione, ex ore Pastorum suorum petat salutarem, quam illi ex Scriptura haurient, doctrinam. Vnde etiam est quod populis sibi subiectis seuerè lectione illa interdicant, & Indicibus suis Expurgatoriis omnes in vernaculas linguas S. Bibliorum versiones damnent, & quantum in ipsis est exertè prohibeant.

XXV. At primò, si qui sunt qui ex Scripturæ lectione in errores & hæresim incidunt, ij sunt qui (vt de nonnullis sui tem-

 poris

poris B. Petrus scripsit) vitio suo Scripturas sacras στρεβλοῦσι *torquent ad propriā perniciem*, homines ἀμαθεῖς καὶ ἀστήρικτοι, quorum non est habenda ratio, ut propter eos piis & fidelibus, qui cum humilitate & pio studio Verbum Dei legunt, Scripturæ sacræ lectio interdicatur. Non enim Petrus ideo à Paulinarum Epistolarum aut reliqui Apostoli à totius Scripturæ lectione pios dehortati sunt, aut plebi Christianæ eam interdixerunt, quod essent tum aliqui qui sacras litteras torquerent.

XXVI. Immò verò ipsi qui Scripturas ad perniciem suam torquent, non hæreses suas ex ejus lectione hauriunt, sed eas potius ad ejus lectionem adferunt. Nempe sanam & orthodoxam doctrinam in Ecclesia traditam atque receptam, quia ad corruptum & peruersum eorum gustum, carnisque sensum, non facit, concoquere & ferre non possunt, ideoque eam adulterant atque corrumpunt, & ad peruersi sui judicij sensum & captum accommodant. Quoniam autem constantissimum est atque indubitatum inter Christianos principium, nihil in religione esse credendum quod Scripturæ (quæ Dei Verbum est) authoritate non nitatur, præiudicatis suis opinionibus, ac præconceptis erroribus atque hæresibus, conantur Scripturæ authoritatem præstruere, quam ideo legunt vt aliquod ex ea testimonium errori suo accommodent. Non fiunt ergo ex eius lectione hæretici, sed postquam facti sunt, hæresi suæ fucum ex Scriptura illinere conantur. Iniquum autem prorsus esset Scripturæ lectionem ideo populo fideli prohibere.

XXVII. Deinde hæreses & errores penè omnes (vti notum est ex Historia Ecclesiastica) non sunt à priuatis, & Plebeiis, atque Laïcis (quos vocant) hominibus in Ecclesiam invecti, sed à viris Ecclesiasticis, Præpositisque adeò Ecclesiæ, Episcopis & Archiepiscopis, ipsisque etiam interdum Patriarchis & Primatibus. An & his propterea interdicetur Sacræ Scripturæ lectio; quibus ergo concedetur si & his prohibeatur?

XXVIII. Sed neque possunt omnes Ecclesiæ Pastores atque Præpositi, per vniuersum orbem terrarum, in tanta Gentium & idiomatum varietate, tres illas linguas (latinam, dico, græcam & hebraicam) nosse atque callere, quæ nonnisi magnis sumptibus, longo studio & tempore, atque labore pene insuperabili, addiscuntur, cùm experientia ipsa contestetur maximam Clericorum, quos vocant, partem in Ecclesia

Romana vel ipſam linguam latinam neſcire.

XXIX. Denique quid ſi Paſtores ipſi plebem fallant, atque in errorem abducant, an tenebitur plebs errantem & ſeducentem Paſtorem per auia atque præcipitia ſequi? Neceſſe eſt itaque vt non modò Papam (quod illi contendunt) ſed omnes omnino Paſtores ſtatuant ἀναμαρτήθυς, totidemque Prophetas & Apoſtolos (quod abſurdum eſt) vel permittant plebi examen & διάκρισιν eorum quæ à Paſtoribus illi proponuntur, quod examen aliter non poteſt inſtitui, quàm ſi ad Verbi Dei, hoc eſt Scripturæ, regulam atque normam revocetur, cuius propterea lectio eſt illi concedenda.

XXX. Non modo ergo licet, ſed & expedit, & ſummopere vtile ac neceſſarium eſt, ad Eccleſiæ ædificationem, vt è græco hebræoque fonte deriuentur, in plebis vſum, Tranſlationum vernacularum riuuli, vnde poſſint quilibet è vulgo idiotæ viuos doctrinæ cœleſtis latices ad ſuam tum inſtitutionem, tum confirmationem, & conſolationem, pleno veluti ore haurire.

Gan fôd hyn ôll yn ddigon hyſpys i chwi, Bydded gwiw gennych, Barchedig Syrs, *gan nad yw holl Eſcobion anrhydeddus ein Gwlâd* (mewn pob tybygoliaeth) *yn gwybod angen y bobl yn hyn o beth*, naill a'i o herwydd nad yw y gyffredin bobl yn dangos ei diffyg yn y matter ymma iddynt hwy; neu ynte o herwydd nad yw y gweinidogion yn yſtyried fel y dylent gyflwr y bobl, na gwneuthur hynny yn gydnabyddus ir Eſcobion; *Bydded gwiw gennych chwi o herwydd hynny, i ddodi 'r peth o flaen Eſcobion Cymru*; ac i ddymuno yn daer arnynt, fel pe bae am eich bywyd, ar iddynt ſynnu printio yr holl Fibl cymraeg drachefn.

Deiſyfwch arnynt hwy i wneuthur hyn, er mwyn *Gogoniant* Duw, er mwyn *Jeſu Ghriſt* ſy'n hiraethu am iechydwriaeth pechaduriaid, er mwyn *Eneidiau* gwerthfawr y bobl, ſy mewn amryw ſanneu yng *Hymru*, yn eiſte mewn tywyllwch a

†*Damnedigaeth.* chyſgod † angeu, er mwyn *Anrhydedd* y grefydd griſtianogawl, ac er *Cyſſur* iddynt eu hunain, fel y gallont roddi cyfrif llawen i Dduw am eu goruchwiliaeth, ac er peri ir Bŷd wybod (er mwyn eu *Henw da* eu hunain) eu bôd hwynt hwy yn y matter hyn yn ddigon pêll oddiwrth y *Papiſtiaid*, ac er mwyn *Gwanhâu* Teyrnas y Diawl ac Anghriſt, Ac er *llawenydd* i bawb ſy 'n ofni Duw yn y Deyrnas, ac yn ddiweddaf oll er *Anrhydedd* i ardderchog grâs ein Brenin; canys fe fydd Anrhydedd iddo fe, iw Eſcobion ef wneuthur y fâth waith yn ei ddyddiau ef.

Y mae yn ddilys y bydd llawenydd yn y *nêf*, ac na bydd triſtwch yn *un*-mann am wneuthur y gwaith hyn, ond yn vnic yn *Vffern* ac yn *Rhufain*, ac ym myſc y rhai ſy'n perthynu ir ddau le hynny.

Y mae 'r Eſcobion a'r Gweinidogion duwiol a †Datc, 18. 4. ymadawſant gynt (yn ôl † gorchymyn Duw) a chyfeillach y Buttain fawr, waedlyd, llawn cab- *Datc. 17. 1, 2, 3, 4, 5 6. ledd ac eulyn-addoliaeth, ſef yr Eglwys lygredig o *Rufain* (ble yr oeddyt yn cadw pobl mewn tywyllwch) wedi gadel ſiampl dda ar eu hôl, trwy gyfieithu 'r Scrythyrau ir ieithoedd cyffredin, a'u gwaſcaru hwynt ymmyſc y bobl yn y dyddiau hynny.

Y mae 'r rhai duwiol o'r amſeroedd hynny, ac oeddent a llaw yn hyn o beth wedi cael eiſioes ran o'u gobrwy yn y nefoedd; ac pan ddêl yr adgyfodiad, fe anrhydedda Chriſt hwy ym mhel- †Dihar. 10. 7. llach; ac yn y cyfamſer y mae eu † coffadwriaeth hwy yn fendigedig ar y ddaiar; *ac y maent hwy ſef yr Eſcobion a'r Gweinidogion hynny, trwy y weithred dda honno o waſcaru 'r Scrythyrau rhyd y gw-*

*ledydd yn y ieithoedd cyffredin, (megis* Abel *gyfiawn trwy ei ffydd a'i offrwm sanctaidd) yn llefaru wrthym ni sydd ar y ddaiar, am fôd yn ffyddlon i Dduw, ac yn dosturiol wrth eneidiau pobl yn ein hamser ni, fel yr oeddynt hwy yn eu hamser hwythau.* Heb.11.4.

Er nad wyfi deilwng i gyfarwyddo fy ngwell; etto gan fôd fy amcan i yn dda yn yr hyn yr wyfi yn nawr yn ei scrifennu, (fel y gŵyr Duw chwiliwr y calonnau) rhoddwch gennad i mi *Barchedig Syrs*, megis vn sy wedi cael ychydig o brofiad ym matterion o'r fâth hyn, i ddymuno arnoch chwi, i ddeisyf ar anrhydeddus Escobion Cymru, fel y gwneler y gwaith mawr hyn er llesâd ir holl wlâd;

Yn Gyntaf i *beri printio 'r Bibl mewn pappyr da*, ac i roddi chwêch mis o rybydd i barattoi 'r pappyr, ac i beri bwrw llythyrennau da o bwrpas, (yn enwedig y llythyrennau sy'n briodol i'n iaith ni yn anad vn iaith arall, megis d, y, w, ŵ, ŷ, â, ê, î, ô, û,) o'r fâth hynny ac y mae 'r psalmau cân sydd y nawr yn rhwym gydâ 'r Testament wedi printio * agddynt; canys ni ddichon rhai pobl oedrannus, er arferid spectals, ddarllen y Biblau o brint mân: ac oni swrir llythyrennau o bwrpas, fe orfydd gadel i basso (*fel y gorfu arnom ni adel mewn amryw fannau yn y Testament, a'r psalmau*, &c. *o ddiffyg llythyrennau) pob* a *bod* yn lle pôb, a bôd, *ir*, ac *ar*, a *dyn*, yn lle i'r, a'r, dŷn, am ac an, yn lle a'm a'n, &c.

* *â hwynt. This letter is called the Brevier letter and is that wherewith* Fields *excellent* Cambridg *Bible is done in.*

Yn Nessaf, fel nad anafir y cwbl, fel y mae rhai llyfrau cymraeg wedi eu hanafu, rhynged bödd i chwi, i ddymuno ar yr Escobion i ddanfon pedwar o wŷr dyscedig, gofalus, cydwybodol, a medrus yn y iaith, i † attendo 'r presf, *ac a gymmero arnynt megis*

† *Gwarchod.*

[*Correctio.*] *megis yng ŵydd Duw* i * ddywygio 'r ſheets wrth eu printio, gan eu darllain hwynt, ddau ynghyd ddwy waith, a'r ddau arall ddwy waith eilchwaith. *Gwnaent ei gore, pet fae ei bywyd hwy yn ſefyll arno, fe ddiangc rhai beiau llytherennol arnynt, heb law y beiau trwy wâll y printiwr gwedi iddynt hwy berffeithio 'r ſheets.*

O Arglwydd! pa faint o feiau ſy mewn amryw lyfrau cymraeg, eiſieu meder a gofal yn y dywygwyr yn hyn o beth. Y mae rhyw Ewyllyſiwr da i'n Gwlâd (*Taled yr Arglwydd iddo am ei drafel*) wedi dodi † ſheete y maes mewn print, i ddangos rhai beiau ſy wedi diangc ym mhrintiad Bibl cymraeg yr Eglwyſydd; ac y mae 'r vn beiau yn y Biblau bychain: dymma rai o honynt yn canlyn: er fod llawer yn ychwaneg ac a ellir eu gweled wrth gydſtadlu, neu gwmparo 'r ſheete honno â 'n Biblau cymraeg, ynghyd â'r Biblau ſaeſneg, &c.

† *Y mae 'r ſheete iw chael ar werth gan Mr Goff o Gaerfyrddyn.*

| *Fel hyn y mae yn ein Biblau.* | *Fel hyn y dylai fôd.* |
|---|---|
| *Gen.* 18.2. Efe a redodd iw cyfarfod hwynt. | Efe a redodd *o ddrws y Babell* iw cyfarfod hwynt. |
| *Gen.* 39. 3. A'i feiſtr a welodd fod yr Arglwydd yn llwyddo yn ei law ef yr hyn oll a wnelei efe. | A'i feiſtr a welodd *fod yr Arglwydd gydag ef, a* bod yr Arglwydd yn llwyddo yn ei law ef yr hyn oll a wnelei efe. |
| *Exod.* 12. 13. A'r gwaed fydd i chwi yn arwydd ar y tai lle byddoch chwi; ac ni bydd plâ diniſtriol arnoch chwi. | Ar Gwaed fydd i chwi yn arwydd ar y tai lle byddoch chwi, *A phan welwyf y gwaed, yna yr âf heibio i chwi*, ac ni bydd plâ diniſtriol arnoch chwi. |

Ym mysc cannoedd eraill o feiau ym mhrintiad y Testament bychan, a brintiwyd yn y flwyddyn 1646, neu 1647, yn esceulus, heb ofn Duw a flaen llygaid y Printiwr, (ym mhôb tybygoliaeth heb ddywygiwr, ac or doedd dywygiwr gydâ llawer o ddiofalrwydd) gan adel heb eu printio eiriau cyfein, ac hanner adnodau, *&c.* er cam mawr ir wlâd; fe atgyweiriwyd y nawr, yn ôl y sheete a enwais i o'r blaen amryw feiau yn y Testament presennol.

Ble mae yn eisie yn ein Biblau yn Luc, 11. 21. y gair [*arfog:*] ac yn *Ioan* 4. 6. y gair [*Jacob*] ac yn *Ioan*, 10. 10. y geiriau [*ac i ladd:*]ac yn *Rhuf.* 3. 29. y geiriau [*i'r cenhedloedd hefyd:*] ac yn *Col.* 1. 23. y geiriau [*a glywsoch ac:*] Ble y mae 'r geiriau hyn meddafi yn eisie ym Mibl yr Eglwys, ac yn ein biblau bychain, y maent yn awr wedi eu gosod i mewn yn y Testament presennol.

Wrth hyn fe ellir gweled mor anghenrheidiol ydyw, i gymmeryd gofal mawr i atgyweirio beiau 'r print yn ein bibl, cyn ei roddi ir printiwr; ac i ddanfon gwŷr medrus, cydwybodol, i warchod y pres wrth ei brintio; ac onid ê fe † spwylir y cwbwl. *†Anafir.* Ac fel y bo llai o feiau yn y print, gwell fydd rhoddi Bibl yr Eglwys yn lle coppy, nâ rhoi 'r Bibl bychain; canys fe ddarllen y * compositors hwnnw yn well nâ 'r llall. **y gweithwyr sy'n dodi'r llythrennau yngbyd.*

Ac er a dichon tair mîl o F... wasanaethu ein gwlâd ddêg o flynyd... : etto os mynnir i danfon hwy i [illegible] newydd, fel y gallo y tlawd yn gys[illegible] ar cyfoethog eu prynu hwynt, mae'n rhaid printio chwech mîl (oh! na ellid printio deng mîl) Ba fwya brintier mwy fydd y newydd arnynt: canys pan bo 'r pres gwedi barattoi i brin-

 tio

tio yn mîl, fe ellir gydâ ychydig ychwaneg o bo-en, a llai nâ hanner y gôſt brintio yr ail fîl,ac felly yn y blaen.

Nid oes diſgwyl am i'r Gwerth-wyr llyfrau yn *Llundain* ddodi eu harian i maes i brintio 'r Bibl cymraeg, fel y maent hwy yn gwneuthur i brintio 'r Bibl ſaeſneg; canys y maent hwy yn cael eu harian i mewn gydag ennill mawr oddiwrth y Bibl ſaeſneg mewn ychydig o flynyddoedd: ond pe printient hwy ein Biblau ni,ſef niſer fawr o honynt, fel y byddei newyd arnynt; nis caent hwy mo'i harian ei gyd i mewn nes yn ôl dêg, iê pymtheg, neu ychwaneg o flynyddau. Ac am hynny meddant hwy, *y mae yn fwy ennill-fawr i nyni i ddodi ein harian allan ar* † *llôg nag ar y Biblau cymraeg,* († Use.) *ſydd yn gorwedd cynnifer blwyddyn yn ein ſhioppe cyn eu cwbl werthu.* O herwydd hyn fe ellir diſgwyl iddynt hwy, agos roddi ei llygaid o'u pennau, na rhoddi mîl neu bymtheg cant o bunnau i brintio ein Bibl ni drachefn. Ac yn wir nid ŵyfi yn galli clywed iddynt hwy erioed ei brintio ef ar ei côſt eu hunain. *Ar gôſt boneddigion o'r wlâd y gwnaethpwyd y gwaith hyd yn hyn: Ac oni wneir ef etto ar goſt y cyfryw rai,nid oes tybygoliaeth y daw Bibl cymraeg byth i* Gymru, *tra fo* Cymru *yn* Gymru. Och Dduw! ym mha gyflwr y bydd cyffredin bobl y wlâd me[illegible] ychydig o flynyddau, oni ddengys rhai drugaredd [illegible] yn hyn o beth.

Sir *Thomas Midle*[illegible]dd yr hwn yn anad nêb arall, ac a ddangoſſodd y truga[illegible] hyn yn gyntaf i'n gwlâd, ſef i fôd mewn côſt i bri[illegible] 'r Bibl yn llyfr bychan, er bûdd ir cyffredin bobl; ( [illegible] ei fôd ef o'r blaen yn llyfr mawr yn yr Eglwyſydd)

Y mae 'r coffadwriaeth o Syr *Thomas Midleton* am y gwaith hynny yn anrhydeddus, ac yn fendigedig yng *Hymru*, ac a fydd felly tra fo crefydd Griftianogawl ynddi.

Yr wyfi yn dymuno ar Dduw o'm calon, ar ei bôb bendith yfprydol a chorphorol ddifgyn o'r nêf ar bôb vn o eppil Syr *Thomas Midleton* yng *Wynedd* neu yn vn lle arall. Rhodded Duw iddynt fendithion yn anneirif, fel Tywod y môr, fel Glafwellt y ddaiar, ac fel Sêr y nefoedd : A dyweded pôb vn yng *Hymru* ac fydd yn caru Duw, ac yn hiraethu am iechydwriaeth eneidiau pobl yno, *Amen* ac *Amen*, Poed felly bo e Arglwydd grafſol; *Benditbia eppil* Syr Thomas Midleton, *a bydded ei enw ef dros fŷth yn anrhydeddus.*

Y nawr os printier chwech mîl o Fiblau â'r llythyrennau y printiwyd Bibl *Cambridge* â hwynt, hwy goftant ynghylch pumtheg cant o bunnau: os â'r llythyrennau mân ynghylch mîl o bunnau. Fe fydd hawdd ir Efcobion, trwy ofod allan peth o'u harian ei hunain, i gael y rheft, trwy ymbil a hwynt yn y matter, oddiwrth Arglwyddi, Marchogion, Boneddigion a Gweinidogion, a Marfiandwyr *Cymru*, gan addaw iddynt werth eu harian o'r llyfrau, iw gwerthu rhyd y wlâd, gan y fawl yr appwyntiant hwy i wneuthur hynny troftynt, fel y caffont eu harian drachefn.

Mewn pôb tybygoliaeth, mi gâf fy marnu gan rai megis dŷn buſſy, i ddywedyd cymmaint yn yr achos hyn, ac i gymmeryd arnaf i ddangos y ffordd yn hyn o beth im goreuon. *Ond dymma fydd gennif i ddywedyd droſſof fy hunan, fy môd i wedi fcrifennnu hyn i gyd mewn fymlrwydd calon, heb ddiben yn y [illegible] gennif, (fel y gŵyr chwiliwr y calonnau)*

*ond*

*ond gogoniant Duw a iechydwriaeth pobl yng* Hymru: *Ac am hynny mi appeliaf at yr Arglwydd, Ac wrth ei farn ef y bydd i mi sefyll. Ac yr wyfi yn gobeithio, na bydd dim gwascfa ar fy nghalon i am gam opiniwnau, a cham farnau rhai pobl am yr hyn yr ydwyf ymma wedi scrifennu.*

Fe fydd eich barn gariadus chwi yn y matter hyn, *Barchedig Syrs*, yn fy nghynnal i fynu pan bo barn anghariadus rhai eraill yn fy ngorthrymmu.

Yr wyfi yn nawr yn adnewyddu fy neisyfiad, ar i chwi fôd yn daer ar yr Escobion yn y matter hwn. Ni ellwch chwi byth osod llaw at fatter y fo gwell. Yr wyfi yn gobeithio, nad ydych chwi Barchedig Dr. *Thomas* wedi angofio yr hyn a addawsoch chwi ymma yn *Llundain* o'r tu fewn ir ddwy flynedd hyn; Sef, *y byddei i chwi fôd yn barod i gynnorthwyo y gwaith da hyn o brintio 'r Bibl cymraeg.*

Na atto Duw i mi fôd mor anghariadus a rhoddi lle yn fy nghalon i feddwl, chwaethach i scrifennu â'm llaw, neu ddywedyd â'm tafod, *nad oes gofal yn y bŷd gan holl Escobion Cymru am eneidiau pobl y wlâd, gan nas cynnhyrfasant hwy rai cyn hyn, ar* ôl *ei dychweliad i brintio 'r Bibl cymraeg drachefn*: canys yr wyfi mewn cariad yn barnu am rai o honynt, mai yr vnig achos o'r esceulusdra yn hyn o beth ydyw, fel y dywedais i o'r blaen, am nad ydynt yn gŵybod angen y wlâd yn y matter hyn: canys nid ydynt hwy yn ymgyfeillachu âr gyffredin bobl, na'r gyffredin bobl â nhwythau. Ac am rai o'r Gweinidogion sy'n dyfod attynt hwy, ychydig y mae 'nhwy 'n feddwl (os gall... farnu wrth eu ffrwythau) am bethe... fath

hyn

hyn, sef i fynegu ir Escobion y pethau sydd ddiffygiol yn y wlâd tu ag at iechydwriaeth y bobl.

Ond yr wyfi yn gobeithio, a cawn ni glywed ar fyrr amser, y bydd ir Escobion, nid yn vnic ar eich erfyniad chwi; ond hefyd o barodrwydd eu meddwl eu hunain ymegnio â'i holl allu, i ddyfod â'r gwaith hyn i ben.

Os ydwyfi yn twyllo fy hunan yn hyn o beth, yr wyfi yn gobeithio na bydd nêb anfodlon i mi ddywedyd hyn, sef, *Os digwydda i Escobion anrhydeddus Cymru (yn ôl eu gwneuthur yn gydnabyddus â'r peth) fod yn esceulus i fynnu printio 'r Bibl cymraeg drachefn, gan fod diffyg o hono yn y wlâd; fe fydd pobl dan profedigaeth, nid yn vnic i dybied yn eu calonnau, ond hefyd i ddywedyd allan yn vchel â'u tafodau, mai ychydig yw 'r gofal sydd ganddynt hwy am iechydwriaeth eneidiau.*

Yr ŵyf yn attolwg i chwi gyd-ddwyn â'm helaethrwydd i, canys y mae 'r matter yn bwysig; ac i farnu yn gariadus am fy amcan i, (yr hyn a ddatcuddia Duw ryw ddydd i fôd yn onest ac yn dda) ac i gymmeryd mewn part da fy nghymraeg wael saesnigaidd i, sydd a gwahaniaeth ynddi (mewn geiriau, ac ymadroddion (neu phrases) a therminations, neu ddiweddiad geiriau) â'r gymraeg dda sydd ganddynt yng Wynedd; canys chwi wyddoch yn ddigon da, mai y môdd yr ydwyfi ymma yn scrifennu, yr ydym ni yn llefaru yn neheu-dir *Cymru*. Ac felly yr ydwyf yn eich gorchymyn chwi ir *Arglwydd* ac yn gorphwys,

*Bartholomews-Close yn Llundain*, yr 20 o Fîs *Mawrth*, 1671.

Eich Gwasanaethwr tra rhwymedig,

*Stephen Hughes.*



# Y Rhagymadrodd at y Darllenydd.

NId ydyw anhyſpys ir ſawl ſydd yn gwybod
trwy oleuni gair Duw, fôd dau ſâth o gy-
flwr ar ôl y Bywyd preſennol, ſef, _vn o ddedwy-
ddwch tragwyddol iw feddiannu gydâ Chriſt â'i
Angelion bendigedig yn y nefoedd_; ac arall o an-
nedwyddwch tragwyddol, iw fôd yn gyfrannog o
hono gydâ 'r Diawl a'i Angelion melltigedig, yn
nhân vffern: Nid ydyw meddafi yn anhyſpys ir
Mat.7.21. rhai ſydd yn gwybod hyn, _fod llawer iw wneuthur
Jo.13.17. ymma cyn marw, gan y rhai a ewyllyſſiant feddiannu
Jac.1.22. y gogoniant nefol a diangc y poene vffernol._
Y mae yn hawdd i ddeall allan o'r ſcrythyrau
Sanctaidd, _fod Duw iw adnabod, a'i gydnabod, a'i
garu, a'i waſanaethu gan ddŷn, cyn y gallo fôd yn gad-
wedig: ac ymhellach fod y gydwybod iw hargyhoeddu,
ai phigo am bechod,_ a'r cyflwr colledig yr ydys yn-
Mar.2.17. ddo oblegid pechod (allan o hynny nid yw boſſibl
1Jo.5.12. i vn dŷn ymofyn am iachawdwr:) yn neſſaf fod
Jac.4.9,10 rhan yn Ghriſt iw geiſio, fel y glanhaer yr enaid
Ezek.36. oddiwrth bechod: fôd cywilydd, a galar, a thri-
31,32. ſtwch, a ffieiddio, a barnu ein hunain iw fyned tano
1Cor.11. *Col.3.5. am ein pechodau: ac fôd ein pechodau iw *marw-
†Eſa.55.7 hâu, ac iw † gadael mewn meddwl, gair a gwei-
*Rhuf.7. thred cyn belled, ac nad oes * ymfodloni a chym-
15. meryd hyfrydwch ynddynt; ac nad oes rhoddi lle
||Ruf.6.12 *Jac.4.7. iddynt i || deyrnaſu ynom, nac i * Satan pan y mae
yn ein temtio, ond ei wrthwynebu ef: Ac y mae
i ni rodio gydâ Duw, gan ymdrechu cadw ei
†Mat.28. 20. † holl orchymynion ef, gan roddi i Dduw eiddo

Duw,

Duw, ac i Ddŷn eiddo Dŷn, gan garu Duw â'r ‖Mat. 22. 37.
holl ‖ galon, gan gredu ei addewidion ef, gan *Esay. 66. 2.
* grynu wrth ei fygwthion ef, gan alw arno, a bôd
yn ddiolchgar iddo yn † feunyddiol yn ‖ ddirgel, †Mat. 7. 7.
ac yn ein *teuluoedd, ac † yng-hynnulleidfaoedd ei Psal. 55. 17
bobl ef, gan gymmeryd ei enw ef yn Sanctaidd Psal. 145. 2
yn ein geneuau, a sefyll mewn ‖ ofn parchus o ho- ‖Mat. 6. 6.
no ble bynnag y bom ni, gan ddelio â phôb dŷn, *Jer. 10. 25
fel y dymunem ni ddelio o honynt hwythau a*nin- †Psal. 95. 6
ne, gan ymdrechu od oes plant a gwasanaeth ddy- Heb. 10. 25
nion gennym, i meithrin a'u maethu hwynt yn ‖1 Pet. 1. 17
† addysc ac athrawiaeth yr Arglwydd, fel y bo *Mat. 7. 12
iddynt hwy a ninne fôd ynghyd yn gadwedig. †Deut. 6. 6 Ephes. 6. 4

Fe wyddys heb law hyn, nad yw *Duw* yn ‖ ddiffygiol i nêb dan sŵn yr Efengyl, i ddyfod a nhwy i wybodaeth o hono ei hunan, a'i fâb Christ, a'r hyn sydd anghenrheidiol iw cyflawni cyn gellir cael bywyd tragwyddol. Canys heb law * goleuni naturiaeth, a gwaith y † greadigaeth, a rhagluniaeth Duw mewn ffordd o ‖ drugaredd a ‖ barn, ac sydd (megis goleu canwyll) yn datcuddio cymaint o Dduw a'i ewyllys ac sydd ddigon i adel pobl yn * ddiescus: y mae efe, ble mae yn rhoddi ei † Air sanctaidd, a'i † yspryd i ymryson â phobl trwyddo, yn canniattâu megis goleuni 'r Haul, i wneuthur ei hun a'i fâb, a'i ewyllys Sanctaidd yn gydnabyddus i blant dynion, er iechydwriaeth iddynt.

‖Rhuf. 10. 18. *Rhuf. 2. 14, 15. † Rhuf. 1. 19, 20. Psal. 19. 1. ‖Ps. 9. 16. *Ruf. 1. 20 †Neh. 9. 30 Mat. 4. 16. 2 Cor. 4. 4.

Ac ble bo rhai mewn gwlâd, trwy eu hymarweddiad sanctaidd, a'u ffrwythau da, yn dangos grym a † nerth gair Duw wedi * hau ar, ac wedi gwreiddio yn eu calonnau hwynt; y mae rheini megis goleuadau wedi gosod i fynu gan Dduw, i lewyrchu ym mysc eu cymmydogion ‖ tywyll,

†1 Thes. 2. 13. *Luc. 8. 15 ‖Phil. 2. 15

i roddi iddynt trwy eu siampl dda gyfarwydd-
deb, pa fôdd y mae iddynt drefnu eu bywyd a'u
hymarweddiad, os mynnant hwy fôd yn gadwe-
dig.

Ond och Dduw! er hyn i gŷd, pwy sydd
*Esa 1.3. mewn amryw leoedd yn dal sulw ar y * datcu-
ddiedigaethau hyn o Dduw, a'i fâb Christ, a'i e-
wyllys bendigedig? A phwy sydd yn gwrando ar
†Rhuf.10. 16. ei † leferydd ef, ac yn troi atto, i vfyddhâu iddo?
*Och Dduw! y mae pobl yn* ||Zech.7. 11,12. *|| caledu eu calonnau yn
ei erbyn ef, ac yn myned rhagddynt yn eu ffyrdd ddry-*
*Rhuf.14. 10,12. *gionus, heb feddwl am ddydd marwolaeth, a'r * cy-
frif sydd iw roddi i Dduw ddydd y farn am yr holl
esceulusdra o wneuthur i ewyllys ef ar y ddaiar, ac
am bôb drwg feddwl, ac am bob drwg air, ac am bob
drwg weithred, heb feddwl dim am nêf ac vffern, nac
am dragwyddol ogoniant yr vn, nac am dragwyddol*
Datc.3.1. *boenau 'r llall.* Ie y mae bagad yn *byw felly* (sy Gri-
Tit. 1. 16. stianogion mewn enw) *fel pe nis gwyddent fod gan-
ddynt eneidiau gwerthfawr iw cadw neu colli.* Canys
gan ymgadw oddiwrth y porth cyfyng, a'r ffordd
gûl sydd yn arwain i'r bywyd, (ag a dramwyir
*Mat.7.14 gan y * nifer leiaf yn y bŷd) *y maent yn rhodio, ie
yn rhedeg megis y march yn rhuthro ir* †Ir ymladdfa. *† frwydr, gydâ
'r nifer fwyaf yn y byd, yn y ffordd* Jer.8.6. ||Mat.7.13 *|| lydan sydd yn ar-
wain i ddestryw, gan fyw yn annuwiol ac yn ddrygio-
nus, gan ddigio Duw trwy hynny, a bodloni'r Cythra-
el, a gwneuthur* *Dihar.8. 36. ** cam a'u heneidiau eu hun, a rho-
ddi siampl ddrwg i eraill, i tynnu hwynt i bedwarcar-
nû tu ag vffern gyda hwy.* Da y cwynfannodd vn
gan ddywedyd,

*Och or byw mae dynion ofer!
Heb fyfyrio marw vn amser:*

*Neu fod uffern ffwrn dywyll-ddu,*
*Yn rhyw goeg-chwedl gwael iw gredu.*

Y nawr y mae Duw ym mhôb oes, gan ei fôd yn llawn † tosturi, ac yn || ymarhous, ac yn hiraethu am iechydwriaeth pobl, gwedi cyfodi rhai i fynu, i dderchafu eu llais fel *vdcorn, ac i dystiolaethu yn erbyn anwireddau pobloedd o'r fâth hyn, gan ymdrechu i troi nhwy o'r ffordd lydan sydd yn arwain i ddestryw, i rodio yn y ffordd gûl sydd yn arwain i fywyd.

† 2 Cron. 36.15.
|| *Yn cyd-ddwyn yn hir.*
* Es. 58. 1.

Swm y cwbl y ddywedpwyd yw hyn, sef, *Fod llawer o bethau iw gwneuthur yn y bŷd hwn gan y rhai y fynnant fôd yn gadwedig.*

2. *Fod Duw yn canniattâu moddion i wneuthur y pethau hynny yn gydnabyddus i blant dynion, ag sydd angheurheidiol iw cyflawni, cyn gellir bôd yn gadwedig.*

3. *Fod llawer o bobl, er fod Duw wedi datcuddio ei hun a'i ewyllys iddynt mewn messur helaeth, etto yn dra esceulus i ufyddhau iddo : ond gan ymhyfrydu mewn pechod, y maent yn rhedeg yn y ffordd i ddamnio eu heneidiau yn dragwyddol.*

4. *Fod Duw er hynny yn † ymarhous, ac o'i drugaredd a'i râs yn cyfodi Gweinidogion i fynu, i dystiolaethu drosto yn erbyn drwg weithredwyr, i edrych a edifarhânt hwy, a gredant hwy yn ei fâb ef, ac a droant hwy atto oddiwrth ei ffyrdd ddrygionus, a byw yn sanctaidd fel y bont cadwedig.*

† *Yn cyd-ddwyn yn hir.*

Ni adawodd Duw mo hono ei hun yn ddi-dyst yng *Hymru* mwy nag mewn gwledydd eraill. Ym mysc y rhai hynny, ag y dderchafwyd gan Dduw yn ein gwlâd ni ir diben hyn, y mae yr Awdwr bendigedig Mr. *Rees Prichard* iw gyfrif yn vn o'r

penna

penna yn ei amser. Fe wasanaethodd Dduw yn ei genhedlaeth, a thrwy ei athrawiaeth a'i fuchedd sanctaidd a ymryssonnodd â drwg weithredwŷr yn ei ddyddiau ef, i geisio cadw eu heneidiau hwy rhag distryw. Ac er ei fôd efe yn awr gyda *Christ* yn y nefoedd, yn meddiannu diwedd ei ffydd, sef, iechydwriaeth ei enaid: etto (megis *Abel*) trwy ei *ffydd*, a'i *weithredoedd da*, a'i *waith* a adewys efe ar ei ôl, (yn awr yn gynnwysedig yn y llyfr hwn) y mae efe yn llefaru wrthym ni sy ar y ddaiar, (ac a lefara wrth bobl *Gymru* tra fo *Cymru* yn *Gymru*, am i ni droi at Dduw trwy ei fâb yr Arglwydd Iesu Ghrist, a gwneuthur gweithredoedd addas i edifeirwch, fel y bo i Dduw gael gogoniant, a'n eneidiau ninne siccrwydd oddiwrth hynny y cawn fôd yn gadwedig.

Heb. 11 4.

Fe ellyd casclu o'r llyfr hwn holl *Brifannau crefydd, gwedi eu hegluro felly, ag y dichon yr annysgedig ei deall hwynt, oni fydd y bai arnynt eu hunain trwy ddarllen y llyfr yn ysgafn, heb ofn Duw yn eu calonnau.

* *Gwyddorion.*

*Peth canmoladwy ydyw, i ddysgawdwyr ddarostwng yn eu hathrawiaeth a'u hymmadroddion (fel y gwnaeth yr Awdwr) i ddealltwriaeth y cyffredyn bobl, ac nid llefaru a scrifennu yn y cymmylau:* oblegid dyna 'r ffordd (trwy fendith Duw) os efengyl Christ a draethir, i droi pechaduriaid at Dduw, ac i adeiladu y duwiol yn ei ffydd sanctaidd. *Os traether pethau Duw mewn geiriau, ac mewn modd tu hwnt i synwyr a dealltwriaeth y bobl, ni bydd y Dysgawdwŷr, a'u Gwrandawŷr, a'u Darllenwyr ond Barbariaid y naill ir llall*; heb gael, yr vn na gwybodaeth nac adeiladaeth, na'r lleill gysur yn y byd oddiwrth eu gweinidogaeth. O herwydd

hyn

hyn *gwell oedd gan* Paul (er maint ei ddysc a'i ieithoedd) *yn yr Eglwys lefaru pum gair fel y dyscei eraill nâ* † *myrddiwn o eiriau mewn tafod dieithr.* †Deng mil 1 Cor. 14. 6 9, 11, 12, 13, 18, 19.

Daliwch sulw ar yr holl athrawiaethau iachus yngwaith yr *Awdwr*; ond tu hwnt i ddim ar y rhai y ganlynant.

Yn Gyntaf, **Fod Dyn mewn cyflwr o golledigaeth, nid yn unic trwy ei bechodeu * gweithredol ei hun; ond hefyd trwy bechod † *Adda*:** canys yr oeddem ni oll yn ei lwynau ef yn pechu, pan bwyttaodd efe y ffrwyth gwaharddedig. *Ruf 6. 23. †Rhuf. 5. 12, 19.

Yn Ail, **Nad yw dyn, na thrwy ei * weithredoedd ei hun, na thrwy weithredoedd y Seintiau** (megis *Mair, Pedr Paul, &c.*) **yn abl ymddangos yn gyfiawn || ger bron Duw, nac † haeddu bywyd tragwyddol ar ei ddwylo ef:** Canys y mae 'n gweithredoedd goreu ni yn * ammherffaith; ac pe gallassei Ddyn ymddangos yn gyfiawn ger bron Duw, ac haeddu bywyd tragwyddol ar ei ddwylo ef, er mwyn ei gyfiawnder ei hun, neu gyfiawnder eraill o'i || frodyr, ni buassei raid i Ghrist ddyfod i † geisio, ac i gyfiawnhau, ac i gadw y rhai a gollwyd. Ac am y seintiau ni phwyntiodd Duw * vn o honynt, i gyfiawnhau ac i gadw ei *Eglwys*: ie gan eu bod hwynt hwy eu hunain yn || bechaduriaid fel eraill, yr oeddent yn sefyll mewn † diffyg o'n Ceidwad *Iesu Christ* yn gystal ac eraill. *Esa. 64. 6. Gal. 2. 16. ||Ps. 143. 2. †Luc. 17. 10. *Phil. 3. 12 Rhuf. 7. 18 21. ||Psal 49. 7 8, 9. †Luc. 19. 10 *Act. 4. 12. ||Tit. 3. 3. Ephes. 2. 3 †1 Tim. 1. 15

Yn Drydydd, **Fod * cyfiawnhad a † iechydwriaeth i'w gael, yn unig** (trwy || ffydd) **yn ein Harglwydd Iesu Christ.** ||*Gal.* 2. 16. *Phil.* 3. 9. *Ioan* 3. 16. *Gal. 2. 16 †Act. 4. 12 Joan. 14. 6

Yn Bedwarydd, **Fod y ffydd honno, trwy ba un y mae 'r pechadur yn || derbyn Christ, ac yn** ||Joan. 1 12 Eph. 3. 17.

**cymmeryd gafael ar Ghrist, a thrwy ba vn y mae efe yn ymddiried yn* Nuw,** (a caiff ef, ar gyfrif y iawn a roddodd ei fab *Christ* iddo (*trwy offrwm ei hun ar y groes yn* † *aberth o arogl peraidd dros bechodau ei bobl*) ac ar gyfrif ei gyfiawnder ef || faddeuant pechodau, * cyfiawnhâd, * heddwch Duw, †bod yn Blentyn iddo, * ymwared rhag damnedigaeth, a*bywyd tragwyddol yn y nefoedd) **Fod y ffydd honno (meddafi) nis yn ffydd farw, heb || weithredoedd da yn ei chanlyn hi; ond ble bynnag y bo 'r ffydd honno, y mae hi 'n * fywiol at bob math o weithredoedd da:**

*1 Pet.1.21 †Eph.5.2 1 Io.2.2. || Eph.1.7. *Rhuf.5.9 10, 19,21. †Gal.4 5. || Jo.15.5. Mat.7 17. *Gal 5.6. Jac.2.18.

Ac y mae 'r pethau a ganlynant yn myned gydâ hi, sef,

Yn gyntaf, || *cywilydd*, † *tristwch, a galar am bechod*, *casineb at bechod, || *gwîr bwrpas i droi oddi wrth bechod*, ac ymmadawiad â phôb pechod (*ag ydys yn ei nabod*) cyn belled, ag nad yw pechod yn † teyrnasu yn yr enaid ble bo 'r ffydd honno.

|| Ruf 6.21 †Ezek.36. 26. Luc.7.44. *Ruf 7.15 || Act.15.9 Gal.5.24. †Ruf.8.10 Rhuf.6.14

Yn Ail, *Gwîr* * *gariad at Dduw*, yr hyn sydd yn ymddangos trwy ofal i gadw ei † orchymynion ef, trwy fyw yn *dduwiol*, yn *sobr*, yn *gyfiawn* yn y bŷd presennol. † *Ioan*. 14. 15. *Ioan*. 10. 27. *Titus*. 2. 11. 12.

*1 Jo.4.19. Gal.5.6. Luc.7.50 a'r 47.

Yn Drydydd, † *Cariad diragrith at y sawl sydd yn ofni Duw*, trwy ba vn yr ydys yn * ymhyfrydu ynddynt hwy; *a chariad o dosturi tu ag at bawb*, (||da a drwg) trwy ba vn yr ydys yn dymuno yn dda iddynt, ac yr ydys yn barod mewn rhyw fesur neu gilydd (*yn ôl y gallu y roddodd Duw*) i cynnorthwyo hwynt yn eu blinderau a'u hadfyd. Nid oes lle y nawr i ymhelaethu, ac i agorid y Scrythyrau hyn, ac i ddangos pa fôdd y maent hwy yn prwfio 'r pwngciau: y mae arnafi ofn na ddichon

†2Thes1.3 1 Pet.1.22 Psal.15.4. *Psal.16.3 || Mat.5 44 45. Gal 6.10. Jo.10.27.

chon y gwann ddeall hynny, ond Gair i gall sydd ddigon.

Ynghylch y wîr ffydd hon, ac sydd fôdd i gyfiawnhau, ac i gadw 'r pechadur edifeiriol, y mae 'r Awdwr bendigedig fel hyn yn dywedyd:

*Ni bydd tân heb wres lle'i bytho,*
*Ni bydd Dwr heb wlybrwydd yntho,*
*Ni bydd fallen dda heb fale,*
*Na bywiol ffydd heb fywiol ffrwythe.*

*Onid yw dy ffydd yn fywiol,*
*Yn dwyn gair a gweithred rasol,*
*Nid yw hon ond ffydd mewn enw,*
*Ffydd na ddichon byth dy gadw.*

Ac eisieu bôd gan ddynion y fâth ffydd a hon, y mae efe ym-mhellach yn dywedyd,

Prynodd Christ â gwaed ei galon
Yr holl fŷd o'u poenau trymmion;
*Llawer mil o'r byd er hynny*
*Ant i uffern eisieu credu.*

Craffwch ar y pethau a ddywedyr ymma ynghylch y wir ffydd, *oblegid fod llaweroedd yn tybied, fod y ffydd gyffredyn sydd ganthynt* (trwy ba vn y maent yn credu, fôd Duw, fôd Christ yn Fâb Duw, farw o hono ef drosom ni, ac y ceir bywyd tragwyddol trwyddo,&c.) *yn ddigonol i iechydwriaeth, er nad oes gyda hi nac edifeirwch, na gwellhâd buchedd, na gofal yn y byd i ryngu bôdd Duw, trwy ddangos trugaredd, a gwneuthur cyfiawnder, ac ymostwng i rodio gydag efyn ddifeins ac yn ddifrycheulyd.* Ond gwybydded y cyfryw rai yn hollol, nad ydynt ond twyllo eu heneidiau eu hun. Mae 'r Scrythur yn Mich. 6 8. 2 Pet. 3. 14 Jac. 1. 27.

 dangos

dangos yn eglur, na wasanaetha mo'r ffydd farw honno i iechydwriaeth. *Jac.* 2. 14, 19, 20, 26.

Yn ddiweddaf oll daliwch sulw ar yr Athrawiaeth hon, sef, **Er nad â nêb i'r nefoedd** * **am eu gweithredoedd da; etto nid â nêb i'r nefoedd heb weithredoedd da.** Y mae 'n ddilys fôd gweithredoedd da iw gwneuthur, cyn gellir bôd yn † gadwedig: ond gan eu bôd yn ammherffaith, nid oes gwneuthur mo honynt mewn tŷb eu bôd hwy yn haeddu 'r bywyd tragwyddol, (fel y mae rhai pobl angnhabyddus yn tybied, pan bont yn dywedyd, *Duw a roddo i ni fel yr ym yn haeddu*: cymmaint yw hynny (*pe deallent hwy beth y maent yn ei ddywedyd*) a phe dywedent, *Duw a daflo ein eneidiau a'n cyrph ir tân tragwyddol gydâ 'r Diawl a'i Angelion, canys dyna 'r peth yr ydym ni am ein* † *pechodau bawb yn ei haeddu.*

*Luc. 17. 10. Gal. 2. 16.
†Mat. 7. 19, 21.
†Ruf. 6. 23. Datc. 21. 8.

Ond y mae gweithredoedd da iw gwneuthur, *yn Gyntaf* i ddangos ein vfydd-dod a'n * cariad at Dduw: *yn Ail* i ddwyn || gogoniant idd ei enw ef. *Y mae pobl trwy y gweithredoedd da y maent yn eu gwneuthur o vfydd-dod i Dduw, ac o gariad atto ef, yn dywedyd allan yn vchel er gogoniant iddo, nad oes nêb yn deilwng o vfydd-dod o'i flaen ef.* *Ac yn Drydydd* y mae gweithredoed da iw gwneuthur, fel y galloni ni (*trwy gyflawni â* † *chalon onest* (trwy nerth * yspryd Christ ynom) *ein rhan ni o'r cyfammod o râs*) wybod wrth hynny, a || siccrhâu ein hunain er mawr gyssur i'n eneidiau, ein bôd ni yn ganghennau bywiol yn Ghrist, ac a cawn ni (trwyddo ef) ac er ei swyn ef fywyd tragwyddol yn y nefoedd: *Ac yn Bedwarydd* fel y bo i ni * harddu efengyl Ghrist, trwy ddangos ei † grym hi yn ein bywyd a'n hymarweddiad. Ac *yn Ddiweddaf* fel

*Joan. 14. 15.
||Jo. 15. 8.
†Luc. 8. 15
*Joan 15. 5.
||1 Joan 2: 3, 4, 5, 6.
*Tit. 2. 10
†1 Thes. 2. 13.

fel y gwnelom trwyddynt || lesâu i eraill, trwy ||Tit. 3.8.
ddangos iddynt * Siampl dda iw dilyn, er gogo- *Phil. 2.15
niant i'r Duw, a chysur iw heneidiau.

Er cystal yw 'r Athrawiaethau, a'r Rhybyddion, a'r ceryddon y sydd yn y llyfr hwn; etto oni iawn arferir hwynt, ni cheir llesâd oddi wrthynt; ond hwy fyddant yn † arogl o farwolaeth i farwolaeth ir sawl a'u cam arferant; hynny yw, hwy fyddant achos i wneuthur eu damnedigaeth hwy yn fwy. (†2 Cor. 2. 16.)

Cymmer gan hynny Ddarllenwr anwyl y cynghorion a ganlynant, fel y bo i ti, trwy ddarllen y llyfr hwn dderbyn llesâd, ac nid dim niwed i'th enaid.

Yn Gyntaf, *Deisyf ar yr Arglwydd ar iddo wneuthur i ti ddaioni trwyddo.* Nid * gwaith ofer yw ceisio 'r Arglwydd: y mae efe yn † gorchymyn i ni i alw arno, ac yn addaw ein gwrando pan weddiom â'n holl galon *Jer.* 29. 13. Nid yw possibl heb ei || fendith ef gael gwybodaeth allan o un mâth o lyfrau yn y bŷd. Arfer dda gan hynny ydyw, cyn darllain llyfr ble * crybwyllir am bethau Duw, i dderchafu 'r galon, a'r llygaid atto ef gan ddywedyd, *Arglwydd † agor fy llygaid i weled dy wirioneddau, parattoa fyngbalon i derbyn hwynt, ac i ufyddhau iddynt, a chadw fi rhag amryfusseddau.* (*Esay 45. 19. †Mat. 7.7. ||Jac. 1.17. **Sonnier,* †Psal. 119 18.)

Yn Ail, *Darllenwch ag yspryd gostyngedig.* Er cymmaint yw gwybodaeth pobl, etto hwy ddylent gofio, nad ydynt yn gŵybod ond mewn rhan; ac o herwydd hynny fód yn rhaid iddynt fwy wrth ragor o wŷbodaeth. Ac oni chânt trwy y llyfr hwn wybodaeth o bethau nas gwyddent o'r blaen, etto os cânt eu hatgofio o wirioneddau (1 Cor. 13. 9)

a anghofiasant, f-rydd hynny er † bûdd iddynt. *Ni ddylem droed ein hunain yn || ffyliaid, fel y bo i Dduw i'n gwneuthur ni yn ddoeth. Y mae 'r Arglwydd yn dal sulw* ( gydag hyfrydwch ) *ar y * gostyngedig, ac yn addaw dyscu ei || ffyrdd ir cyfryw.*

Yn Drydydd, * *Gwachelwch yscafnder wrth ddarllain*; Canys ni ddylit chwareu â phethau sanctaidd ; oblegid nid gwirion gan yr Arglwydd y sawl a gymmero ei || enw ef yn ofer. Gwybyddwch, mai *pa beth bynnag sydd yn gwneuthur Duw yn gydnabyddus, ei enw ef yw hynny,* megis ei Briodolaethau, ei weithredoedd, a'i Air. Ac a gytcammu di, neu a fyddi di mor † eon, a darllen pethau yn Rhigyl, ac yn yscafn, dan chwerthyn, ac sydd (gan mwya) wedi tynnu allan o'r Scrythur lân, ac wedi Seilio arni ? na atto Duw. Os *darllenwch bethau Sanctaidd mewn * parch ac ofn yr Arglwydd, chwi ellwch ddisgwyl yn* ôl *ei addewid ef am fendith ar eich darllenniad.*

Dymma 'r densydd a ddichon yr Angnhabyddus wneuthur o'r gweddiau yn y llysr, Sef, *Trwy eu mynych ddarllain, hwy a allant lanw eu calonnau â * matter da iw dywallt u allan mewn Gweddi ger bron yr Arglwydd.* Fe ddichon y gwann gael cyfarwydd-deb oddi wrthynt, pa bethau sydd i'w ceisio, ac ym mha fôdd y mae eu ceisio hwynt ar bôb achosion.

Y mae amryw bethau ynghorph y llysr heb law y bedwaredd ran, nas printiwyd erioed o'r blaen hyd y nawr. *Ac y mae 'r Drefn, o ran canlyniad un peth ar* ôl *y llall, wedi newid, oblegid fod rhai pethau yn y llyfr cyntaf a'r Ail, ac a ddylysai fôd yn y Trydydd, a rhai pethau yn y Trydydd a ddylysai fod yn y ddau gyntaf.* Y mae 'r drefn y nawr yn brydsferthach o lawer.

Nid

† Llesâd.
|| 1 Cor. 3. 18.
* Psal. 138. 6.
|| Psal. 25. 9
* Gochelwch.
|| Exod. 20 7.
† Hys.
* Psa. 111. 10.
Esay. 66. 2
* Pethau.

Nid oes ymma ond tammeidie allan o hên bappyrau, sef, † *Torriad garw* yr Awdwr, a'r rheini yn ammherffaith, ac yn anhawdd iw darllain, ynghylch y 1 *Sabboth*, 2. *Dyledswydd Gweinidogion*, 3. a *Phurdân y Papistiaid*, 4. a *Pharbad* mewn stâd o râs, *&c.* Da y gwnai y sawl sydd â llysr pennaf yr Awdwr (ag a gollwyd yn amser y rhyfel yn shir *Frecheiniog* fel yr ydys yn tybied) neu ddim pethau eraill o'i waith ef, i rhoddi hwynt ir nêb a a fyddei gofalus i osod y fâth ganwyll mewn canhwyllbren i oleuo 'r holl wlâd, fel y darfu i Mr. *Evan Pugh* o Landingat wneuthur; o ba herwydd y mae nid yn unic myfi, ond hefyd holl *Gymru* yn rhwymedig iddo.

† *Rough draught.*

Y mae *Hîl Adda* yn ammherffaith yn yr holl goppyon ag a welais i; ac hefyd *y gân ynghylch y diawl a'r meddwon*, os ei † waith ef ydyw hi; yr hyn beth yr ydwyfi yn ei amheuo; canys er fod ynddi rai o gynheddfau 'r meddwon wedi eu dodi maes, etto nid oes yno fawr o resymmau yn erbyn y pechod câs hwnnw; yr hyn beth sydd anarferedig yngwaith yr Awdwr; yr hwn oedd yn Scrifennu nid fel ffôl, ond fel un a allei roddi rhesymm am y peth yr oedd efe yn ei ddywedyd.

† *Y mae coppy yn y wlâd yn dywedyd mae efe yw'r Awdwr.*

Er nad ydyw weddus i wr ddywedyd llawer am dano ei hunan, etto ni allafi ymattal rhag cyhoeddi fy ngorfoledd, am fôd Duw wedi rhoddi i mi fy mywyd, i weled cyflawni yr hyn oeddwn i yn ei rag-dybied a ddigwyddei ar brintiad gwaith yr Awdwr. Fy ngeiriau yn y rhag-ymadrodd o flaen y llyfr cyntaf yw 'r rhain a ganlynant.

"*Peth arall am bannogodd i brintio 'r pethau ymma, yw*
"*y tybygoliaeth mawr, y cynhyrfir wrth hyn lawer oedd ni*
"*fedrant ddarllain, i ddyscu darllain cymraeg. Awyddus*
"*yw pobl at bethau newyddion, a'r rhain yn brintiedig ydynt*

" *newydd i'n gwlâd.* Ac *odid, na bydd llawer* (er ys-gat-
" fydd nid ag amcan i gael llesâd i heneidiau, etto o ran
" eu difyrrwch) *yn ymdynnu, i ddyscu darllain gwaith Ficcer*
" *Llanddyfri.* Ac *ar ôl dyscu darllain hwn, pa rwystyr fydd*
" *i ddarllain llyfrau cymraeg eraill? trwy ba rai* (om ches-
" clyr trwy hwn) *y gellir casglu daioni mawr.*

Os Duw a'i myn, fe brintier ar fyrder yr *Ymarfer o dduwioldeb*, y *Llwybr hyfforddd ir nefoedd*, *Agoriad byrr ar weddi'r Arglwydd*, a *Gwiliad y glôch Arian*, o *gyfieithiad* †John Gibbs *Esquire* o *Gastell-Neath* yn shir *Forgannwg*.

† *Fe apwyntiodd ar ei wely Angeu ddelifro neu roddi y llyfr hwnnw i myfi iw brintio.*

Mi gynghorwn ir sawl sydd heb y ffydd ddiffuant, neu hanes y ffydd i brynu fe, a'i brisio fe yn werthfawroccach nag Aur, o herwydd storiau rhai Merthyron sydd ynddo, ac vn rheswm ar bwmtheg i brwfio sôd y Scrythyrau yn Air Duw. Y mae Deffynniad ffydd Eglwys *Loeger* yn erbyn y Papistiaid yn haeddu iw ddarllen gan rai deallus.

Bendithied Duw y Gwaith presennol, a chyfoded rhai iw brintio ef (pan bom ni yn ein beddau) er daioni ir cenhedlaethau a'n canlynant. Ac os cei di Ddarllenwr anwyl ddim llesâd trwy y llyfr hwn, rho Ddiolch i Dduw, ac nac anghofia yn dy weddiau

*Bartholomews-Close* y 22 o Fis *Mawrth* 1671.

Dy wasanaethwr yn yr Arglwydd,

STEPHEN HUGHES.




TABL

# TABL yn rhoddi hyspysrwydd ym mha ddalen y ceir cwrdd a phôb Cân.



*Am*

Diolch

At

## *At y Darllenwr.*

YR oeddwn i ys llawer o amser o'r opiniwn (*wrth weled amryw bethau Perffaith, wedi eu scrifennu yn deg iawn, â'i law ei hun gan yr Awdwr bendigedig, ac wedi eu trefnu yn weddus yn vn o'r llyfrau a ddaeth im dwylo i*) fôd gantho ef bwrpas i brintio rhan fawr o'i waith ei hun. Mewn pôb tybygoliaeth efe ei hunan y fynnodd brintio y Gân honno, sef,

*Fy Anwyl Blentyn dere nês*, &c.

Yr hon a welais i yn brintiedig lawer blwyddyn cyn i mi brintio ei waith ef. Ond y nawr wrth chwilio ymma fel y gwnelid pedwaredd ran, hên bappyrau ammherffaith anhawdd iw darllain, ym mha rai yr oedd yr Awdwr yn scrifennu i lawr ei feddyliau cyntaf, mi gefais allan yr hyn a'i gwnel e yn ddigon eglur, fôd ei bwrpas ef i brintio ei ganiadau. O mor dda y buassei hynny! iddynt ddyfod allan wedi eu perffeithio dan ei law ei hunan. Fe ellir deall wrth y Caniadau sy'n canlyn, fôd gantho feddwl i gyssegru ei lyfyr i ryw Arglwydd, ac i roddi 'r enw hyn iddo, sef, *CANWYLL Y CYMRU*. Canys fel hyn y mae efe yn dywedyd.

*ARglwydd grassol na ryfedda,*
*Weld Eglwyswr tlawd i'th goffa,*
*Ac yn* † *mentro,* Urddas Cymru;
*A'r fath Lyfran dy* * *anrhegu.*

†*Meiddiol*
* *Bresentol*

Dy

*Dy zeal at Eglwys Christ a'i || hurddas,*
*Dy wsanaeth da i'th Brins a'r Deyrnas,*
*Dy serch, a'th garcc am genel* Cymru,
*Y bair i bawb dy anrhydeddu.*

|| Anrhydedd.

*Ym mhlith miloedd a'th anrhegant,*
*A thalentau mawr eu moliant;*
*Arglwydd da cennada finne,*
*Dy gydnabod a'm dimmeie.*

Cymrodd Arglwydd yr Arglwyddi,
Rodd y weddw dlawd heb shiommi;
Er na thale'i rhodd ond Dimme,
Am roi 'r cwbwl ag a fedde.

*Cymmer dithe Arglwydd serchog*
*Rodd o'r fath gan ŵr dyledog,*
*Sy'n wllysgar i'th anrhegu,*
*A rhodd well pe bae 'n ei feddu.*

*Haeddaist well,* Ddiddanwch Cymru,
*Cawsit well, pe basse genni:*
*Pwysa 'r rhodd yn ôl yr 'wllys,*
*Hi gyd-bwysa roddion* Prinsys.

## *Arall At y Darllenwr fel y mae 'n dybygol.*

G*Ogoniant Duw, a llês Brittaniaid,*
**Canlyniaeth ffryns, a gwaedd y gweiniaid,*
*Y wnaeth printio hyn o lyfran,*
*A'i roi rhwngoch* Gymru mwyn-lan.

*Deisyfiad

*Abergofi pûr Bregethiad,*
*Dyfal gofio ofer Ganiad,*
*A wnaeth im droi hyn o werseu,*
*I chwi 'r* Cymru *yn ganiadeu.*

*Am weld † Dwfn-waith enwog* Salsbury,
*Gan y diddysc heb ei hoffi:*
*Cymrais fessur byrr cyn blayned,*
*Hawdd iw ddyscu, hawdd iw 'styried.*

Gelwais hon yn *Ganwyll Cymro*,
Am im chwennych brûdd oleuo,
Pawb o'r *Cymru* diddysc, deillion,
I wasnaethu Duw yn vnion.

*Er mwyn helpu 'r annyscedig,*
*Sydd heb ddeall ond ychydig,*
*Y cynnhullais hyn mor gysson:*
Mae gan eraill well Athrawon.

*Duw oleuo pawb o'r Cymru*
*I wîr nabod a'i wasnaethu:*
*Duw a wnêl i hyn o Ganwyll,*
*Roi ir dall oleuni didwyll.*

† *Y Testament cymraeg a gyfieithwyd gan* Mr. W Salsbury *y mae efe yn ei feddawl ond odid.*

Pe gwelswn i y gân hon cyn printio 'r sheete gyntaf, mi roddaswn yr enw y mae 'r Awdwr wedi bwyntio ir llyfr, sef *Canwyll y Cymru.* Yr wyfi yn deisyf ar y neb a'i printio ar fy ôl i, i roddi 'r enw hynny iddo.

*S. H.*

---

Llythyr yr Awdwr at ryw Eglwyswr a ddeisyfodd arno droi ar gân Catechism Eglwys Loeger.

DY* *Zeal at Dduw a'i Eglwys,*
Fy Mrawd, *mi wn a barwys,*
*Id geisio troi holl bwngciau 'r ffydd,*
*Ar Gân mor brûdd, mor gymmwys.*

* Awydd-fryd.

Di

*Di weli fôd yn hawsach,*
*Gan* Gymru *(heb eu hammarch)*
*Ddyscu caniad ofer serth,*
*Na'r Peth sydd werthfawroccach,*

*Gan hynny ceisiaist genni,*
*Droi'r pwngce hyn iw canu;*
*Fel y gallo 'n Defaid mân,*
*Yn rhwydd ar gân ei dyscu.*

*Wrth weld dy dduwiol fwriad,*
*Ni phellais o'th ddymuniad:*
*Ond mi droes dy bwngce 'n fyrr,*
*Yn blayn, yn Eglur ganiad.*

*Ni cheisiais ddim cywrein-waith,*
*Ond messur esmwyth, perffaith,*
*Hawdd iw ddyscu ar fyrr dro,*
*Gan bawb a'i clywo deir gwaith.*

*Derbyn yn ressawgar,*
*A geisiaist mor 'wllysgar:*
*Er nad ydyw'r gwaith ond gwael,*
*Mae 'n chwennych cael dy ffafar.*

*O caiff ein Duw ogoniant,*
*Na'n defaid dippyn lessiant;*
*'Rym ni 'n dau yn cael ein gwynn,*
*O'r gorchwyl hyn trwy lwyddiant,*

*Duw roddo dy ddymuniad,*
*Duw fyddo ceidwad arnad:*
*Waith bod fy ffrwst, a'm gwaith yn fawr,*
*Mi gymra nawr fy nghennad.*

Y mae'r Testament a'r Llyfr hwn, a Chatechism Mr. *Perkins*, a phethau eraill gydag ef, iw gwerthu, gan Mr. *Goff* yng *Haer-Fyrddyn*, Mr. *Bodvil* yng *Haer-Lleon*, Mr. *Vertey* o'r *Venny*, Mr. *Hughes* o *Wrecsam*, ac yn Abertawe.

## *Cyngor i wrando pregethiad yr Efengyl, ac i chwilio'r Scrythurau.*

O Cais gwr na gwraig na bachgen
Ddyscu'r ffordd ir nefoedd lawen,
Ceisied air Duw iw gyfrwyddo, P ſ 19
Onid e, fe aiff ar ddidro. 19.

*Mae 'r nef ymhell, mae'r ffordd yn ddyrys,*
*Mae'r trammwy'n fach, mae rhwyſtre anhappys,* Mat. 7.14.
*Mae'r porth yn gûl i fyned trwyddo,* Pſ. 119,
*Heb oleu'r gair, nid aer byth atto.* 105.

Mae 'r nef vwchlaw yr haul a'r lleuad,
Mae 'r ffordd yn ddierth itti ddringad,
Rhaid *Chriſt* yn Yſgol cyn dringhadech,
Ai air yn *ganwyll* cyn canfyddech.

Mae llawer craig o rwyſtre cnawdol, Mat. 18.
Mae llawer *môr* o drallod bydol, 7.16.24.
Cyn mynd ir nef, rhaid myned droſtynt, Pſ. 119.
Heb oleu'r gair nid aer byth trwyddynt. 92.

Mae llawer mil o lwybrau Ceimon,
O ddryſſwch blin, o ffoyſydd dyfnon,
Cyn mynd i'r nef, rwi'n dwedyd wrthyd,
Heb oleu'r gair ni elly'i gweglyd.

Di elly ſynd i vffern danllyd, Rhuf. 1.
Lwyr dy ben, heb vn cyfrwyddyd, 16.
Nid aiff neb ir nef gwnaed allo,
Heb y fengyl iw gyfrwyddo.

Nid goleu'r haul, nid goleu'r lleuad,
Nid goleu'r dydd, na'r ſêr ſy'n gwingad,
Ond goleu'r gair a'r fengyl hyfryd,
All d' oleuo i ddin y bywyd.

Cymmer lantern Duw'th oleuo,
A'r Efengyl ith gyfrwyddo,
Troeda 'r llwybyr cûl orchmynnwys,
Di ae 'n union i Baradwys.

2 Pet. 1. 19. Y gair yw'r ganwyll ath oleua,
Y gair yw'r gennad ath gyfrwydda,
Y gair ath arwain i baradwys,
Y gair ath ddwg ir nef yn gymmwys.

Dilyn dithe oleuni 'r gair,
Gwna beth archwys vn mab Mair,
Gwachel wneuthur a wrafynwys,
Di ae 'n union i baradwys.

Seren wen yn arwain dyn,
O fan i fan at Grist ei hûn,
Yw 'r Efengyl i gyfrwyddo,
Pawb ir nefoedd ai dilyno.

Bwyd ir Enaid, bara 'r bywyd,
Grâs ir corph, a maeth i'r yspryd,
Jer 15.16 Lamp ir droed, a ffrwyn ir genau,
Ps. 119. 104. Yw gair Duw a'r holl scrythyrau.

Llaeth i fagu'r gwan ysprydol,
1 Pet. 2. 2. Gwîn i lonni 'r trist cystuddiol,
Ps. 19. 8. Manna i brothi'r gwael newynllyd,
Ydyw'r gair, a'r fengyl hyfryd.

Dihar. 4. 22. Eli gwych rhag pob rhyw bechod,
Oyl i ddofi gwûn cydwybod,
Triag gwerthfawr rhag pob gwenwyn,
Ydyw'r gâir, a balsam addswyn.

Jer. 23. 29. Mwrthwl dûr i bario 'n cnappe,
Bwyall lem i dorri 'n ceinge,
2 Tim. 3. 16. Rheol gymmwys i'n trwssiannu,
Ydyw 'r gair ac athro i'n dyscu,

Udcorn pres i'n gwssio ir * frawdle, *Lle barn
Clôch in gwawdd i wella 'n beie, Ps 19. 11.
† Herawld yn proclaimo 'n heddwch, †cennad yn
Ydyw 'r gair, a'n gwir ddiddanwch: cyhoeddi,

Y gair yw 'r drych sy'n gwir ddinoethi Rhuf. 3. 20
Ein holl frychau a'n holl frynti,
Ac yn erchi i ni eu gwella,
Tra fo 'r dydd a'r goleu 'n para.

Y gair yw 'r hâd sy 'n adgenhedlu,
Yn blant i Dduw, yn frodyr Jesu, Jac 1. 18.
Yn deuly 'r nef, yn demle ir yspryd,
yn wir drigolion tir y bywyd.

Heb y gair nid wi 'n dychymmig,
B' wedd y bydd dyn yn gadwedig,
Lle mae 'r gair yn Benna o'r moddion,
Ordeiniodd Christ i gadw Ghristion.

Heb y gair ni allir nabod
Duw na'i nattur, na'i lân hanfod,
Na'i sab Christ na 'r sanctaidd yspryd,
Na rhinweddau 'r Drindod hyfryd.

Heb y gair ni ddichon vn dyn,
Nabod 'wllys Duw na'i ganlyn,
Na gwir ddyscu 'r ffordd i addoli,
Nes i'r gair roi iddo oleuni.

*Er wrth oleuni nattur a gwaith y greadigaeth, nabyddir Duw mewn rhan, etto iechydwriaeth ni nabydd vn dyn ef heb y gair.*

Heb y scrythur ni ddealla,
Vn dyn byth ei gwymp yn Adda,
Na'i drueni, na'i ymwared,
Trwy fab Duw o 'r fath gaethiwed. Rhuf. 1. 16

Heb y gair ni all neb gredu,
YnGhrist Jesu fu'n ei brynu:
Cans o wrando 'r gair yn brydd, Rhuf. 10.
Y mae i Griston gyrraedd ffydd. 14, 17.

 Heb

Heb y gair nid yw Duw 'n arfer
Troi vn enaid oi ddiffeithder:
Ond trwy 'r gair Mae 'n arferedig,
Droi 'r Eneidiau fo Cadwedig.

Ar gair y trows yr Apostolion,
Act.13.48. Y Cenhedloedd yn Gristnogion,
Heb y gair peth dierth yw,
Droi pechadur byth at Dduw.

Act.2.41. Aphregethiad vn Efengyl,
Y trows Pedr gwedi tair mil,
O Iddewon i wir gredu,
Ar ol iddynt ladd y Jesu.

Jac.1.18. Trwy hâd y gair yr hadgenhedla
Yspryd Duw 'r pechadur mwya,
Ac ai gwna yn oreu ei ryw,
Yn frawd i Grist, yn fâb i Dduw.

Joan.5,39. Y gair sy 'n cynnwys ynddo 'n helaeth,
Faint sydd raid at Jechydwriaeth:
Chwilia hwn a chais e'n astyd,
Ynddo mae 'r tragwyddol fywyd.

Jac.1.19. Crist sy 'n erchi it lafyrio,
Jo.6.27. Am y gair ath draed ath ddwylo,
Mwy nag am y bwyd y dderfydd,
O chwennychu fyw 'n dragywydd.

1Pet.2.2. Fel y llef dyn bach am fronne,
Fel y cais tir cras gawade,
Fel y brefa 'r hûdd am ffynnon,
Llef am eiriau 'r fengyl dirion.

Gwerth dy dir a gwerth dy ddodren,
Gwerth dy gris oddi am dy gefen,
Gwerth y cwbwl oll sydd gennyd,
Cyn bech byw heb air y bywyd.

Gwell

Gwell it fod heb fwyd, heb ddiod,
Heb dŷ, heb dân, heb wely, heb wascod,
Heb oleu'r dydd a'r haul garuaidd,
Nâ bôd heb y fengyl sanctaidd.

Tôst yw aros mewn Cornelyn,
Lle na oleuo 'r haul trwy'r flwyddyn,
Tostach trigo yn y cwarter,
Lle na oleuo'r gair vn amser.

Na thrig mewn gwlad heb law ar brydie,
Mewn glynn heb haul, mewn tŷ heb ole,
Mewn tre heb ddwr, mewn llong heb gwmpas,
Mewn plwyf heb ryw bregethwr addas.

Gado 'r wlad, a'r plwyf, a'r pentre,
Gado 'th dâd, ath fam, ath drasse,
Gado 'r tai, a'r tir yn ebrwydd,
Lle na bytho gair yr Arglwydd.

Gwell it drigo mewn Gogofe,
A chael gwrando 'r fengyl weithie,
Nag it drigo mewn gwlad ffrwythlon,
Lle na bytho 'r fengyl dirion.

Tost yw trigo mewn tywyllwch,
Lle na chaffer dim diddanwch,
Tristach trigo yn rhy hair,
Lle na chaffer gwrando 'r gair.

Nid gwaeth trigo 'mysc y Twrcod,
Sydd heb ofni Duw nai nabod,
Nag it drigo yn dost dy drigyl,
Lle na chlywer Christ nai fengyl.

Tynn i Loeger, tynn i Lundain,
Tynn dros fôr tu hwnt i Rufain,
Tynn i eitha 'r byd ar dreigyl,
Nes y caffech gwrdd a'r 'fengyl.

Blin it weld yr haul a'r glaw,
Mewn plwyfe dauty yma a thraw,
A'th plwyf dithe ( peth yſcymmyn)
Heb na haul na glaw trwy 'r flwyddyn.

Rym doſt. *Oni bydd vn bregeth * ddurſing,*
*Yn y plwyf lle bech yn taring,*
Jac.1.19, *Dôs y-maes i'r plwyf lle 'i bytho,*
*Nad vn ſabbath heb ei gwrando.*

Pan fo eiſiau a'r dy ſola,
Di âe i'r gell i geiſio bara,
Pan bo newyn ar dy enaid,
Nid ae i vn lle i geiſio ei gyfraid,

Mat.16. 26. *Beth y dâl it borthi'r corphyn,*
*O bydd d' enaid marw o newyn,*
*All dy gorph di gael difyrrwch,*
*Pan fo d' enaid marw o driſtwch ?*

Drwg it ladd y corph â newyn,
Eiſiau bara tra fo 'r flwyddyn :
Gwaeth o lawer lladd yr yſpryd,
Eiſie 'i brothi â bara 'r bywyd.

Llêf gan hynny ar y ffeiriaid,
Am roi bwyd i borthi d' enaid ;
Mal.2.7 Rwyt ti 'n rhoi dy ddegwm iddyn,
Pâr i nhwyntau dorri'th newyn.

Luc.10. 16. Gwrando 'r gair o enau 'r ffeirad,
Fel o enau Chriſt dy geidwad,
Chriſt a rows awdurdod iddo,
Ith gynghori ath rybuddio.

O pâr Chriſt i ffeirad noethlyd,
Dy rybuddio wella 'th fywyd,
Rwyti 'n rhwym i wneuthur archo,
2 Pet. 2. 16. Pe doy Aſſen it'h rybuddio.

Pe doy Suddas i bregethu
Fengyl Grist ti ddlyd ei dyscu,
F' all y sengyl gadw d' enaid,
Er ith Athro dost gamsyniaid.

*Os dy fugail sydd anweddaidd,*
*Ai athrawiaeth yn Gristnogaidd,* Mat. 23.
*Dysc y wers, na ddysc ei arfer,* 2, 3.
*Gwachel feieu Paul a Pheder.*

Na wna bris oi wedd nai wiscad,
P'un ai gwŷch ai gwael fo'i ddillad:
Nid llai grym y fengyl gyngan,
O'r shiacced ffris na 'r gassog sidan.

Cymmer berl o enau llyffan,
Cymmer aur o ddwylo aflan,
Cymmer wîn o bottel fydur,
Cymmer ddysc o ben pechadur.

Gwrando 'r fengyl, Christ yw hawdwr,
Pa fath bynna fo 'r pregethwr,
Prissia 'r gair, na phrissia 'r gennad,
Crist ei hun ai helodd attad.

Cadw 'r geiriau yn dy galon,
Nad eu dwyn gan gigfrain duon Luc. 8.
Hâd yw 'r gair ith adgenhedlu, 12, 15.
Os ir galon y derbynnu.

Dyfal chwilia di 'r Scrythyrau,
Darllen air Duw nôs a borau: Jo. 5. 39.
Dilyn arch y gair yn ddeddfol, Psa. 1. 2.
Hynny 'th wna di 'n ddoeth anianol.

Cadw 'r gair bob pryd ith galon, Deut. 6.
Ac hyspysa hwn ith feibion: 6, 7, 8.
Sonnia am dano nôs a bore,
Y mewn, y maes, wrth rodio ac eiste.

*Gwddf.* Dôd e'n gadwyn am dy * swnwg,
*† fodrwy.* Dôd e'n rhactal o faen d' olwg,
*Ps.* 119. Dôd e'n † signet ar dy syssedd,
98. Na ddos hebddo led y droedfedd.

Gwna 'r gair beunydd yn gydymmaith,
Gwna 'n gywely it bob noswaith,
Gwna e'n gysaill wrth shiwrneia,
Gwna 'r peth archo wrth chwedleua.

*Psal.* 119. Gwna fe'n ben Cynghorwr itti,
24. Gwna fe'n Athro ith rheoli:
Fe ry 'r gair it gangwell cyngor,
Nag a roddo un rhyw ddoctor.

Nad e i drigo yn yr Eglwys,
Gydâ 'r ffeirad 'r hwn ai traethwys:
*Gen.* 18. Dwg ef adref yn dy galon,
19. Ail fynega rhwng dy ddynion.

Gwna di 'r gair yn ddysclaid benna,
*Jer.* 15. 16, *Ps* 119. 103 Ar dy ford tra fech yn bwytta:
Gwedi bwytta, cyn cyfodi,
*† felus-fwyd.* Bid y gair yn † juncats itti.

Rho ith enaid nôs a boreu,
Frecffast fechan o'r scrythyreu,
Rho iddo ginio brudd a swpper,
Cyn yr elych ith esmwythder.

Fel y porthi 'r corph â bara,
Portha d'enaid bach â 'r manna,
Nad ith enaid hir newynu,
Mwy nâ 'r corph sy'n cael ei fagu.

*Mae 'r bibl bach yn awr yn gysson,*
*Yn iaith dy fam iw gael er coron,*
*Gwerth dy grys cyn bod heb hwnnw,*
*Mae 'n well na thref dy dâd ith gadw.*

Gwell

Gwell nag aur, a gwell nag arian, Psal. 119.
Gwell na'r badell fawr nar crochan; 72.
Gwell dodreunyn yn dy lettu,
Yw 'r bibl bach nâ dim a feddu.

Fe ry gomfforddd, fe ry gyngor, Rhuf. 15.
Fe ry addysc gwell nâ Doctor, 4.
Fe ry lwyddiant a diddanwch,
Fe ry 't lawer o ddedwyddwch.

Fe ry bara i borthi d'enaid,
Fe ry laeth i fagu 'th weiniaid,
Fe ry gwin ith lawenhau,
Fe ry eli ith jachau.

Pwy na phryne 'r bibl fanctaidd,
Sydd mor werthfawr ac mor † gruaidd? † bawddgar.
Pwy na werthei dŷ ai dyddyn,
I bwrcassu 'r fath ddodreunyn?

Dymma 'r perl y fyn y Jesu,
I bob Crifton doeth i brynu,
Fel y * Marchant call a werthe, * marsiandwr.
I brynu † hwn faint oll y fedde. † y grâs y sonier am dano yn y bibl.

Dan i Dduw roi inni 'r *Cymru*,
Ei air fanctaidd i'n gwir ddyfcu,
Moefwch inni fawr a bychain,
Gwympo i ddyfcu hwn ai ddarllain.

Moefwch inni wŷr a gwragedd,
Gyda i gilydd heb ymhwedd,
Brynu bôb vn iddo lyfyr,
I gael darllain geiriau 'r fcrythyr.

Moefwch inni bawb rhag gwradwydd,
Ddyfcu darllain gair yr Arglwydd,
Dan i Dduw ei ddanfon adre,
Attom bawb yn iaith ein mamme.

Nadwn

Nadwn fynd y gwaith yn ofer,
Y fu goftfawr i'wŷr Lloeger,
Rhag na fetrom wneuthur cyfri,
Ddydd y farn am gyfryw wrthni.

Gwyr a gwragedd, Merched, Meibion,
Cymrwn ddyfc oddi wrth y Saefon,
Rhai a fedrant bob vn ddarllain,
Llyfyr Duw 'n ei iaith ei hunain.

Gwradwydd blin i ninnau 'r *Cymru*,
Oni cheifiwn weithian ddyfcu,
Darllain gair Duw a'r fcrythyrau,
Dan eu printio 'n iaith ein mammau.

Ni chift bibl inni weithian,
Ddim tu hwnt i goron arian,
Gwerth hên ddafad y fo marw,
Yn y clawdd ar nofwaith arw.

*O meder vn o'r tylwyth ddarllain,*
*Llyfyr Duw yn ddigon † cywrain:* † *Cyfarwydd.*
*Fe all hwnnw 'n ddigon efmwyth,*
*Ddyfcu 'r cwbwl o'r holl dylwyth.*

Ni bydd Cymro 'n dyfcu darllain,
Pob Cymraeg yn ddigon Cywrain,
Ond vn mifgwaith, beth yw hynny?
O'r bydd 'wyllys gantho i ddyfcy.

*Mae 'n gwilyddys i bob Chriftion,*
*Na chlyw arno ftofi coron,*
*Ac vn mifgwaith oi holl fywyd,*
*Yngbylch dyfcu 'r fengyl hyfryd.*

Mae 'r Cobleriaid ai morwynion,
A rhai gwaetha 'myfc y Saefon,
* Bob yr un a'r bibl ganthynt, *Llawer oedd.
Dydd a nôs yn darllain ynddynt.

Mae

Mae Pennaethiaid gyda ninnau,
Ai tableri ar ei bordau,
Heb vn bibl, nac vn pylgain,
Yn eu tai, na neb i darllain.

Peth cwilyddys gweld cobleriaid,
Yn rhagori ar bennaethiaid,
Am gadwriaeth eu heneidiau,
Ar peth rheita mewn neuaddau.

Y cobleriaid hyn y gyfyd,
Dydd y farn yn anian aethlyd,
I gondemnio 'r fâth bennaethiaid,
Sydd mor ddibris am yr enaid.

Pob merch * tincer gyda 'r Saeson, *Euryeb.
Feidir ddarllain llyfrau Mawrion,
Ni wyr merched llawer scwier,
Gyda ninne ddarllain pader.

*Gwradwydd tost sydd ir Britaniaid,*
*Fôd mewn Crefydd mor ddieithriaid,*
*Ac na wyr y canfed ddarllain,*
*Llyfyr Duw 'n ei jaith ei hunain.*

Bellach moeswch in rhag cwilydd,
Bob rhai ddyscu pwyntiau crefydd,
Ac ymroi i ddyscu darllain,
Llyfyr Duw a'n iaith ein hunain.

Felly gallwn ddyscu nabod, Joan. 17. 3.
Y gwir Dduw ai ofni 'n wastod,
Ac oi nabod ai wir ofni,
Fe ry 'r di-drangc fywyd inni.

Duw ro grâs a grym i *Gymru*
Nabod Duw ai wir wasnaethu:
Christ a nertho pob rhai ddarllain
Llyfyr Duw 'n ei iaith ei hunain.

Hil

*Hil Frutus. Rhybydd ir Cymru i Edifarhau.*

HIl Frutus fâb Sylfus, Brittaniaid brwd hoenus,
Caredig, cariadus, cyd-redwch i'm bron,
I wrando 'n 'wllysgar, â chalon vfuddgar,
Fy llefain am llafar hiraethlon.

Mae rhöd y ffurfafen yn dirwyn y bellen
On heinioes, nes gorphen, heb orphwys nôs na dydd
A ninne heb feddwl, nes dirwyn y cwbwl
Yn cwympo ir trwbwl tragywydd.

Fel llong dan ei hwyle, yn cerdded ei shiwrne,
Tro 'r *morwyr* yn *chware*, neu 'n *chwrnu* ar y nen
Mae 'n heinioes yn passo, bob amser heb stayo,
Beth bynnag a wnelo ei pherchen.

Mae 'r Ange glâs ynte yn dilyn ein sodle,
Ai * ddart ac ai saethe, fel lleidir disôn, *Piccell.
Yn barod i'n corddi, ynghenol ein gwegi;
Pan bom ni heb ofni ddyrnodion.

An bywyd fel † bwmbwl, ar lynwyn go drwbwl, †Clôch ar ddwr.
Syn diffod cyn meddwl ei fod ef yn mynd;
A ninne cyn ddwled, nad ym yn ei weled,
Nes darffo iddo fyned ei helynd.

Mae'r bŷd ynte 'r cleirchyn, yn glaf ar ei derfyn,
Bob ennyd yn rofyn, rhwyfo tu ai fedd,
Ai ben wedi dottio, ai galon yn ffeinto,
Ai fwystil yn wasto yn rhyfedd.

'Rym ninnau blant dynion, heb arswyd nac ofon
Yn * trysto gormoddion, ir gwr marwaidd hen, * hyderu.
Fel morwyr methedig, y drystent mewn perig,
Ir llongau sigedig nes sodden.

O

O nedwch i'n drysto, ir byd sy 'n ein twyllo,
Fel iâ pan y torro, gricc dan ein trâd, Luc. 12.
An gellwng heb wybod, ir farn yn amharod, 19, 20.
Cyn in-ni gydnabod ei swriad.

Ond moeswch yn † garcus, i'n bawb fôd yn daclus, † *gofalus.*
I fyned yn weddus, ni wyddom pa awr,
O flaen y Messias, yngwisc y briodas, *Mat.* 22.
A thrwssiad cysaddas i 'r neithawr. 11.

A nedwch ein dala, pan delo 'r awr waetha *Luc.* 21.
Mewn medd-dod, puteindra, rhag rhwystir i'r daith 34.
Heb oyl yn ein llestri, heb * gownt on talenti, *Mat.* 25.
Ar cwbwl on cyfri yn berffaith. * *Cyfrys.*

Mae 'r fwyall ar wreidde y cringoed es dyddie, *Mat.* 3.
Mae 'r wyntill yn dechre dychryn yr ûs, 10, 12.
Mae 'r Angel âr Cryman, yn bwgwyth y graban,
Iw bwrw i'r boban embeidus.

Mae'r Farn vwch ein pennau, mae 'r dydd wrth y drysau, *Mat.* 24.
Mae'r vdcorn bob borau, yn barod rhoi bloedd, 33: 1 *Cor.*
Mae'r môr ar monwentydd, ac vffern yn vsydd, 15. 52.
Roi'r meirw i fynydd a lyngcodd.

Ar Barnwr sydd barod, ar saint sy'n ei warchod,
Ar dydd sydd ar ddyfod, i ddisa hyn o fŷd,
An galw 'r holl ddynion, o flaen y Duw cyfion, *Mat.* 25.
I gyfrif am y gawsom oi olud.

*Rym ninnau 'n ymbesci, ar bechod a brynti,*
*Heb feddwl am gyfri, na gorfod ei roi,*
*Yn wasto ein talentau, i borthi 'n trachwantau,*
*Doed barn a dialau pan deloi.*

Fel Cewri cyn diluw, fel Sodom cyn distryw,
Fel Pharo ar cyfryw, (eu cyfri nid gwaeth)
Yr ydym ni 'n pechu, a'n grym ac a'n gallu,
Heb fedru disaru ysowaeth.

Ymbescu

Ymbescu ar bechod, fel môch ar y Callod,
Ymlanw ar ddiod, fel vchen ar ddwr,
Ymdroi mewn putteindra, fel perchill mewn llacca,
Yw 'n crefydd, heb goffa cyfyngdwr.

Tyngu a rhegi, a rhwygo cig Jesu,
Ac ymladd am gwnnu y gawnen i gyd,
Cyfreitha 'n rhy ddiraid, nes mynd yn fegeriaid,
A gadel y gweinaid mewn gofid.

Y Mae'r haul, y mae 'r lleuad, yn gweld ein ymddygiad,
Mae'r ddaiar yn baychad, fod ein buchedd mor ddrwg,
Mae 'r sanctaidd Angylion yn athrist eu calon,
O weled cristnogion yn cynddrwg.

*Mae'r ffeirad, mae'r ffermwr, maer hwsman ar crefstwr*
*Mae 'r Bayli ar Barnwr, ar bonedd oi bron,*
*Bob vn am y cynta, yn digio 'r gorucha,*
*Heb wybod p'un waetha eu harferion.*

† *yn derbyn gobrwy.* Mae'r ffeiriaid yn loytran, mae'r barnwyr yn † bribian,
Mae'r bonedd yn tiplan, o Dafarn i Dwlc,
Mae 'r hwsman oedd echdo heb fedry cwmpnio,
Yn yfed Tobacco yn ddidwlc.

Putteindra 'r Sodomiaid, meddwdod y Parthiaid,
Lledrad y Crettiaid, (or credwch y gwir)
Falstedd gwlad Græcia, gwangred Samaria,
Sy 'n awr yn lleteua ymmhob rhandir.

☞ *Mae 'n anfoes i'm draethu, ein campau ni 'r Cymru,*
*Rhag cwilydd mynegu 'n ymddygiad i'r byd:*
*Etto rhaid meddwl, y traetha Duw 'r cwbwl,*
*Pan delo 'r dydd trwbwl i trefnyd.*

Gwell i ni 'rowan gael clywed eu datcan,
Er peri i ni 'n fuan, difaru tra fom,
*Mat.* 25. 41. Na gweled ein tafly, ir tywyll garchardy,
O eisie difaru tra syddom.

Gan

Gan hynny mi synnwn, gael gennych pe gallwn, *Isa. 55.6*
  Ymbilio am bardwn, yr ennyd y boch:
A gwella 'n wllysgar, cyn eloi 'n ddiweddar,
  Rhag bod yn edifar pan deloch.

Mae 'n ofer difaru, a chrio a chrynu, *Mat. 25.*
  Pan delir i'n barnu, bawb ar y barr, 11,12.
Ni chair ond cyfiawnder, er cymmaint. y grier,
  Pyn eloi yn amser diweddar.

Meddyliwn gan hynny, cyn delo Christ Jesu,
  Or nefoedd i'n barnu, bob vn wrth ei ben,
Am fod yn edifar, a deisif ei ffafar,
  Cyn tafler ni ir carchar aniben.

# Yr ail ran.

FE ddaw yn dra digllon, a llu o Angylion,
  I ddial ar ddynion ei ddirmyg mor ddu, *2 Thes. 1.*
Yn daran echrydys, ir bobol anrasſys, 7,8.
  Sy rwan mor frowys yn pechu.

Yno waith cymmaint y fydd ei ddigofaint,
  Ei weision ai geraint y garei mor * gu, * *Anwyl.*
Ai sanctaidd angylion y grynant yn greulon,
  Pan delo mor ddigllon i farnu.

Yr haul y dywylla, y lleuad y wridia,
  Y nefoedd y gryna, bob modfedd yn grych, *Datc. 6.*
Ar * stowta o blant dynion, rhag echryd ac ofon, 12,13.
  Y gria 'n hiraethlon wrth edrych. * *dewra.*

Fe dawdd y ffyrfafen, fe syrthia bob seren,
  Fe losca 'r holl ddairen oddiarni yn boeth, *2 Pet. 3. 10.*
Ar twrau ar Cestyll a gwympant yn gandryll, *Mar. 13. 25*
  A phob rhyw o Bebyll a'n bilboeth.

*Datc.*21. Y creigydd y holldant, y glennydd y doddant,
1. Y moroedd y sychant, ar syrthiad y sêr,
A phob rhyw fwystfilod, ymlysciaid a physcod,
Y drengant ar waelod y dyfnder,

Pan delo Christ Jesu, mewn nerth ac mewn gallu,
Or nefoedd i'n barnu ni, bawb wrth ei ben,
Pa wyneb na lasa, pa galon na wywa,
Wrth weld y gymansa yn yr wybren ?

*Luc.*21.26 Pa wascfa, pa wewyr, pa gynfordd, pa gyffur,
1*Pet.*4.18. Y fydd gan bechadur na chodo ei big?
Pan gwelo 'r fath drallod, ar bob peth yn dyfod,
O barthed ei bechod yn vnig.

*Datc.*6. 15,16. Brenhinoedd cadarnblaid, cewri, captenniaid,
**lladron.* Beilchion a * gwilliaid gwycha 'r awr hon,
A griant ar greigydd, am bwnian eu mhennydd,
Au cuddio rhag cerydd Duw cyfion.

Yn hyn o drafel, fe gân yr Archangel,
Ei vdcorn mor vchel, ond awchys or cri,
1 *Thess.* Nes clywo rhai meirw (yn grai ac yn groyw)
4.16. Y llef yn eu galw i gyfri.
A 'r meirw a godant, ar drawiad yr amrant,
1*Cor.*15 52 Or llwch lle gorweddant pan glywant y cri,
*Joan.* 5. 28, 29. Ar byw a newidir, a phawb y gyrhaeddir,
1*Thes.*4.17 Ir wybren lle bernir eu brynti.

*Mat.*25. Y Barnwr mawr ynte yn gyflym ei gledde,
Ai dafal ai bwyse, y bwysa ddrwg a da,
2*Cor.*5.10. Gan rannu ir eneidie, wrth gywir fessyre
*†Sef ei cyfion wobr.* Y † cyfion i'r gore a 'r gwaetha.

Nid edrych e'n llygad yr Emprwr nar Abad,
*Rhuf.*2.11. Ni phrissia fe drwssiad, na galwad vn gwr,
Ond rhannu cyfiawnder ir Brenin ar beger,
**anfodloni* Heb ofni * displesser na chryfdwr,

E

Fe egir y llyfrau, fe rwyga eu calonnau,
Fe ddengys eu beiau yn amlwg ir bŷd,
Fe deifil anwiredd pawb yn eu dannedd,
Fe ddial ar gamwedd y gwynfyd. *Datc.* 20.12.

Ni ddiangc gair ofer, na'r ffirlling y draeler,
Nar fyned y wafter, heb yftyr a phwys,
Na gwagedd, na gwegi, na biau na brynti,
Nas gorfydd eu cyfri yn gyfrwys. *Mat.* 12. 36. *Preg.* 12. 14.

Putteindra 'r gwyr mawrion, ar gwragedd bonddigion
Sy 'n arfer eu gweifion, heb wybod i 'r gwyr,
Ar mawrddrwg ar * mwrddrad, ar ffalfedd ar lledrad
Y wneir i bob llygad yn eglyr. * *llofruddi-aeth.* 1 *Cor.* 4. 5.

Pa wyneb iradys? pa galon echrydys?
Pa gynffordd gofydys, gwae feddo ar y fath,
Y fydd y pryd hynny, gan bobol fydd heddy,
Mor ffyrnig yn pechu yfowarth?

Ni ddiangc na llymmaid, na thippin na thammaid,
Y roddir ir gweiniaid, er mwyn Jefu gwynn,
Heb ymdal am dano, a chyfri a chofio
Y brywfion y ballo 'r cerlyn. *Mat.* 10. 42.

Yno detholir y defaid ar geifir,
Ac yno y bernir, pawb wrth y * pôl:
Y Defaid ir deyrnas, mewn harddwch ac † v[?]ddas,
Ar geifir ir ffwrnas vffernol. * *Eu pen.* † *Anrhydedd.*

Yno yr â 'r cyfion yn llawen eu calon,
Mewn gynau tra gwynion yn vnion i 'r nef,
I dderbyn gorefcyn or deyrnas ddiderfyn,
Y roddodd Duw iddyn yn artref. *Mat.* 13. 43.

Ar geifir damnedig, ar bobol fileinig,
Sy 'rwan yn dirmyg y Barnwr a['r] dydd,
Y deflir yn glymme, mewn cadarn g[e]fdwyne,
I vffern ir poene tragywydd. *Mat.* 13. 41, 42. *Mat.* 25. 46.

Yn vffern y llefan, gan ffined oi llosciau,
Yn ebrwydd ar Abram, am ddafan o ddwr,
* Tragwy-ddoldeb. Ond llefent hyd*ddiffin, ni chant hwy o'r droppyn,
Na thammaid na thippin o fwccwr.

Cans yno 'n dragywydd, mewn carchar a chystydd,
Mar. 9.44. Heb obaith y derfydd ei dirfawr gûr,
Y herys anwiredd yn rhingcian ei dannedd,
Mat. 13.42. Heb derfyn na diwedd oi dolur.

Psa. 9.17. Ac yno 'r awn ninne, i yslyn ein gwefle,
Luc. 13.5. Am dreulio ein dyddie, mewn pechod mor dal;
Mar 13.33 O ddiffig i 'n * watchio a dyfal weddio,
*Gwil io A gwella cyn delo 'r dydd dial.

Meddyliwn gan hynny, tro 'r amser yn gadu,
Yn brydd edifaru, nid yw foru i neb;
A 'madel a 'n brynti, a 'n gwagedd a 'n gwegi,
Cyn delom i gyfri ac atteb.

Duw Jesu dewiffol, y brynaist dy bobol,
Or ffwrnais vffernol, oedd ffyrnig ei phwys:
† Ir barn. Cadw 'n eneidie, pan delont ir † frawdle;
A dwg hwy i gadeire Paradwys.

Or gofyn *Deheubarth*, na *Gwynedd* o vn parth,
ddamran. Pwy ganodd y *dosparth, ich diffwyll rhag ing?
Eglwyswr sy'n hoffi, i ch dadraidd o'ch didri,
Ach cosio am eich cyfri cyfyng.

***Adroddiad o dost a thruenus gyflwr dyn trwy natariaeth.***

A Dda werthodd pawb o 'r byd,
Ir hên Sarph am Afal dryd,
† Cla-fyngau. Ni ddaw un o * grampau Satan,
Nes del Christ i dynnu allan.

X

Y'mae Satan ynteu 'n cadw,
Pôb pechadur gwrryw a benyw,
Yn ei garchar † tonnog tywyll,
Nes dêl Christ i dorri 'n gandryll.

† llawn tonnau.
Isa. 42.7

Y mae 'r carchar cyn dywylled,
Ac nad ym yn abal gweled,
O 'n tôst gyflwr a 'n gofydi,
Nes dêl Christ a gole inni.

Jo. 8.12.

Rym ni 'n aros heddyw heno,
Mewn tywyllwch dan ei ddwylo,
Ac heb weled ein trueni,
Nes del Christ i ddangos inni.

Act. 26. 18

Rym ni 'n farw yn ein pechod,
Rym heb weld o 'n † cás na 'i ganfod,
Rym ni 'n gorwedd mewn tywyllwch,
Ac heb geisio gwell diddanwch.

Eph. 2. 1.
† Cyflwr.

Rwyt ti 'n ymladd ym-mhlaid Satan,
Rwyt ti 'n elyn it' dy hunan,
Rwyt ti 'n myned byth ar ddidro,
Nes dêl Christ ith droi ath rwystro.

Mat. 18. 11, 12.

Rwyt ti eisoes gwedi 'th golli,
Ath gondemnio † cyn dy eni:
Oni cheisij Grist ith helpu,
Yn golledig ei haroslu.

† Sef yn lwynau Adda.
Jo. 3. 17, 18.

Mae 'r Sarph â'i cholyn gwedi 'th frathu,
Mae d'enaid bach or brâth yn gryddsu:
Cais Grist yn feddyg ith Jachau,
Onis ceisij † marw a wnai,

Jo. 3. 36.
† Sef damnedig fyddu.

Mae d'enaid gwedi 'r diawl ei speilio,
O 'r holl ddonie a roes Duw iddo:
Cais gan Grist ei ail ddillattu,
Onis ceisij 'n † suwr di sythu.

Datc. 3. 18.
† Sicer.

* Piccell. Mae 'r fall âr * follt o bechod tanllyd,
Gwedi 'th glwyso yn wenwynllyd:
Cais gan Ghrist Jachau dy glwyfe,
Onis ceisij, 'r fall ath bie,

Mae d'enaid bâch fel dafad wirion,
Rhwng palfau 'r llew, âr bleiddiaid digllon:
Cais Grist ym-mrhyd i ddwyn o'i grampe,
Onis ceisij, 'r blaidd ath bie.

2 Tim. 2. 26. Mae 'r diawl fel ffowler gwedi dala,
D'enaid bach â rhwyd o'r cryfa:
† Ddeui. Ni † ddoi byth o rwydau Satan,
Nes dêl Christ ith dynnu allan.

Rwyt ti 'n ufydd wâs i bechod,
Jo. 8. 34. Rwyt ti 'n pechu bob diwrnod:
Cais gan Ghrist roi grâs a chryfder,
It i wasnaethu mewn cyfiawnder.

Eph. 2. 3. Rwyt ti 'n blentyn i 'r digofaint,
Wrth naturiaeth, fel dy geraint:
Cais gan Grist dy adgenhedlu,
Rhag dros fyth it aros felly.

* Caethwas. Rwyt ti 'n * flaf i 'r cythrael aflan,
Rwyt ti 'n byw dan feddiant Satan:
Act. 26. 18. Cais ym mrhyd gan Ghrist dy dynnu,
O law 'r fall, rhag aros felly.

Luc. 11. 21, 22. Mae 'r gwr cadarn yn heddychlon,
Yn cadw ei gastell yn dy galon:
Nes cael Christ i ddwyn ei arfau,
Nid â 'r cadarn byth o'th ascrau.

Rwyt ti 'n gangen wyllt auffrwythlon,
Heb ddwyn ffrwyth ond grawn-win surion:
Oni wella Christ dy nattur,
I dân vffern boeth i'th daflyr.

Fe

Fe wnaeth y diawl di 'n elyn Duw, Col.1.21
O blentyn grasol gore ei ryw:
Cais gan Ghrist dy * reconsilo, *Heddychu.
Rhag aros byth yn elyn iddo.

*Rwyt ti 'n vn or * cwain bychain,* *Cywion.
*Y sy 'n pori rhwng y cigfrain:*
*Os Christ Jesu ni'th adaina,* Mat.23.37.
*Cigfrain uffern a 'th sclyfaetha.*

Rwyt ti 'n gorwedd mewn tywyllwch,
Hêb wir nabod llwybrau heddwch:
Oni oleua Christ ein llwybrau,
Awn i uffern ar ein pennau.

Rwyt ti 'n haeddu pob gofydi,
Gwedi 'th ddamnio cyn dy eni:
Oni chei gan Ghrist i'th helpu,
Yn ddamnedig ei *harossu.*

Rwyt ti 'n elyn ir Goruwcha,
Rwyt ti 'n slaf ir cythrael penna,
Rwyt ti 'n dewyn uffern isod,
Nes dêl Christ i olchi'th bechod.

Rwyt ti 'n euog o bob *tramcwydd,*
O bob nychdod, o bob aflwydd, Deut.28.
O bob gofyd, o bob trallod, 15,16,17
Nes cael Christ i olchi 'th bechod.

Drwg tu fewn, a drwg * tu fâs, *Tu Allan.
Llawn o bechod, tlawd o râs, Rhuf 3 10.
Aflan, oflyd, dwl, diwybod, Hyd y 19.
Nes cael Christ i olchi 'th bechod. Rhuf 7.18

Dymma gyflwr pob rhyw Christion,
Medd y scrythur yn * blaen ddigon,
Hyd nes delo Christ ein prynwr, *Eglur:
I 'n hail-eni, i wella ein cyflwr.

Onï chawn i Ghrist i 'n helpu,
Rhuf. 5. A 'n hail-weithio, a 'n gwaredu,
6. Ni all dyn o'i rym ei hunan,
2 Cor. 3. 5 Wella ei gyflwr mwy nâ Satan.

Act. 4. 12 Ni all Peder, ni all Pawl,
Ni all Angel, ni all diawl.
Ni all nêb ond Christ yn unig,
Gadw enaid dyn colledig.

Chwilia 'r nê[f], a 'r ddaer, a 'r awyr,
Chwilia 'r môr, a phob creadur,
Di gei weled, na all un,
Ond Christ gadw enaid dŷn.

Oni cheisij Ghrist ein Prynwr,
Gan ei dad i wella 'th gyflwr,
I bwll uffern ir ai i drigo,
Eisiau ceisio cymmorth gantho.

Ni bydd vn dyn yn gadwedig,
O 'r holl fŷd er maint o'i rysig,
Ond y dyn y gaffo ei gadw,
Er mwyn Christ ein ceidwad croyw.

Mat. 7. *Ac ni cheidw Christ un Christion,*
21. *O'r holl fyd er maint a grion,*
Jo. 6, 29. *Ond y dyn a gretto yn brudd,*
Gal. 5. 6. *Yn Ghrist trwy wîr a bywiol ffydd.*

Y nêb a gretto yn-Grist yn gywir,
Jo. 3. 36. Fe gaiff hwnnw ei gadw yn sicir:
†Yn dynn Y nêb ni chredo ynddo 'n † sŷth,
Ni chaiff hwnnw ei gadw bŷth.

## *Genedigaeth, Bywyd a Marwolaeth Christ Jesu ein Jachawdwr.*

POb rhyw Gristion ag sy 'n caru
Nabod Christ y su 'n ein prynu,
Clywch fi 'n adrodd genedigaeth
Prynwr Crêd, a'i * brudd farwolaeth. * *Drist.*

Y *Gair Mâb Duw* oedd o'r dechreuad, *Jo.*1.1,3.
Cyn bôd nef na daer na 'dailad,
Yn ail berson o'r glân *Drindod*; *Dihar.* 8. 22. &c.
Rhwn y wnaeth y byd mor barod. 1 *Jo.* 5.7.

Yr oedd e'n *Arglwydd* cuwch a'i *Dâd*, *Phil.* 2.6
Yn y nefoedd yn llawn o râd,
Yn rheoli 'r holl Angelion,
Cyn i ddwad at blant dynion.

Roedd e'n *Dduw* galluog grymmus, *Rhuf.* 9. 5.
Roedd e'n *Arglwydd* anrhydeddus,
Roedd e'n *Frenin* mawr ei rád,
Roedd e 'mhôb pwynt cuwch a'i *Dâl*.

Pan daeth o 'r nef i brynu dyn, *Phil.* 2.6, 7.
Fe gymmerth arno 'n lliw a 'n llûn; *Joh.* 3.13.
A 'n gwir gnawd o *Fair* ei fam, *Heb.* 2.14.
Rhon oedd * *wyryf* bûr, ddinam. * Merch.

Hi feichiogodd arno yn rhyfedd, *Mat.* 1. 18.
O rad yr ysbryd glân a'i rinwedd,
Heb fôd iddi wnel na nabod
Gwr erioed, er bod yn briod.

Ac felly 'r aeth Mab *Duw* yn ddyn, *Joh.* 1.14.
O naturiaeth *Mair* ei hûn,
(Heb ei halogi â dim pechod,) *Luc.* 1. 35.
Yn y grôth trwy râd y *Drindod*.

* *Ydynt.* Dwy naturiaeth amlwg * yn,
*Rhuf.* 1. Sydd i'n prynwr Duw a dyn:
3, 4. Vn o'i *Dâd*, a'r llall o'i *fam*,
Dwy *wahanol*, dwy ddinam.

*Mâb i Ddûw, a mâb i ddyn;*
*Heb vn person iddo ond vn:*
*Mâb i ddyn, o fam heb dâd,*
**Cafwyd.* *Mâb Duw mawr heb fam y câd* *.

O ran ei ddyndod mae 'n sy mryd,
I ddangos iwch ar hyn o bryd,
Y Dull a'r môdd y ganed Jesu,
Pan y daeth o 'r nêf i 'n prynu.

†*Carueidd* Pan daeth *Mair* i Fethlem † hygar,
*Luc.* 2. I dalu trêth i 'r * Emprwr Cesar,
**Brenin.* Daeth ei hamser hi Escori,
Fel y traetha 'r sengyl inni.

Ond waith cymmaint oedd y Cwmpni,
Oedd yn gorwedd ym-mhôb Ostry,
*Luc.* 2. 7. F'orfu ar *Fair* yn fawr ei gofal,
Fynd i escori hwnt i'r stabal.

Yno ym-mhlith y mûd 'nifeilod,
**Gwch-dra.* Heb ddim * stade, Duw 'n i wybod,
Fe escorodd *Mair* wen ddiddig,
Ar ein prynwr ddydd Nadolig.

Gwedi geni 'n prynwr hyfryd,
Heb sôd arni boen na gofyd:
Yn dra llawen hi a rwyme
*Brenin* nefoedd mewn cadache.

Gwedi rwymo, hi rhoi orwedd,
Yn y preseb yn ddirysedd,
Ac y fydde bodlon ddigon,
I bôb peth oedd Duw 'n i ddanfon.

Yno

Yno cyn i 'r wawr gael torri,
Fe ddanfonei Dduw gwmpeini, *Luc.* 2.
O fugeiliaid, mewn gwiriondeb,
I addoli e yn y preseb;

Rhai ddanfonwyd gan Angelion,
Yn dra llawen iawn eu calon,
I dre *Fethlem* o wir bwrpas,
I gael gweled y Messias *; *Yr eneiniog Christ

Ac i † faneg i bawb hefyd, † Gyhoeddu.
Fel y dwetse 'r Angel hyfryd,
Mae fe oedd *Christ* y gwir geidwad,
Rhwn addawsid o 'r dechreuad:

Ac y byddei fawr lawenydd,
I 'r höll fŷd o 'r chweddel newydd,
O ran geni 'r boreu hwnnw,
Y Jachawdwr y ddoy 'n cadw.

Yno y dawe lû o Angelion,
Ag y ganen † hymnau mwynion, † Caniadau.
I 'r Tâd nefol o 'r vchelder,
Am roi i ddynion y fâth fwynder.

Ar hyn fe'm-ddangosse Seren,
Rymmus, rasol, yn yr wybren;
Rhon y ddywedei â 'i goleuni,
Fôd y Prynwr gwedi eni.

Yno y dawe hên wyr doethion,
O 'r Dwyrain-dir yn dra vnion, *Mat.* 2.
I *Judea* with y seren,
I ymofyn *Christ* yn llawen,

Rhai y geisient gael copinod,
Gan y Brenin creulon Herod,
Ble genassid Christ y cyfion,
Brenin grasol yr Iddewon.

Yno y dywede 'r ffeiriaid mwya,
Mae ym-Methlem trêf o Juda,
Y suwr enid y *Messias*,
Mich. 5. 2. Medde 'r Prophwyd hên Micheas.

Pan y clowe 'r doethion hyn,
Daethont yn faith ac yn dynn,
I dre *Fethlem* wrth y Seren,
Dan ymofyn Christ yn llawen.

Mat. 2. 9 Ond pan daethont hwy yn agos,
I 'r tŷ, lle 'roedd Christ yn aros,
Fe ddisgynne 'r Seren dlws * ;
Ac arhosse vwch ben y drws.

* Teg.

Yno yr aent i mewn yn llawen,
Lle roedd *Mair*, a *Christ* yn fachgen,
Ac y gwympent ar eu daulin,
I addoli 'r *grasol* frenin.

Rhoddent hefyd * rial roddion,
Y berthyne i Grist yn † gyston,
Aur, a ffrancwmsens o 'r gore,
A Myrh gwerthfawr, teg ei 'rogle.

* Rhagorol
† Cyttûn.

Mat. 2. Herod ynte pan y clywas,
Eni Christ y gwir Fessias,
Efe fynnei lâdd e'n blentyn
Bâch, yn sugno yn ei rwymyn.

Os fe helodd lû o fwytswyr
Gwaedlyd, creulon, dig difesur,
I lâdd yr hôll blant bâch o doytu,
Cyn y methe ladd y Jesu.

Hwyntau laddsont yr hôll fechgin,
Oedd ym *Methlem* etto 'n egin,
Fach a mawr dan ddwy-flwydd oedran,
A mab Herod gâs ei hunan.

Yno

Yno y gorfu ar *Fair* ſyned,
Genol nôs i ddechre cerdded,
Tua 'r Aiphc â'i phlentyn ganthi,
Lle archaſſe 'r Angel iddi.

Yno y bu *Chriſt* yn aros,
Gydâ 'r Sibſwns lawer wythnos,
Nes cael clywed marw Herod,
Oedd yn ceiſio 'i ladd heb wybod.

Yn ôl marw Herod greulon,
Fe ddoe Criſt i wlad Iddewon,
Ac y ſyddei oſtyngedig
I *Fair* ac i *Joſeph* ddiddig. Luc. 2. 51.

Pan yr oedd e'n ddeuddeg oed, Luc. 2. 46.
Peth rhyfedda y fu erioed,
Efe * bwngcie â Doctoriaid, **Ymreſſymmau.*
Nes bae 'r doethion arno 'n ſynniaid †. †*Rhyfeddu.*

Yno yn ddeg ar hugein oedran,
Pan bedyddiwyd ef gan *Joan*,
Fe ddeſcynei arno yr ysbryd, Luc. 3.
Ar lûn clommen * hygar hyfryd. **Carueidd*

Ac fe lefe *Dduw* ei hunan,
Fry o'r nef lle clywe 'r * cwmpan, **Cwmpni.*
Hwn yw f' vnig fab aberthwyd,
Yndo ef ym llwyr foddlonwyd.

Gwedi 'r ysbryd ddeſcyn arno,
Fe ddoe 'r Cythrael ynte i demptio,
Ond er maint oedd cyrch y cythrael, Mat. 4.
Rhows Chriſt iddo † ffwyl ddiogel. †*Cwymp.*

Yn ol hyn fe ai i bregethu,
Yr efengyl wen o doytu,
Ac i ddechre gwreuthur gwrthiau
Ym-mhob tir y ffordd y cerddau.

Fe

Joan 2. Fe drows y dwr yn gynta 'n win,
Fe lwyr Jachaws pob olefyd blin,
Mat. 11. 5. Ac fe wnaeth i'r deillion weled,
Ac i'r byddar clust-drwn glywed.

Act. 3. 2, 8 Fe wnaeth ir cripliaid yn ddifraw,
Luc. 13. 13 Neido a thrippio yma a thraw,
Ac fe wnaeth ir gwreigyn grwcca,
Godi chefen o 'r vniawna.

Ynte rodiodd ar 'y môr,
† Gormodedd. Gan ostegu ei † rwyf a'i * rôr,
* Swn. Ac fe wnaeth i'r storom wynt,
Mar. 6. Beidio a chwythu yn ei hynt.

I ddangos ini ei fôd e 'n Dduw,
Fe gododd tri ô farw i fyw,
Merch i *Jairus*, mâb i 'r *weddw*,
Luc. 7 & 8 *Lazar* gwedi drewi a marw.
Jo. 11.
Porthodd pum mil â phum torth,
Mat. 14. Mawr o'i bwer, da o'i borth,
Llanwodd ddwy long o 'r pysc mwya,
Luc. 5. Pan y methe ar bawb eu dala.

Mat. 4. Bwriodd lawer cythrael allan,
24. O 'r rhai clifion, lloerig, egwan,
Luc. 22. A chlûst *Malchus* gwedi dorri,
* Yn ebrwydd. Y Jachaws ef * toc heb eli.

Llawer gwrthie gyda hyn,
Y wnaeth ein Prynwr *Jesu* gwyn,
Cyn i *Suddas* frwnt ei werthu,
I 'r Jddewon, a'i fradychu.

Ni chaed twyll erioed o'i enau,
1 Pet. 2. 22 Nid oedd vn dyn a'i hargoeddau,
Jo. 8. 46. Roedd e'n ddiddrwg fel yr oen,
Yn fach ei barch, yn fawr ei boen.

Pan

Pan daeth yr awr oedd Duw 'n ei osod,
I aberthu e dros ein pechod,
Fe ddoe *Suddas* ac a'i gwerthe,
I 'r Iddewon am geinioge.

Ni chas ddim ond hanner Coron, Mat. 26. 15.
Am ei roi e'n llaw 'r Jddewon,
I fynd ag e'n rhwym at *Gaiphas*,
Gwedi holi yn dôst gan *Annas*.

Yn y man y daeth at *Gaiphas*,
Fe ddoe tystio i ffalst o'i gwmpas,
Ac y fynnent brwsio arno,
Lawer peth nas gwydde oddiwrtho.

*Caiphas* yntef a'i * hexamnau, *Holau.
Yn galed iawn ar fil o bethau,
Ac a'i tyngau trwy 'r Duw byw, Mat. 26. 63.
I adde o 'r doedd yn fab i Duw.

Ac am i 'r *Jesu* adde 'n * glur, *Eglur.
Mae fe oedd Christ, mâb Duw yn wir,
Braidd na fynnei pawb ei lethu,
A'i labyddio cyn ei farnu.

Yno y poerwyd yn ei wyneb,
Bwbach-dallwyd mewn ffolineb, Mat. 14. 65.
Ffystwyd ei ben â gwielyn,
A chernodiwyd e'n yffcymmyn. * *Greulon

Ar y boreu yr holl Jddewon, Mar. 15.
A 'r Offeiriaid, a 'r gwyr mawrion,
Y ddoent â Christ gwedi glwmmu,
At *Bilatus* idd i farnu.

*Pilat* gwedi holi e'n galed,
Heb gael yndo fai na niwed, Mat. 27.
Dan lanhau a golchi ddwylo,
Y rows barn marwolaeth arno.

Cynta,

Cynta peth y farnei *Pilat*,
Oedd I chwippio heb ei ddillad,
Yn ôl hynny i groes-hoelio,
Ar y crog-pren nes * departo.

* *Nes marw.*

Felly chwippiwyd Christ yn dôst,
O hewl i hewl, o bôst i bôst:
Ac ni adewid modfedd arno,
Oi ben i draed heb ei † scwrgio,

† *Fflangellu.*

Gwedyn dewe filwyr *Pilad*,
Ac hwy † stripient Christ o'i ddillad,
Ac a'i gwiscent e'n cyn frafed,
Mewn hên fantell gôch o scarled.

† *Dihatru. diosc.*

Yn ol hyn fe blethe rhain,
Ansad Goron fawr o ddrain,
Ac a'i gwiscent ar arleisie
Christ, nes rhedei waed yn bibe.

Rhoddent hefyd yn ei Law
Gorsen, dan ymgrymmu draw,
A'i watwaru â geiriau mwynion,
Dydd-dawch Brenin yr Iddewon.

Gwedi diosc Christ drachefen,
*Jo.* 19.17 Rhoesont y groes ar ei gefen,
Iddo i llysco i 'r Benglogsa,
Lle croesshoeliwyd ar ei hycha.

Pan yr aethont iw groes-hoelio,
Tyllwyd eu draed a'i ddwy ddwylo,
Ac hwy hoeliwyd yn filinig,
A thair hoel o haiarn ffyrnig.

Er maint oedd ei boen a'i loesau,
Etto er hyn ni 'gore o'i enau,
*Act.* 8.32. Ac ni yngane wrth y poenwyr,
Mwy nâ 'r Ddafad dan law 'r Cneifwyr.

Ond

Ond fe offrwmme ar y groes,
Pan oedd chwerwa a blina 'r loes, *Eph.* 5. 2.
Ei enaid gwynn, a'i waed i gyd,
Yn aberth dros bechodau 'r byd:

Ac orchmynne ei enaid gwirion, *Luc.* 23.
Yn llaw ei Dad y Barnwr cyfion, 34, 46.
Dan ymhwedd arno am fadde,
Ir Iddewon a'i crocs-hoelie.

Felly y bu farw 'r Jesu,
Ar y pren croes wrth ein prynu,
Ac y rhows ef waed ei galon,
Dros eneidiau 'r gwir gristnogion.

Felly y rhows Duw ei Anwylyd,
I groes-hoelio trwy fawr benyd,
Er mwyn prynu ein eneidiau,
† A'u gwaredu o'u * holl boenau.

† *Fe waredir y sawl y gredo yntho, ac a ddychwelant atto â'u holl galonnau, oddi wrth eu pechodau, i wasanaethu ef mewn cyfiawnder a Sancteiddrwydd, o hynny allan holl ddyddiau eu bywyd.* Luc. 1. 74, 75. Jo. 3. 36. Act. 11. 23. Esay 55. 7.

* *Boenau ag oedd ddyledys inni.*

Rhoddwn ninne foliant iddo,
Ddydd a nôs heb ddim deffygio,
Am ei gariad ai drugaredd,
Yn prynu enaid dyn mor rhyfedd.

Diolch mawr a moliant hyfryd,
Y fo ir Tâd a 'r Mab a 'r ysbryd,
Am brynu enaid dyn mor britted,
Ai ddwyn ir nef o dôst gaethiwed.

Adroddiad

## *Adroddiad o gariad Christ at y byd.*

CLywch adrodd mawr gariad mabDuw at y bŷd,
Pan daeth ef or nefoedd, i'n prynu mor ddryd,
Er peri i chwi gofio, am gariad mab Duw,
Ai foli 'n wastadol tra syddoch chwi byw.

*Rhuf.* 5. 12. *1 Pet.* 1. 18, 19.
Pan twyllwys y Cythrael, â'r afal y wraig,
I dorri 'r Gorchymyn, trwy demptiad y ddraig,
Fe 'n gwerthwyd am afal ir diawl cymain un,
Heb neb allei 'n prynu, ond mab Duw ei hun.

Mâb Duw pan y gwelas ein cyflwr mor dôst,
Fe ddaeth yn ei un-swydd, or nefoedd yn † bôst,
O blith yr Angelion, i grôth y wenn Fair,
I gymryd ein nattur, i'n gwared ni or pair.

† *Cennad ebrwyldd*

*Mair* a feichiogodd, ar unig mab Duw,
O râd y glan ysbryd, (ond tra rhyfedd yw)
Pan 'r oedd hi'n bur forwyn, tra ieuangc mewn oed,
Heb fôd iddi hanffod, ag un gwr erioed.

Pan daeth amser escor, fe aned mâb Mair,
Mewn stabal ym *Methlem*, ar fotelo wair,
Lle trowd ef mewn cadach, ai osod i lawr,
I orwedd mewn preseb; ond happys o'r awr?

Pan ganed ein Prynwr, fe helwyd or nêf,
Angelion rhialwych, tra llawen ei llêf,
I † faneg dan ganu, yr amser ar prŷd,
Y ganed Christ Jesu, Jachawdwr y bŷd.

† *Fynegi.*

A 'r Doethion or Dwyrain, pan gotson eu pen,
A gweled ei Seren, mor wych, ac mor wen,
Hwy ddaethont o'r Dwyrain, i *Fethlem* yn bost,
I 'ddoli 'r dŷn bychan, mewn llawer o gôst.

*Herod*

*Herod* pan y clowas ef eni mab Duw,
Fe helodd ei † fwytfwyr, * i fwrddro fe 'n fyw, †*Lleiddiaid i* * *Lâdd.*
Ac rhag iddo ddiangc, fe laddodd pob un,
O fechgin bach *Bethlem*, a'i blentyn ei hun.

*Mair* hithe gododd, ar hyd nos heb ddim trwst,
Ac aeth at y * Sybfwns, a'i phlentyn ar ffrwst, **Aiphtiaid*
Lle bu hi 'n hîr aros, ni wn i pa cŷd,
Nes darfod am *Herod* ai fwytfwyr i gŷd.

Pan darfu am *Herod*, daeth *Christ* yn ei ôl,
Or *Aipht* i *Judea*, at genel rhy ffôl,
Lle bu ê 'n pregethu 'r Efengyl yn hir,
I bobol Pengaled na chredei mor gwir.

Gwrthie tra gwerthfawr y wnaeth ef lawer pryd,
I ddangos mai 'r Jesu oedd *ceidwad* y bŷd:
Ni chredei 'r Iddewon nai wrthiau nai wîr,
Ond ceifio 'i fradychu ar fôr ac ar dîr.

Suddas fradychys, â chufan tra châs,
Ai gwerthod ê 'n nwylo 'r Iddewon di râs:
Trachwant ar Arian ai gyrrod ê 'n * bôst, **ebrwydd.*
I ymgrogi mewn cebist: ei fforten oedd dôst.

Y nos y bradychwyd fe chwyffodd y gwaed, *Luc.22.44*
Yn daran dofturys, o'i ben hyd ei draed,
Wrth feddwl cyn chwerwed, a blined o'r loes, *Mat.26.*
Orfyddei arno oddef, am bechod pôb oes. *38,39.*

Dalie 'r Iddewon ê, â ffaglau ac a ffynn,
Pan oedd ê 'n gweddio 'n ol Swpper yn † Syn, †*Frawychys.*
Hwy' rhwyment â chordau, hwy llyfcent trwy fraw
At *Annas* a *Chaiphas*, iw holi dan llaw.

*Pilat* yn fynych ai holodd ê yn * chwai, **Yfgafn ac ebrwydd.*
Heb allel cael ynddo, na phechod na bai:
Ond dan olchi ddwylo, fe wnaeth ag ef gam,
Fe barnwys i farw, heb wybod pa ham.

† *Fflangellu.* Fe farnwys i † chwippio o'i ben hyd ei draed,
Nes bôd ei *Gorph* pur-wyn, yn lliwio gan waed,
*Ffysto.* A chwedyn i hoelio, ar grogpren trwy *gûr,
Trwy ddwylaw, a'i ddwy troed, â hoelion o ddur.

Coronwyd Christ hefyd â choron o ddrain,
Fe wiscwyd mewn mantell, o Scarled coch mâin,
F' addolwyd mewn gwatwar, dan blygu pob glin,
Fe gurwyd â chorsen, dan ystyn y min.

Fe rowd ar ei ysgwydd y groes idd i ddwyn,
Nes mynd ir benglogfa heb temmawr o gwyn:
Ar honno 'n fyleinig, fe hoeliwyd yn fyw,
Ac felly ar grogpren fe grogwyd mab Duw.

Er maint oedd ei flinder, a'i gystydd, a'i gûr,
Pan hoeliwyd ef felly, â 'r hoelion o ddûr,
Ni 'gorodd oi enau, ni ofynodd, pa ham,
Mwy nâ'r oen dan law 'r cneifiwr, er maint oedd ei gam,

Ond llefain yn irad, o 'r groes ar ei Dâd,
Am faddei 'r Iddewon, a sugnent ei waed:
O achos na wyddent, ar hynny o bryd,
Eu bod hwy 'n croeshoelio Jachawdwr y bŷd.

Ac felly bu farw mab Duw ar y groes,
Wrth ddwyn ynddo ei hunan y blinder a 'r loes,
A 'r poeneu a 'r penyd, a 'r dial i gŷd,
*Sef y sawl sy'n credu, neu ddeuant i gredu ynddo, Ruf. 5 1.* Oedd Duw yn ei ofyn, am bechod y bŷd.

Trwy Angeu tra phoen-fawr, a phridwerth ei waed,
Fe wnaeth heddwch hyfryd, rhwng dynion ai dâd;
Fe 'n dygodd * ni 'r eilwaith mewn ffafar â Duw,
Moliannwn ni 'r Jesu tra fyddom ni byw.

† *Ni ddichon yr anghredadyn anufydd ddywedyd fel hyn.* Fe ddygodd ar grogpren ein pechod bob un,
Fe 'n †golchodd on beiau, trwy wîr waed ei hun,
Fe 'n gwnaeth ni 'n frenhinoedd, a ffeiriaid i Dduw
Moliannwn ni 'r Jesu tra fyddom ni byw.

Cyflawnodd

Cyflawnodd y Gyfraith, bodlonodd ei Dâd,
Fe brynodd ein Pardwn, fei seliodd â 'i waed,
Fe'n tynnodd o'r carchar, fe rwygodd ein sach,
Moliannwn ni 'n Jesu yn fawr ac yn fâch. Dat. 1. 6.

Ai Angeu, fel *Samson*, fe droedwys i lawr, Heb. 2. 14.
Gyhuddwr ein brodyr, y * wiber goch fawr, * *Y diafol.*
Fe rwygwys ei deyrnas; fe sigoedd ei shol, Datc. 12.
Moliannwn ni 'r Jesu, y 'neillwys y gol. 9, &c.

Fe ddofwys llidiawgrwydd, a digter ei Dâd,
Fe'n gwnaeth ni 'n blant iddo, trwy fabwys a rhâd, Rhuf. 8. 17.
Fe rows i ni gyfran o deyrnas ein Duw, 1 Pet. 1.
Moliannwn ni 'r Jesu tra fyddom ni byw. 3, 4.

Coronau goreuraidd ar bennau pob un, 2 Tim 4. 8
A gynau gŵych gwnion, tra llyniaidd eu llun, Dat. 7. 9.
Y Brynwys ef inni, a Theyrnas gwlad nef,
Moliannwn ni 'r Jesu, yn llawen ein llef.

Gogoniant a gallu, a diolch bôb prŷd,
Y fytho'r lân Drindod, am ein prynu mor ddrŷd,
A mawr glod a moliant i 'n prynwr a 'n pen,
A dyweded pob Christion yn wastod, *Amen.*

---

## *Awn i Fethlem.*

AWn i *Fethlem* bawb dan ganu,
Neidio, dawnsio, a difyrru,
I gael gweld ein *Prynwr* credig,
Aned heddyw ddydd nadolig.

Mae e 'n *Methlem* gwedi eni,
Yn y stabal tu hwnt i 'r * Ostri, * *Ty lletty.*
Awn bob Cristion i † gyflwyno, † *I offrwm iddo.*
Ac i roddi golwg arno.

Dymma 'r *Ceidwad* y ddanfonwys,
Tâd tosturi o Baradwys,
*Damne-digaeth. I 'ngwaredu rhag * marwolaeth,
Ac i wethio 'n iechydwriaeth.

Awn i *Fethlem* bawb i weled
Y dull, a 'r môdd, a 'r Mann y ganed,
Fel y gallom ei addoli,
A'i gydnabod gwedi eni.

Ni gawn *Seren* i 'n goleuo,
Ac yn serchog i'n cyfrwyddo,
Nes y dycco hon ni 'n gymmwys,
I 'r lle sanctaidd lle mae 'n gorphwys.

Mae 'r *Bugeiliaid* gwedi blaenu,
*Llawe-nychu. Tua *Bethlem* dan * lonnychu,
I gael gweld y grasol *Frenin*,
Ceisiwn ninne bawb eu dilyn.

Y mae 'r plentyn yn y *stabal*,
Gwedi drin gan *Fair* yn rhial,
A'i roi orwedd yn y preseb,
Rhwng yr ŷch a'i dadmaeth *Joseb*.

*Bresentio i roddi F' aeth y *Doethion* i * gyflwyno,
†Rhoddi-on. Ac 'i roi † anrhegion iddo,
Aur a thus a myrh o 'r gore,
*offrwm, A'i * bresento ar eu glinie.

Rhedwn ninne iw gorddiwes,
*Rhan. I gael clywed * part o 'r gyffes:
Dyscwn ganthyn i gyflwyno,
A rhoi clôd a moliant iddo,

*Yn lle Aur rhown lwyr gred ynddo,*
*Yn lle Thus rhown foliant iddo,*
*Yn lle Myrh rhown wîr ddifeirwch,*
*Ac fei cymmer trwy hyfrydwch.*

Mae

Mae 'r *Angelion* yn llawenu,
Mae 'r ffurfafen yn tywynnu,
*Mae llu 'r nef yn canu hymnc,*
*Caned dynion ryw beth hwynte.*

Awn i *Fethlem* i gael gweled
Y rhyfeddod mwya wnaethbed,
Gwneuthur *Duw* yn ddyn naturiol, Joan.1.14 Heb.2.14, 15,16.
I gael marw dros ei bobol.

Awn i weld yr hên * *Ddihenydd*, *Er ei fôd yn hên, etto mae e yn hardd, yn ddi-hen, heb ei dorri gan oedran
Y wnaeth Nêf a môr a mynydd,
† *Alpha* * oediog, *Tâd* goleuni, † *Y Cyntaf* * *Oedrannus.*
Yn ddyn bychan newydd eni.

Awn i weled *Duw* y *Gair*,
*Brenin* nêf ar arffed *Mair*,
Gwedi cymryd cnawd dyn arno,
Yn fab bach yn dechre fugno.

Awn i weled y *Mab rhâd*,
Hŷn † nâ'i fam, cyfôed â'i *Dâd*, † *Fel yr oedd ef yn Dduw.*
*Mâb* a *Thâd* y Fam a'i Ferch,
Yn lleia ei fôn, yn fwya ei ferch.

Awn i *Fethlem* i gael gweled
*Mair* a Mâb Duw ar ei harffed, Heb.1.1, 2,3.
*Mair* yn dala rhwng ei dwylo
'R Mab fy 'n cadw 'r *Byd* rhag *Cwympo.*

Awn i weld * *Concwerwr Ange*, * *Gorchfygwr.*
Gwedi rwymo mewn cadache;
A 'r *Mâb* y rwyga *deyrnas Satan*,
Yn y † craits heb ally crippian. † *Preseb.*

Awn i weled y * *Messias.* * *Trenneiniog.*
Prynwr Crêd, ein † *hedd a 'n hurddas*; † *Ein heddwch a 'n gogoniant.*
*Vnig Geidwad* ein eneidie,
Ar fraich *Mair* yn fugno bronne.

Awn i weled *bâd* y wraig,
Y bwyntiodd Duw i bwnio 'r Ddraig,
Ac i shigo ei shol wenwynig,
Am beri bwytta 'r ffrwyth gwarddeddig.

Awn i weled y *Mâb* y gâd,
Yn rhyfedd iawn o 'i fam heb dâd;
† *Merch.* A 'i fam yn †*wyryf* ieuangc oed,
Mam heb nabod gŵr erioed.

* *I Grist fel yr oedd e 'n ddyn.* Awn i weld y *ferch* yn **fam*,
† *I Grist fel yr oedd e 'n Dduw* Joan 1 3. A 'r *fam* yn †*ferch* ddinwyf, ddinam:
Y ferch yn magu *Thâd* o'i rwymyn,
A 'r *Tâd* yn sugno bronne 'r Plentyn.

**Ei stafelloedd mor ragorol.* Awn i weld y *Pen-sâer* gore,
Y wnaeth yr haul a'r holl blanede,
Y nefoedd fawr a 'i * Rhwm mor rhial,
Yma yn gorwedd yn y *Stabal.*

Awn i weled *Duw 'r gogoniant*,
† *Asspan.* 'Rhwn sy'n messur nêf â 'i † rychwant,
Yn y preseb heb un gader,
Yr oen mwyn yn salw ei biner.

**Fe'n dwg ni i'r nefoedd os credwn ni ynddo, a bôd yn edifeiriol ac ufydd o'i flaen ef: oni fyddwn ni 'r cyfryw fe 'n cedwir ni allan oddiyno.* Mat. 7. 21, 23.

Awn i weld yr *Oen* bendigaid,
Ni bu sâth o flaen Bugeiliaid,
Oen i Dduw y ddaeth mewn pryd,
I dynnu ffwrdd bechode 'r byd.

Awn i weld ein *Prynwr* hoyw,
Sydd i farnu byw a meirw:
Rhwn a 'n * dûg i 'r nefoedd dirion,
Ar adenydd yr *Angelion.*

Dymma, gwelwch e 'n ddistwr,
Y gore i gid yn wanna gwr;
Duw yn ddyn, a dyn yn Dduw,
Y gwelo 'n llyn tra dedwydd yw.

## Chrift fydd ôll yn ôll.

CHrift ei hun fydd ôll yn ôll, Col. 3. 11.
Yn cadw dyn rhag mynd ar gôll,
Nid neb, nid dim, ond Chrift ei hun,
Y ddichon cadw enaid dyn.

Y farph â 'r afal gynt a 'n twyllodd,
Y farph â phechod a 'n gwenwynodd,
Y farph a 'n tynnodd o baradwys,
Y farph i * vffern boeth an gyrrwys. *i cyflwr o golledigaeth.

Mae mor fuwr i bob dyn fyned, Rhuf. 6. 23.
I bwll vffern i gathiwed,
A phyt faem ni eifoes yndo,
Oni cheidw Chrift ni ragddo.

Chrift y ddaeth o'r nef i 'n prynu, Joan. 6 38
Chrift a'n cadwodd gwedi 'n damnu, Rhuf 8. 1
Chrift o 'n cyftudd a 'n gwaredodd, Mat. 25 34
Chrift a'n dwg i deyrnas nefodd.

O *gramp y llew, o ene 'r wiber, *grafangc.
O Rwyd y fall, o balfe 'r Teiger,
O 'r pwll, o 'r pair, o 'r deyrnas aflan, Esa. 49. 9
Y tynnodd Chrift ei ddefaid allan.

Ni all Satan ladd a mwrddro,
Fwy nag all mab Duw ddadfywio;
Y laddo 'r ddraig âi cholyn gau,
Gwaed yr oen all ei Jachau. Datc. 12. 11.

Jefu Grift yw Hâd y wraig,
Y bwyntiodd Duw i droedo 'r ddraig, Gen. 3. 15
I figo ei fhol, i rwygo ei theyrnas,
I dynnu dŷn o'i chrampe atcas,

Ni orchfyga nêb o'r ddraig,
Ond trwy gymmorth Hâd y wraig,
Ni ddaw dyn o'i theyrnas aflan,
Nes y tynno Chrift ef allan.

Gen.22.18 Chrift yn vnig yw 'r hâd dinam,
Y bromeifiodd Duw i Abram,
I 'n rhyddhau oddiwrth y felldith,
A rhoi inni 'r nefol fendith.

Chrift yn vnig ydyw 'r Silo,
Gen.49.14 Y ddanfonodd Duw i'n ceifio,
O gathiwed pob rhyw bechod,
I wafnaethu 'r fanctaidd Drindod.

Chrift ei hun yw Pren y bywyd,
Sy'n rhoi maeth i bawb o'r holl fyd:
Ni bydd marw yn dragwyddol,
Nêb y fwytto 'r ffrwyth fancteiddiol.

Chrift yw 'r Arch a'r lloches efmwyth,
Gedwis Noe rag boddi, a'i dylwyth,
Chrift yw 'r arch fy'n cadw ninnau,
Rhag pob diluw a dialau.

Gen.28.12 Chrift ei hun yw yfgol Jago,
Oedd o 'r nef ir ddaer yn pheico,
Jo. 1,51. Ar yr hwn y mae i'n ddringad,
Os ir nef y mynwn ddwad.

Act. 3. 22, 23. Chrift yw 'r Prophwyd mawr y helodd,
Duw o'i fynwes, fry o 'r nefoedd,
I fynegi' wllys hyfryd,
*Gwrandawn arno dan boen bywyd.*

Chrift yw 'r Sarph o efydd preflyd,
Num.21.8 Sy'n Jachau brath neidir danllyd:
Dewn bob rhai â 'n dolur atto,
Fe 'n Jachâ ond edrych arno.

Chriſt yw 'r ffeirad mawr offrymwys, Heb. 9 11,
Waed ei galon dros ei eglwys, 12.
Ar y groes i Dâd ſancteiddiol,
Dros y byd, i gadw ei bobl.

Chriſt yw 'r Brenin grymmus graſſol, Pſal. 2. 6.
Sydd trwy râs yn * llywio ei bobol: *rheoli.
Ac yn goſtwng ei gelynion,
Fel y gallont gael y goron.

Chriſt yw 'r Bugail ſy 'n bugeila
Enaid Chriſtion rhag ei ddiſa: Joan. 10.
Ni chaiff llew, na blaidd, na llwynog, 11, 28.
Ddwyn o'i braidd, nac oen na mammog.

Chriſt yw * Prins ein gwir dangnefedd, *Tywyſog.
Y Ddiffoddodd pob digllonedd: Eſay. 9 6.
A gwaed ei groes, yn Dduw, yn Ddyn, Col. 1. 20.
Y gwnaeth ê 'r ddwy blaid ddig yn vn.

Chriſt yw 'r Rhoſſyn coch o Saron, Can 2. 1.
Sydd â'i liw 'n * cynfforddi 'r galon; *cyſſuro.
Ac â'i 'rogle yn rhoi bywyd,
Ir trwm feddwl a'r gwan ysbryd.

Chriſt ei hun yw 'r Balm o Gilead, Jer. 8. 22.
Sy 'n Jachau pob archoll * ddeſprad, *anobeithiol.
A rows Satan â * dart pechod, *Piccell.
I 'n eneidiau a'n cydwybod.

Chriſt yw 'r Manna ddaeth o 'r nefoedd, Joan. 6. 31,
Duw ei hun o'i râs a'i rhoddodd: 33, 35.
Y nêb yn ffyddlon a'i bwyttaffo,
Ni ddaw byth ddim newyn arno.

Chriſt yw Oen y paſc 'aberthwyd,
Dros ein pechod pan croeshoeliwyd; Exod. 12.
Rhwn ſy ái waed yn cadw 'r enaid,
Rhag ir Angel drwg ei ſcliffiaid.

Chriſt

*Exod.* 30 Christ yw 'n Hallor arogldarthu,
Ar yr hon y mae aberthu,
Pêr arogle mawl a gweddi,
Foreu a hwyr i Dâd goleuni.

*Marc.* 2. 17. Christ yw Meddyg y cristnogion,
Rhwn â gwerthfawr waed ei galon,
Sy'n Jachau archollion pechod,
Pan na'll dim amgenach dygfod.

Christ yn vnig yw 'n Cyfryngwr,
*1 Tim.* 2. 5. S' ein cymmodi â 'n Creawdwr;
Nid oes nêb ond Christ ei hun,
All cymmodi Duw a dŷn.

*1 Joan.* 2. 1. Christ yw 'r Twrneu sydd yn dadle,
O flaen Duw am sadde 'n beie,
Pan bo Satan yn cyhuddo,
**Cennad* Ac yn canlyn * grawnt i'n plago.

Christ yw 'n Brenin, Christ yw 'n ffeiriad,
Christ yw 'n Prophwyd, Christ yw 'n Ceidwad,
Christ yw 'n Bugail, Christ yw 'n Barnwr,
Christ yw 'n Pen, a Christ yw 'n Prynwr.

*Datc.* 1. 11. Christ cyn cynfŷd ydyw 'r Alpha,
Christ heb dersyn yw 'r Omega,
Dechre, diwedd Jechydwriaeth
Meibion dynion ai derchafieth.

Christ yw dewr Gwncwerwr angau,
Christ a'i speiliodd o'i holl arfau,
*2 Tim.* 1. 10. Christ a lyngcodd angeu melyn,
Christ y dynnodd ffwrdd ei golyn.

Christ sy 'n cadw 'r holl allweddau,
*Datc* 1. 18 Sydd ar vffern ac ar angau,
** cyffwrdd* Ni baidd Diawl nac angau * dwtchio,
*Luc.* 8. 32. Neb, nes cael gan Grist ei lwo †
*† rhoi cennad.*

Christ

Chriſt yw 'r Pelican cariadus,
Sydd â gwaed ei galon glwyfus,
Yn Iachau ei adar bychain,
Gwedi 'r ſarph ei lladd yn gelain.

Chriſt yw 'r Pelican trugarog,
Sydd â gwaed ei galon ſerchog,
Yn Jachau ei frodyr priod,
Gwedi 'r Diawl eu lladd â phechod.

Nid oes eli ag a wnaethbwyd, *1 Joan. 1. 7.*
Nac vn * fetswn a ddychmygwyd, **feddigi-niaeth.*
All Jachau vn archoll pechod,
Ond gwaed Chriſt, gwir eli 'r Drindod.

Chriſt yw 'r Perl y ddlyem mofyn,
Nid tlawd perchen cyfryw berlyn; *Mat. 13. 45, 46.*
Dôs dros fôr a thir i 'w geiſio,
Gwerth ſydd genyd cyn bôd hebddo.

Duw rho imi dy anwylyd,
Chriſt yn arch wi 'n geiſio genyd:
Rho imi fynnech gydâ hynny,
Rhoiſt im ddigon o rhoi 'r Jeſu.

Duw rho i mi Griſt yn Geidwad,
Chriſt yn Frenin, Chriſt yn ffeiriad,
Chriſt yn Brophwyd, Chriſt yn Brynwr,
Chriſt yn Help ym-mhob cyfyngdwr.

O'r cai ddim ond Chriſt ei hunan,
Gân fy nefol Dâd im cyfran,
*Mi gâf ddigon yn fy nghîſt,*
*Er na chaffwyf ddim ond Chriſt.*

*Or câf i Griſt, fe dry fy rhyw,*
*O fâb ir fâll yn blentyn Duw,*
*O ddyn ar gôll, o † Sâf i Satan,* *† Caeth-was.*
*Yn wir Aelod iddo ei hunan.*

Er

Er cael Aur, ac er cael arian,
Er cael Tai a Thiroedd llydan;
*Beth wyf nês er cael pob cyfraid,*
*Nes cael Christ i gadw f'enaid?*

Tynn fy llygaid, tynn fy nghalon,
Tynn fy ngolud am cyfeillion,
Tynn y cwbwl oll sydd gennif,
Cyn y tynnech Grist oddiwrthif.

Sonied Milwyr am ryfela,
Sonied Morwyr am dda 'r India,
Sonied Carl am lanw ei Gîst,
Sonied Christion byth am Grist.

---

## *Hîl Adda.*

Hîl *Adda* gamweddus, plant *Efa* drasaelus,
A deilaid gosydus * Gehenna, (*Uffern.)
Dihunwch, dihunwch, o'ch trymder a'ch tristwch,
Daeth i chwi ddiddanwch o'r mwya.

Cans heddyw medd *Gabriel*, geirwir ei chweddel,
Negesswr o * gwnsel *Jehofa*, (*O gyngor Duw.)
Y ganed ein prynwr, *Christ Jesu* 'n Jachawdwr,
Mâb Duw, ein † Achubwr ni 'n benna. (†Nid oes Achubwr arall.)

Gan hynny crechwennwch, a gwir orfoleddwch,
A chenwch, a seiniwch * *Hosanna*, (*Achub ni ddeisyfwn)
I Dduw yn 'r uchelder, ir ddaiar esmwythder,
I ddynion y mwynder o'r mwya.

Cans hwn ydyw 'r hedyn, a'r helpwr, a'r himpyn,
Addewwyd o'r † gwreigin i *Adda*, (†Efa.)
I sigo shol Satan (*y Sarph*) dan ei waddan,
Pan helwyd o'r berllan * araula. (*Hyfryda.)

A dymma 'r Hâd dinam, addewis Duw i *Abram*,
Yn fendith o'n hên fam *Sara*,
A'i hepil, lin olin, hyd *Ddafydd* y Brenin, Rhuf. 15: 12.
O *Jesse* y gwreiddyn † rhiala. † Bonheddicca.

A thymma i chwi 'r *Silo*, oedd *Jacob* yn feinio,
Y ddawe i'n bendithio o *Juda*,
Pan dygid y goron, oddiar yr Iddewon,
A'i rhoddi i estron *Duwmea*.

A thymma 'r Prins aeddfwyn, *Emmanuel* irfwyn,
Mâb grassol y forwyn *Faria*,
Addew-wyd i *Achas*, trwy 'r prophwyd *Esaias*, Esa. 7. 14.
I'n harwain i'r deyrnas bradwysa.

A dymma 'r *Messias*, addawodd *Micheas*,
O *Fethelem* dinas *Ephrata*,
Y enid i'r bobol, yn Frenin tragwyddol,
I harwain i'r nefol orphwysfa.

A thymma i chwi 'r Prophwyd, a'r Brenin addaw-
A'r ffeiriad y bwyntiwyd yn benna, (wyd,
I offrwm ei hunan, yn aberth bereiddlan,
I ddattod gwaith Satan fileina.

Chwi glywsoch i Satan gynt dwyllo 'n y berllan,
A'i † hocced y gwreigan, hên *Efa*, † Dichell.
I fwytta yn rhy * flysig yr afal gwarddedig, * chwannog
A chwedyn rhoi 'chydig i Adda.

Pan temptiodd y gelyn â'r afal y ddoi ddyn,
I dorri gorchymyn † *Jehofa*, † Duw.
F'aeth *Adda* a ninne yn euog o ange,
I * Uffern a'i phoene diffeitha. * I gyflwr o golledigaeth.

O Uffern ac ange, nid oedd neb y alle,
Yn prynu trwy boene pwy bynna,
Ond vnig mab grasson y *Jestus* tra chyfion,
Y ddigsom mor greulon o'r cynta.

A'r

A 'r mab hynny ynte, oedd yn rhaid iddo ddiodde,
  Ar grogpren yr ange diffeitha:
*Heb.2. 14, 17.* Gan wir gymryd arno gnawd dyn i'w groes-hoelio,
  A thro.om ddad-ddigio *Jehofa.*

Ac os Duw ni fynne roi fâb i ddiodde,
  Er cadw 'n heneidie rhag poenfa,
Mewn carchar vffernol, a phoene tragwyddol,
  Y byffe 'r holl bobol pwy bynna.

** cyflwr.* Pan gwalas Duw graffol ein * ftâd mor dofturiol,
  O'i gariad rhagorol yn benna,
*Gen, 3.15* F' addewis ein helpu, trwy ddanfon i'n prynu
  Ei vn mâb *Christ Jesu* anwyla.

Ac felly pan gwalas Duw 'r amfer cyfaddas,
*† nefoedd.* Fe helwys o'i deyrnas † bradwyfa,
I 'r ddairen anhyfryd ei vnig anwylyd,
*Gal.4.4.* Ein cnawd i gymmeryd yn gynta.

A chnawd dŷn y gymmerth ein *prynwr* yn brydferth
  O Fair yr eneth anwyla,
Yn daran rhyfeddol trwy 'r ysbryd fanćteiddiol,
  Heb weithred dyn cnawdol na 'i goffa.

Ond rhyfedd, rhyfeddod! fe aned heb bechod,
  O forwyn yn gwrthod a gwra,
Yn berffaith ddyn cnawdol, heb weithred corphorol
  Trwy 'r ysbryd fanćteiddiol goruchа.

Os merch wrth feichiogi, a merch wrth efcori,
  A merch gwedi geni 'r mab cynta,
Oedd *Mair* pan i magodd, a merch pan priododd,
*† Ymadawodd.* A merch pan † departodd oddi yma.

O waith iddo gymryd ein poene a'n penyd,
  Fe aned i 'r trûft-fyd yn llwmma,
Mewn ftabal anghymmen, ym-mhrefeb yr ychen,
  Lle trowd ef mewn gwlanen o 'r tlotta.

Ac

Ac etto er peri i'r bŷd i addoli,
  Er maint oedd ei dlodi a'i lwmdra,
Fe wnaeth Duw i Seren, mor ddiſclair a'r haul-wen,
  I'w * waitio yn yr wybren iſela. *ddiſgwyl.

Daeth hefyd wŷr doethion, †Aſtronomers mawrion, † Gwyr deallus i nabod y Sêr.
  Brenhinoedd o galon *Caldea*,
Pob vn ar ei ddaulin, i addoli 'n ei rwymyn
  Ei Duw a'i Brenin aibenna.

Tair * anrheg rhagorol, yn gweddu 'n berthnaſſol, *Rhoddi.
  I ſwydde neilltuol *Meſſia*,
Offrymſont hwy hefyd i'r Brenin bach hyfryd,
  Aur, Thus peraroglyd, a Myrra.

Daeth hefyd Angelion, i † faneg i ddynion, †ddangos.
  Mae ef oedd yr vnion *Meſſia*,
A'r Ceidwad, a'r Prynwr, a'r vnig Iachawdwr,
  Addawſe 'n Creawdwr o'r cynta.

A'r nefoedd, agorodd a'r ddairen oleuodd,
  A'r Angel a lefodd yn lewa, † Gogoniant yn y goruchaf, ar y ddaiar tangnefedd.
†*Gloria in excelſis, Pax et in terris*,
  Pan ganed Prins happys * Europa.

Y golſſom yn wallus, drwy Efa drachwantus,
  Yn ddigon anhappus o'r cynta, *Rhan o'r byd wedi oſod dros y cwbwl, ble bynnag y mae gwir griſtnogion.
Ni gawſom drachefen, ond gwych oedd y ffortun,
  Pan ganed y bachgen *Meſſia*.

I ddattod gwaith Satan, i groeſi ſiin amcan,
  A'n cynnull o'i gorlan dywylla,
Y daeth *Chriſt* ein *Harglwydd*, o'r nef yn ei vnſwydd
  I'n cadw rhag gwradwydd a phoenſa.

Gan gymmaint oedd cariad y graſol vcheldad,
  Tu ag attom blant anllad hên Efa,
Fe rows ei anwylyd, i grogi 'n anhyfryd,
  I brynu ein bywyd o boenſa.

A

A chymmaint oedd cariad Chriſt attom yn waſtad,
Eu frodyr tra irad eu poenſa,
Ac y rhoei ynte 'n danbaid ei fywyd a'i enaid,
I farw dros ddefaid ei borſa.

Yr Ange haeddaſom, fe'i talwys ef droſom,
A'r dyled adawſom heb gwpla:
Gal. 3.13. Col. 2.14. Ein ſcrifen fe dorrwys, a'r fforffed fe dalwys,
A'n pardwn fe'i prynwys o'r pritta.

Gwaed gwerthfawr ei galon, ai fywyd gwyn gwirion
Offrymmwys ef droſon yn ſwyna,
Yn aberth ir Drindod, trwy gwilydd a dannod,
*† brid-werth.* Yn † rhanſwm dros bechod pwy bynna.

Duw dâd a ddad-ddigiwyd, a'n rhanſwm y dalwyd
A'n pardwn y ſelwyd yn ſuwra:
Chriſt a'i pwrcaſſodd, â'i fywyd fe'i prynodd,
** Sef pôb credadyn ediſeiriol vfydd.* A'r * Bŷd a waredodd o'i boenſa.

Dros bechod yr holl fyd, offrymmwys ê ei fywyd,
I prynu o'i penyd a'i poenſa:
Os yndo y credwn, mae 'n ſuwr i ni bardwn,
*† heb berygl o garchar uffern* Heb † ddanſher o ddwnſhwn Gehenna.

Cans Satan orchfygwyd, ac Angeu gongcwerwyd,
*† Anrhaith* Ac vffern y ſpeilwyd yn † ſpwylſa:
* Eneidie plant dynion, o grampe 'r gwir duon,
Y gariodd y gwirion *Feſſia*.

** pobl yn y byd hwn, pan y troer hwy oddiwrth eu pechodau a ſymmydir oddi tan feddiant Satan at Duw. Col. 1.13. Act. 26. 18.*

*Adda* a'n taflwys, i vffern heb orphwys,
O berllan Baradwys eſmwytha:
Chriſt ynte a'n cododd, o vffern i'r nefoedd,
I orphwys yn llyſoedd *Jehofa*.

Cans dymma 'r oen tirion y ladde 'r Iddewon,
Etifedd gwynn gwirion *Jehofa*,
Dymuniad tra hyfryd cenhedloedd yr holl-fyd,
Eu comfford a'u Iechyd gorucha,

A

A chymmas'r Maen siccir, wrthode 'r Adeilwyr,
Maen tramgwydd, craig rhwystyr *Judea* :
Ein Perl a'n Prins ninne yr holl genhedlaethe,
Christnogion † sy 'n adde 'r *Messia*.

*Er bôd ein pechode' heb fessur na phwyse,*
*An brynti fal pentre Gomorra :*
*Etto os credwn, a gwella tra gallwn,*
*Fe bayr i ni Bardwn y bara.*

Vn droppyn sanctciddlon, o wir waed ei galon,
All olchi 'n hôll ffinion ddiffeithdra ;
Pe baent hwy cyn goched â'r Pwrpwl neu'r scarled,
A'u gwneuthur cyn wnned ar Eira.

*Weithian os credu a wnawn ninne i'r Jesu,*
*A chwympo i wasnaethu e'n vfydda,*
*Fe ddug ein eneidie, i'r nef lle mae ynte,*
*I ganu hôll * hymne Jehofa :*

Lle mae mwy hyfrydwch, a nefol † rhialtwch,
Llawenydd a heddwch o'r hwya,
Ni gallo clûst glywed, na llygad i weled,
Na chalon ystyried pwy bynna.

Moliannwn gan hynny, ag eitha o'n gallu
Ein prynwr *Christ Jesu* anwyla,
Am brynu 'n eneidie, drwy chwerw loes ange,
O vffern a'i phoene diffeitha.

O molwn ni 'n wastod pôb *Person* o'r *Drindod*,
Mewn vndod mor barod er *Adda*,
I'n tynnu mor rasol, o'r carchar vffernol,
I fyw yn y nefol orphwysfa.

Ac felly † crechwennwch, a gwir orfoleddwch,
A chenwch, a seiniwch *Hosanna*,
I *Dduw* yn 'r uchelder, i'r ddaiar Esmwythder,
I ddynion y mwynder o'r mwya.

*†Oni addefwn ni Ghrist yn ein bywyd, yn gystal ac yn ein geiriau, ni thâl ein haddefiad ni ddim.* Tit. 1. 16. Esa. 1. 18.

Joan 14. 3

**Caniadau*

*† Gogoniant.*

1 Cor. 2. 9.

*† Chwareddwch.*

O gofyn rhai yn vn-lle, pwy wnaeth hyn o hymne,
Er cofio mawr donie 'r *Messia?*
*Bugail eglwysig*, o galon garedig,
At ddefaid cadwedig *Jehofa.*

---

## *Christ a arwyddocawyd wrth y Sarph bres.*

**Diafol.* Y Sawl y frathwyd gan y * ddraig,
Dewch at Grist Jesu, hâd y wraig:
Fe drîn y brâth, fe dynn y colyn,
Fe rwym y ddraig, fe sga ei chobyn.

Rhuf. 3. 23. Rym ni bôb rhai gwedi 'n brathu,
Mae col pechod gwedi 'n gryddfu:
Act. 4. 12. Ni all ond Christ ein helio,
Fe yw 'r Sarph bres, craffwn arno.

Craffwn ar Ghrist a groes-hoeliwyd,
Jo. 3. 14, 15 Fel y craffei 'r hai a frathwyd,
Num. 21. 8 Ar y Sarph bres yn y diffaith,
Fe â 'r loes a 'r gwenwyn ymmaith.

Luc 4. 18. Os edrychwn arno yn brûdd,
Jo. 6 40. A chalon donn, â llygad ffydd,
Er i'r Sarph, â'i chol ein clwyfo,
Fe 'n Jachâ, ond edrych arno.

Oni ddewn at Grist ar fyrder,
I gael help, rhag brâth y wiber,
Nid oes Meddyg yn yr holl-fyd,
*Ond Mâb Duw all cadw ein bywyd.*

## *Crist a arwyddocawyd wrth yr Oen pasc.*

CHrist yw oen y pasc, a'n haberth, 1 Cor. 5. 7.
Christ yw'n hoen, a'n hoffrwm prydferth,
Oen Duw, oen da, oen gwynn i gyd, Jo. 1 29.
Sy'n tynny ffwrdd bechodau 'r byd.

Christ yw 'r oen a laddwyd drosom,
Christ archollwyd am y wnaethom, Esay 53 5
Ei waed gwerthfawr, (pan croes-hoeliwyd) Mat 26. 28.
Am ein beiau, a dywalltwyd.

*Blin a thôst, a thrwm ac irad,*
*Poeni 'r oen, am feiau 'r ddafad,*
*Lladd mâb Duw, ar flaen yr hoelion;*
*Am bechodau meibion dynion:*

Adda 'n bwytta falau pechod,
Dannedd Christ yn goddei 'r ddingeod,
*Dyn yn pechu, Christ yn marw,* ☞
*Ble bu cariad o'r fâth hwnnw ?*

Och! Pa galon na thosturia,
Chwippio Christ am bechod Adda,
Lladd y Bugail am fai 'r defaid,
Crogi 'r * Prins i gadw 'r deilaid? **Tywysog.*

Gwerthu 'r Meistr i brynu 'r gweision,
Lladd y mâb i gadw ei elynion,
*Mwrddro 'r meddyg, brathu ystlys, * *Lladd.*
Gael ei waed i helpu 'r clwyfys.

## *Christ yw Pren y Bywyd.*

Datc. 2. 7. DEwch bôb rhai at Bren y bywyd,
Jo. 3. 36. Dewch at Ghrist ein Prynwr hyfryd,
Mwynhewch y ffrwyth, a chredwch yntho,
Chwi gewch râs, a bywyd gantho.

Dymma 'r Pren y dynn y ddingcod,
A 'r newyn dû, a 'r poen, a 'r pechod,
A 'r melldith Duw, a'r loes wenwynig,
Y ddaeth o fwytta 'r pren gwarddedig.

Jo 6. 33. O! bwyttewch o'r pren yn rhâd,
O 'r nêf y daeth, oddiwrth y Tâd,
I'n gyrru 'n Jach, i gadw 'n bywyd,
I dorri 'n chwant, I roi i 'n Jechyd.

Datc. 22. 2. Mae 'ffrwyth e'n bêr, mae ddail yn Jachus,
Jo 6. 35, 49. 50. Mae flâs yn wêll nâ'r Manna melus:
Ni all newyn byth, nac Angau,
† Aflonyddu. †Drwblo 'r dŷn y fwytto ei ffrwythau.

Christ yw 'r Pren, Oh! dewch bawb atto,
Y ffrwyth yw 'r bywyd y sydd ynddo,
Y dail yw 'r gair, a'i gyngor Jachus,
Sy 'n bywhau yr enaid clwyfus.

Mat. 11: 28 Dewch bôb rhai, sy'n flin eu cyflwr,
Dewch at Christ, ein gwir Jachawdwr,
Luc 2. 10. Dewch i dderbyn grâs a Jechyd,
† Cysur. Cymmorth, † cynfforddd, bawb o'r holl-fyd.

Dewn at y Pren, bwyttawn ei ffrwythau,
Crynhown ei ddail, rhown wrth ein clwyfau:
Fe 'n gwir Jacha, fe dyrr ein newyn,
Fe bair i'n fyw, dros fŷth heb derfyn.

Christ

## *Chriſt ſydd ôll yn ôll.*

CHriſt ei hun ſydd ôll yn ôll, Col. 3.11.
Yn cadw dŷn rhag mynd ar gôll,
Nid nêb, nid dim, ond Chriſt ei hun, *Act.* 4 12.
Y ddichon cadw enaid dŷn.

Chriſt ſydd bob dim, ſydd anghenrhaid, Col. 1.19.
O flaen Duw i gadw 'r enaid,
Ni fyn Duw ond Chriſt ei hun, Luc. 3.22.
Yn iawn dâl am enaid dŷn. 1Joan.2.2.

Chriſt yn vnig, Chriſt ei hunan,
Chriſt heb neb, mewn rhan, na chyſran,
Chriſt heb ddim, ond Chriſt ei hun,
Yw vnig ceidwad Enaid Dŷn.

Chriſt yw 'n * rhanſwn, Chriſt yw 'n haberth, * *Prid-werth.*
Chriſt yw 'n hoffrwm, Chriſt yw 'n cyfnerth, 1Tim.2.6.
Chriſt yw 'n Tryſlor, Chriſt yw 'n golyd, Heb.9.14.
Chriſt yw 'n gwir jachawdwr hefyd.

Chriſt ſydd gyflawn o bôb doniau,
Anghenrheidiol i'n heneidiau,
Mae pôb peth yn Ghriſt ei hûn,
Ag ſydd raid i gadw dŷn.

Chriſt ei hunan yw 'n cyfiawnder,
A 'n Sanctеiddrwydd, a'n gwir ddoethder, 1Cor.1.30
A 'n ymwared, a'n holl Bryniad,
Chriſt yw 'n comfford, Chriſt yw 'n Ceidwad,

Chriſt heb ddim, ond Chriſt ei hunan
Sy 'n dad-ddigio Duw yn fuan:
Chriſt heb ddim, ond Chriſt yn vnig, Rhuf. 5.1.
Sy 'n cyfiawnu dŷn colledig. 2Cor.5.21

Chriſt heb help na Sant, na Santes,
Chriſt heb gymmorth dŷn, na dynes,
Chriſt heb nêb, ond Chriſt ei hun,
Yw unig geidwad enaid dŷn.

Eſay. 63. Chriſt yn vnig 'ymdrabaeddodd,
3, 5. Yn y win-wryf panein Prynodd:
Ni bu nêb o blant yr holl ſyd,
Yn ei helpu i gadw ein bywyd.

Ni wnaeth Peder ond ei wadu,
*Cilio. Na'r Poſtolion ond * diſannu,
Ni wnaeth Mair ond wylo 'n irad,
Tra fu Chriſt yn chwhare 'r ceidwad.

Eſay. 53. Ni ddûg nêb ond Chriſt ei hunan
5. Bwys, a baich ein pechod aflan:
Ni chwyſſod nêb o'r gwaed yn ddagrau,
Luc. 22. 44 Ond mab Duw, dan bwys ein beiau.

Ni chroeſ-hoeliwyd ond Chriſt Jeſu,
Am ein pechod wrth ein prynu,
1 Pet. 2. 24 Ni bu nêb, ond Chriſt ei hun,
Yn boddhau Duw, yn jachau dŷn.

Heb. 2. 14, Ni bu neb ond Chriſt ei hunan,
15. Yn ein dwyn o feddiant Satan,
1 Cor. 15. Ni bu nêb yn lladd, yn llyngcu
55, 57. Angeu didrangc, ond Chriſt Jeſu.

Chriſt ei hun y lyngcodd Angau,
Col. 2. 14, Chriſt y Speiliodd awdurdodau:
15. *Rhwymedigaeth. Chriſt y gwnnodd ein * Bligaſſiwn,
Chriſt y dalodd gwerth ein pardwn.

Col. 1 20. Chriſt ei hun y wnaeth ein heddwch,
Gal. 4. 4, 5 Chriſt y brynodd ein dedwyddwch,
6. Chriſt a'n gwnaeth yn feibion Duw,
†Sef y ffyddloniaid. Chriſt a'n cadwodd † oll yn fyw.

Ghriſt

Christ ei hun y wnaeth y cwbwl,
Y dynnodd Enaid dŷn o'i drwbwl:
Nid nêb, nid dim, ond Christ ei hun,
Dan Dduw, y gadwodd enaid dŷn.

Ni bu Angel, ni bu Brophwyd,
Ni bu Sant, na dyn a fagwyd,
Ni bu nêb, ond Christ ei hun,
Yn gweithio iechydwriaeth dŷn:

*Ni fyn Duw na chymmorth Angel,*
** Cyfrwng Sant, na'i draul, na'i drafel,* *deisyfiad.
*Gwaed Merthyri, na gwaith dynion,* 1 Tim. 2. 5
*Ond gwaith Christ i gadw Cristion.* Heb. 7. 25.

Christ yw'r iawn sydd am bôb pechod, 1 Joan. 2. 2
Jawn amgenach ni all tygsod *: *Tyccio.
Ni fyn Duw am bechod drewllyd,
Jawn sydd lai na gwaed ei Anwylyd.

Na ddôd waed na gweithred vn dyn,
Gydâ gwaed dy Brynwr purwyn:
Ni chytuna trech di byw,
Waed pechadur a gwaed Duw.

Gwaed y Jesu, gwaed y cymmod,
Ydyw 'r gwaed sy'n golchi pechod: 1 Joan. 1. 7
Ni all gwaed yr holl Ferthyri,* * Tystion
Olchi ffwrdd y lleia o'th frynti. Christ a
ddioddefasant er
Nid gwaith Saint, nid gwaith Angelion, mewn y
Ydyw cadw enaid Cristion: gwirion-
Gwaith ein prynwr Christ yn vnig, edd.
Sydd yn cadw dŷn colledig.

Gwaith dwy nattur mewn vn person,
Sydd yn cadw enaid Christion:
Rhaid ein prynwr, Duw a Dŷn,
Weithio 'r gwaith cyn cadwer vn.

*Nid gwaith Duw na dyn lleilltuol,*
Mat.1.23. *Ond gwaith Duw a dyn cyssylltiol,*
Rhuf.1. *O ddwy nattur mewn vn person,*
3, 4. *Sydd yn cadw enaid Cristion.*

Esay 9. 6. Rhaid i'th Brynwr fôd yn Dduw,
Heb.7.26 Ac yn ddŷn, (er dolwg clyw)
Cyn y galler cadw d'enaid,
Nai ryddhau o'i boen afrifaid.

Col.1.20. *Rhaid ei fôd e'n Dduw galluog,*
Heb.2.14. *I ddadd-ddigio d' Arglwydd llidiog,*
Luc.1.71. *Ath ryddhau o feddiant Satan,*
*Ath elynion fawr a bychan.*

*Rhaid ei fôd e'n ddyn di-frychau,*
Heb 7.26. *I gael marw dros dy feiau,*
*A'i farwolaeth yn cystadlyd,*
*A marwolaeth pawb o'r holl-fyd.*

Nid oes yn y nêf na'r ddaiar,
O'r fath brynwr perffaith hygar,
Ond y Gair y wnaed yn gnawd,
Jesu Grist ein Duw a'n brawd.

Nid oes nêb gan hyn y ddichon,
Gadw enaid vn rhyw gristion,
Ond y prynwr mawr Christ Jesu,
Duw a dŷn, a fu'n ein prynu.

Nid oes iechydwriaeth ddiwall,
Inni gaffel mewn nêb arall,
Ond y gaffom yn Grist Jesu,
Rhwn ordeiniodd Duw ein prynu.

Act.4.12. Nid oes Enw dan y nefoedd,
Gwedi roddi inni 'r bobloedd,
All ein gwneuthur yn gadwedig,
Ond Enw 'r Jesu'n unig.

Ni

Ni fyn Duw, ond Christ ei hunan; Mat.17.5.
Ni fyn Duw vn * partner aflan, *Cyfaill.
I gydweithio gyda'i Anwylyd, 1 Tim.2.5
Yn y gwaith sy'n cadw'r holl-fyd.

Ni fyn Mâb Duw nêb yn Bartner,
I gydweithio gwaith dau hanner, Esay 63.3.
Yn y gwaith o'n jechydwriaeth:
Nid nêb teilwng, o'i gwmpniaeth.

Fe fyn naill a bôd yn hollol,
Yn jachawdwr idd ei bobol,
Neu na fwro byth ynghyd,
A chreadur sy'n y bŷd.

Ni fyn Christ roi i Sant nac Angel,
Dŷn na delw o vn fettel, Esay.42.8
†Bart na pharsel, rhan na chyfran, †Rhan fychan.
O'r gogoniant sy 'ddo ei hunan.

Or bydd vn rhyw ddŷn mor angall,
Ag ymofyn Ceidwad arall,
Cymred hwnnw yn Achubydd,
A gadawed Ghrist yn llonydd.

Ceisied eraill Saint a delwe,
A'i gwaith gwael i gadw eu 'neidie;
Ni chais f'enaid archolledig,
Geidwad byth ond Christ yn vnig.

---

## *Cynghor i Bechadur i ddyfod at Jesu Grist.*

†DEre hên Bechadur truan, †Tyred.
Dere at Grist trwy ffydd dan riddfan; Mat.11.
Mae Mâb Duw yn d'alw atto, 28,29.
Od yw pechod yn dy flino.

Christ

Christ ei hun sy'n galw arnad,
Jo.7.37 Christ sy 'n erchi itti ddwad ;
*Adfywio Christ sy 'n cynnig dy * refreshio,
Os trwy ffydd y doy di atto.

Dere at Grist er maint yw'th drossed,
Dere er cynddrwg oedd dy fuchedd :
Dere ym-mhryd, cais gymmorth gantho ;
F'all dy gadw 'r awr y mynno ?

*Gwbl, Er dy golli 'n *gwitt yn Adda,
1Cor.15.22 Er ir cythrel câs dy ddala,
2Tim.2.26. Er it ddigio Duw yn danllyd ;
Joan.3.36 Cred yn Ghrist, fe geidw'th fywyd.

Er dy ennill mewn anwiredd,
Psal. 51.5. Er it fyw mewn aflan fuchedd ;
Dere at Grist, cais gymmorth gantho,
Zech.13 1 F'all dy olchi a'th ail greo.

Rhuf.5.10 Er dy fod ti 'n elyn Duw,
Wrth naturiaeth ath ddrwg ryw ;
Cred yn Ghrist, fe'th wna o elyn,
Joan.1.12 Ith nefol dâd yn anwyl blentyn.

Er dy fod ti 'n slâf i Satan,
Ac yn wâs caeth yn ei gorlan ;
Eph.2.2. Cred yn Grist, fe'th dynn o'i grampeu,
Luc.11.22. Luc.1.79. Fe'th ddwg o'i dywyll gell ir goleu.

Er dy fod ti 'n haeddu 'th ddamnio,
Ruf.5.18. Ath droi i uffern i'th boenydio ;
Psal.9.17. Joan 6.47 Cred yn Ghrist fe'th ddwg ir nefoedd,
I glodfori 'r hwn ath Greuodd.

*Gwrthryfelwr. Er dy fod ti megis *rhebel,
Gwedi'th droi O sant yn gythrel,
Ezek.2.7. Cred yn Ghrist, bydd un oi blant,
1Cor.6,11 Fe'th dry o gythrel etto yn sant.

Er

Er dy fod ti 'n ddŷn damnedig,
Yn hên Adda ein tâd gwenwynig ; Ruf. 5. 12, 19.
Cred yn Ghrist fe'ch geidw etto,
Er i Adda hên dy damno.

Er i Satan * entro i'th iettu, * Myned i mewn.
Ai orescyn heb ei nadu ;
Cred yn Ghrist, fe ddwg ei arfau,
Fe dry Satan dros y trothau.

Er ir lladron speilio d'enaid,
A'th archolli yn dra embaid ;
Cred yn Ghrist y gwir Samariad,
Fe iacha d'archollion desprad * * Anobeithiol.

Er ir danllyd sarph dy frathu,
A'th wenwyno nes dy nasu ;
Cred yn Ghrist, fe ddofa 'r poen,
Fe iacha 'r clwyf â gwaed yr oen.

Er it fynych gyfeiliornu, Mat. 18. 12
Megis dafad gwedi cholli ;
Cred yn Ghrist, fe ddaw yn fuan,
O'r nef i'th droi o'r gors ir gorlan.

Er it bechu fil o weithie,
Er it haeddu cant diale,
Cred yn Ghrist, ti gei faddeuant, Eph. 1. 7.
Am dy bechod oll a'th drychwant.

Er bôd lliw dy fai cyn goched, Esa. 1. 18.
Ac yw'r pwrpl côch neu 'r scarled ;
Cred yn Grist, trwy waed fe'th olcha,
Nes bech di mor wynn ar eira.

Er bôd dy feie mewn rhifedi,
Yn fwy nâ gwallt dy ben o gyfri ; Act. 10. 43.
Cred i'th Brynwr, Duw a dŷn,
Fei maddeu itti bôb yr un.

Cymmer gyssur, cwyn dy galon,
Cred yn Ghrist dy Brynwr tirion;
Edifara am dy frynti,
Christ a fydd yn Geidwad itti.

Mae Christ i'ch wawdd, mae Christ i'th alw,
Mae Christ i'th gymmell atto 'n groyw:
Ezek.33. *Pam y byddu marw 'n irad,*
11. *Eisie dwad at dy Geidwad?*

Luc.19.10 Christ y ddaeth o'r nefoedd auraid,
Ir bŷd i gadw pechaduriaid:
Ei swydd, ai grefft, ai waith yn vnig,
Yw cadw eneidiau rhai colledig.

Ruf. 3.23. Dŷn colledig ydwyt tithe,
Fel y mae pawb o honom nine:
Pam na ddoy tra fytho 'n galw,
At dy Geidwad Christ, i'th gadw?

1 Tim.1. Nid yw'th bechod ddrwg ddyn angall,
15, 16. Fwy nâ phechod Saul neu arall:
Fe gâs Saul faddeuant gantho:
Dithau cei os credu yntho.

Nid yw'th bechod fwy nag allo,
* Tynnu ymmaith. Christ eu maddeu ai * deleuo,
Na'th holl feie, nath holl frynti,
Fwy nag allo Christ eu golchi.

Ni all Satan byth dy lygru,
Fel na allo Christ dy helpu,
Na'th ddifwyno, gwnaed ei waetha,
Fel na allo Christ dy wella.

Act. 9.13, Christ all wneuthur heb fawr drafel,
14, 15. Oen o flaidd, a Sant o Gythrel,
Hên ddŷn aflan, yn ddyn fyw,
A dŷn ir fâll, yn ddŷn i dduw.

Ni

Ni wnaeth Christ ond galw ar Zache, Luc.19.
Ai droi 'n Sant, ar hynny o eirie:
Fe'ch dry dithau 'n oen os myn,
O lwdwn dû yn llwdwn gwynn.

Duw galluog ydyw Christ,
Yn maddeu beiau 'r truan trist,
Yn newid naws, yn gwella nattur,
Yn dattod gwaith y diawl, heb rwystyr. 1 Joan.3.8

Hôll-alluog yw dy Brynwr,
F'all * reparo gwaith y temptiwr: *Adnewyddu.
F'all ei daflu beunydd allan,
O galonnau 'r bobol aflan.

Pe bae saith rhyw gythrel ynod,
Pyt fae leng tu sewn ith gaudod; Mar. 5. 8. 9. 13.
Fe try Christ hwy ôll fel cilion,
Ar gair cynta, 'maes o'th galon. Mar.16.9.

Nid oes grym gan vn creadur,
* Hindro gwaith dy Brynwr pryssur: *Rhwystro
Ni all dŷn na diawl ei rwystro, Jer.32.17.
Roi 'ti râs, os credu ynddo.

Nid oes dŷn yn Grist yn credu,
Na bo'n cael grâs i difaru,
Ac i wella ei fuchedd beunydd, Act. 15.9.
Nes yr elo 'n ddŷn o newydd. 2 Cor.5.17

Ni ddaeth dŷn i geisio grâs,
At fab Duw erioed, nas câs, Esa.45.19.
Nac i * fegian cymmorth gantho, *Geisio.
Nas rhows Christ e'n ebrwydd iddo.

Dere dithe, cais râs gantho,
Nid ith bechod brwnt dy rwystro:
Ni ddaeth Christ i gadw enaid, Mar.2.17
Ond eneidiau pechaduriaid.

Ni

Ni ddaeth Chrift i gadw o ddifri,
Ond y rhai oedd gwedi colli :
Swydd a chreffc mab Duw yn vnig,
Ydyw cadw rhai colledig.

† *Tyred.* †Dere dithe 'n fuan atto,
Mae 'n dy gathrain, mae 'n dy gyffro :
Dere atto, cred yn vnig,
Fe wna Chrift di'n ddyn cadwedig.

Duw rô grâs i tithe ddwadd,
Yn ddi-aros at dy Geidwad,
Trwy ffydd fywiol a difeirwch,
I gael gan Grift râs a heddwch.

---

*Cyngbor arall i Bechaduriaid i ddyfod at Jesu Ghrist.*

DEwch bawb fydd drwn lwythog gan bechod a bai,
Dewch at eich *Jachawdwr*, fydd eich gwawdd chwi bob rhai,
I laefu'ch trwm lwythau a'ch blinder a'ch cryd :
*Dadflino. Mae 'n addo 'ch * reffrefhio, dewch atto mewn pryd.

Dewch bawb at eich Ceidwad, a'ch Prynwr a'ch Pen,
A'ch Brenin a'ch Prophwyd, a'ch ffeiriad a'ch llen,
A'ch Meddyg, a'ch Bugail, a'ch Caftell a'ch Craig,
A'ch vnig Jachawdwr, Concwerwr y ddraig.

Dewch bawb at *Ghrift Jefu* fyn gwawdd pawb mor fwyn
I ddwad hyd atto i wneuthur eich cwyn :
Ond dangos eich dolur, bid ef fawr, bid ef fâch,
A deifyf ei gymmorth, *fe'ch hela 'n holl iâch.

Fe'ch dad-ddrys och dryffwch, fech gwna yn wyr rhydd
Fe dâl eich holl ddyled, fe'ch cymmorth yn brydd,
Fe laefa 'ch trwm lwythe, a'ch dagrau fei fych,
Fe gweiria'ch archollion, fe 'ch gwna chwi'n holl wych.

**Fe'ch iacha, os gyda dangos eich dolur a deifyf ei gymmorth, y bydd i chwi gredu yntho a gwir ufydd-hau iddo.* Heb. 5. 9.

Fe

Fe wna heddwch rhyngoch a'r Barnwr ei Dâd,
Fe fyn i chwi bardwn, trwy bridwerth ei waed,
Fech dug chwi drachefen mewn Ffafar a Duw,
Fech cadw mewn cariad, tra fyddoch chwi byw.

Fech gylch och pechodau â'i waed bob yr vn, Ezek. 36. 27.
Fe effyd byth ynoch ei yfpryd ei hun,
Fech gwna chwi yn feibion, yn ferched iw Dad,
A chyd-etifeddion, oi Deyrnas yn rhad.

Fe droeda 'ch gelynion, fei teifil ir llawr, Rhuf. 16. 20.
Fe ddug eu holl arfau, fei † dylud fel Cawr, † Herlyd.
Fe dynn eu holl gryfder, fe ddadraidd eu nyth, 1 Cor. 15. 25.
Fech gwna yn gongcwerwyr ar Satan dros fyth.

*Pe gwyppech blant dynion, mor doſt ydyw 'ch cas,* 
*Ach cyflwr colledig heb nerth Duw a'i Ras,*
*Ni chyſcech, ni fwyttech, nes dyfod at Ghriſt,*
*I wella 'ch toſt gyflwr, â chalon drom driſt.*

Beth 'ym ni rhai goreu, wrth nattur a rhyw?
Ond plant i'r digofaint, heb gyfnerth mab Duw,
A gweifion i bechod, a flafiaid i'r fall,
A thanwydd i uffern, plant Angeu di-ball.

Mae pawb gwedi nyrddo gan bechod, och! och!
Cyn ddued a'r * Moyrys, cyn frynted a'r môch: * Black-moors. Dynion duon.
Rhaid dyfod at Jefu i newid ein grân,
A golchi 'n haflendid, cyn gwneler ni 'n lân.

Fe wnaeth yr hen Adda ni 'n elynion i Dduw,
Yn blant i'r digofaint heb ddim modd i fyw:
Rhaid dyfod at Jefu i'n cymmod' â'i Dâd,
Cyn gwneler ni 'n feibion, trwy fabwys a rhâd.

Fe dynnodd y Gelyn bob dyn idd ei rwyd,
A'r fale gwarddedig, trwy wall Efa lwyd:
Ni thorrir o'r groglath, ni'n tynnir ni maes,
Nes tynno 'r hael Jefu, â'i Rym ac â'i r..s.

Mae

Mae 'n henaid fel dafad yn Safan y blaidd,
Ynghrafangc y Gelyn, a diangc nis baidd :
Rhaid cymmorth y Bugail, Christ Jesu a'i râs,
Cyn tynner un enaid o'i grafangc i maes.

Mae 'r Angel dinistriol goruwch ein tai,
Exod. 12. 13. Yn ceisio 'n destrywio, waith cymmaint yw 'n bai :
* Pyst y drysau. Rhaid iro 'n * cynnorau, â gwaed un mab Duw,
† El. Cyn † passo 'r fall heibio, na'n gadel yn fyw.

Mae holl blant dynion dan feddiant y fall,
*Carchar. Mewn *dwngwn ddû, tywyll, yn gorwedd yn ddall,
Wrth gadwyn o bechod, nes delo mâb Mair,
In tynny o'r dwngwn â'i râs ac â'i Air.

Ni thynnir dyn allan o deyrnas y fall,
A'r pechod lle herys, gwnaed pawb ore ac all,
Nes rhwymo Christ Satan, trwy gryfder a fôrs,
A thynnu dyn allan, fel nifel or gors.

Mae pawb mewn tywyllwch, wrth nattur yn byw,
Dan gyscod yr angeu, heb nabod o Dduw ;
Mae'n rhaid i Ghrist Jesu 'n goleuo â'i râs,
An tynnu o'r twllwch, cyn deler i maes.

Esay 1. 6. Mae pechod mor sarnllyd, mor ddrewllyd, mor grai,
*Gwenwyno. Yn nyrddo, yn nafu, yn * ffecto pôb rhai :
Ni olchir, ni thynnir, ni flottir i maes,
Jer. 2. 22. Nes golcho Gwaed Jesu ; mae frynti mor gâs.

Psal. 38. 4. Mae pechod fel mynydd o blwm ar ein gwarr,
Mae'n gwascu cyn drwmedd nes plygo pob garr :
Fe'n hela trwy'r ddaiar i uffern yn grwn,
Mat. 11. 28. Oni ddawn at Grist Jesu i laesu 'r fath bwn.

Mae'r fall fel gwr cadarn, yn arfog heb grûn,
Yn cadw gorescyn o galon pôb dŷn,
* Neuadd. Ni ddichon yr holl-fyd ei daflu o'i *Blâs,
† Tafiu. Nes delo Christ attom i †dwmblan e'i mâes.

Mae'r

Mae 'r fâll gwedi 'n clwyfo a'n brathu bôb rhai,
Mae 'n harcholl yn rhedeg, bôb amser heb drai:
Ni ddichon un meddyg dan Haul ein Jachau,
Nes delo Christ attom âi waed i'n glanhau.

Fe ddygodd y Gelyn ein trwssiad a'n grâs,
Fe'n gadodd yn groen-llwn, yn noeth, ac yn gas:
Dewn at ein Brawd hyna, Christ Jesu bôb un, † â'i gyfiawnder
Fe guddia 'n holl noethder † â'i ddillad ei hun, Dat. 3.18.

Mae pawb gwedi marw mewn pechod bob prŷd, Eph. 2.1.
Heb bwer i wneuthur daioni 'n y bŷd,
Nes delo 'r Bywiawdwr Christ Jesu i'n bywhau; Joan. 15.5
An codi o bechod, ac felly 'n cryfhau.

Dewch at y Sarph efydd, dangosswch eich clwyf,
Lle brathodd y neidir chwi 'n fynych trwy nwyf,
Edrychwch yn graffys ar Grist ar y groes,
Fe rêd yr holl wenwyn, fe ddofa 'r holl loes,

Dangoswch eich dolur ich Prynwr heb aeth,
Ni bu dan y nefoedd un Meddyg o'i fâth;
Pob archoll, pob dolur, pob pechod, pob crach,
A phur waed ei galon, fei gyrr yn holl Jach.

Ni ddichon nac eli, na † metswn, na maeth, † meddiginiaeth
Na † phisic, na phlastr, na llysie, na llaeth, † Physygwriaeth.
Na dim ag a enwer, ond Gwaed Jesu Ghrist,
Jachau archoll pechod, mae 'r archoll mor drist.

Mae llawer all hela cornwydon yn Jâch,
Ar frech-fawr, ar cryge, ar clas-gwan, a'r crach:
Ni ddichon meddygon y byd cymain un,
Jachau archoll pechod, ond mab Duw ei hun,

Ni ddichon Angelion, er amled o'u rhif,
Er cymmaint o 'u cryfder er cystal o'u † brif, † Anrhydedd.
Gadw un enaid, rhag myned at goll,
Nes cadwo Christ Jesu, ein helpwr ni oll.

F Ar

Act.4.12. Ar Saint a'r Saintessau, pyt saint oll yng-hyd,
Er amser hên Adda, hyd ddiwedd y byd;
Ni allent hwy gadw un enaid traent byw,
Rhag myned i uffern, heb gymmorth Mab Duw.

Mich.6.6, 7. Pa rhoddit ti 'n offrwm nifeiliaid y byd,
Afonydd o olew, a'th olud i gyd,
Jo.14 6. A'th gyntaf-anedig, a'th fywyd, a'th waed,
Ni chedwit ti d'enaid heb help y mab rhâd.

Pa chwilit ti 'r nefoedd, a'r ddaiar yng-hyd,
A'r awyr, a'r moroedd hyd ddiwedd y byd,
Ni ellit ti ganfod, tra fyddyt ti byw
Un Ceidwad i'th enaid, ond unic Mab Duw.

Nac ymgais am Geidwad heb-law Christ ei hun,
Mae 'n Geidwad galluog, yn Dduw ac yn ddyn,
Nid oes Iechydwriaeth (nac enw dan nef)
I gael mewn neb arall, ond sydd ynddo ef.

Ni chedwir un enaid o'r oes hon y sydd,
Na'r oesoedd y bassodd, na'r oesoedd y fydd,
Ond unig eneidie y gatwo Mab Duw,
Y rhest eisie credu y gollir bob rhyw.

Ymafel yn dy Brynwr, yn Ffest â llaw dy Ffydd,
O mynny gael dy gadw, dal d'afel yntho 'n brŷdd,
Na choll oth afel arno, nes caffech rym a gras,
Oddwrtho i gadw d'enaid, a byth bod iddo 'n was.

Na'mddiried ith weithredoedd, nath ddysc, nath dda, nath (ryw,
Ni all dim gadw d'enaid, ond Ffydd yn un mab Duw:
O rhoi d'ymddiried yntho, ni chollir denaid byth,
Heb Grist os ceisi gadw, di colli ef dros fyth.

Mae pawb o feibion dynion, er Adda hyd diwedd byd,
Gan bechod gwedi llygru, a'u damnio bawb yng-hyd:
Ni chedwir un o honynt, rhag Ange ac uffern drist,
Gwnaed pawb y gore ag allont, nes cadwer hwy gan Grist.

Dewch

Dewch bawb gan hynny 'n gyfan, at geidwad yr holl fyd
I gadw eich trist eneidie, y gollwyd ôll yng-hyd:
Yr vn a ddelo atto fe'i dûg ir nefoedd wen,
Yr vn a beido dwad, fâ i vffern ar ei ben.

Na fydded neb mor angall, mor ddwl, mor ddal, mor ffô',
A throi oddiwrth y Ceidwad, sy'n galw yn eich hôl,
Ni ddiangc neb rhag angeu, ni ddringad vn ir nef,
Ni bydd un dyn cadwedig, nes caffo ei gymmorth ef.

Ni chedwid *Noe*, na *Daniel*, nac *Abram*, *Jôb*, na *Phawl*
Na *Mair*, nac *Ann*, na *Martha*, na neb o rwydau'r *Diawl*,
Na'r plentyn newydd eni, nac vn o eppil dyn,
Trwy nerth a'u gallu hunain, ond trwy nerth Christ ei hun:

Ni chedwir neb tro ganto, o hyn hyd diwed byd,
Ond y rhai gadwo 'r Jesu, mae pryniad dyn mor ddryd:
Ni fyn y Barnwr cyfion syrhâd am bechod dyn,
Lai nag ange gwerthfawr, 'a gwaed mab *Duw* ei hun.

Gan hynny ofer ceisio, help Angel, Sant na dyn,
Na phardwn Pab, na Feren, i gadw enaid vn:
'Does dim ag aller enwi, beth bynnag fytho i ryw,
All cadw enaid *Christion*, ond angeu un mab Duw.

Ni *Chymmer Duw*'r dialau, iawn lai am bechod dyn,
Nag *angeu* holl blant dynion, neu *angeu*'r cyfryw un
Y sae â'i *Angeu* cystal, ac *Angeu* pawb or byd,
Nid oes un *Angeu* felly, ond *Angeu*'r Prynwr dryd

Ni ddichon neb foddloni cyfiawnder *Duw* wrth hyn,
Heb angeu ac vfydd-dod, ein Prynwr Jesu gwynn:
Y neb ni cheisio ei gymmorth, er cymmaint a fo'i feil,
Ni bydd e'n abl atteb, i Dduw am un o fiil.

Mae rhai yn credu gallant, trwy gwaith ai gweddi 'hun,
Ai hympryd ai cardodeu, wir haeddu cymmain un,
Gael diangc poeneu vffern, a dringad chwhip ir nef,
Heb help y gwir jachawdwr, Ffei, ffei, beth wnant ag ef.

Ond pan fo rhain yn tybied, y dringant uwch y Sêr;
I uffern boeth y cwympant, lle syrthiodd Lucifer:
Yn uffern y cant weled, heb Grist ni ddichon dyn,
Fynd byth i deyrnas nefoedd, trwy rym ai allu hun.

Ni ddichon un dyn haeddu, trugaredd ar law Dduw,
Ni bu rioed arno ddlyed, ni bydd byth tra fo byw:
Mae pawb yn rhwym ei 'ddoli, ai foli ag uchel lef,
Heb ddlyed arno er hynny, pawb yn ei ddlyed ef.

Ni ddichon gweddi un dyn, nai cardod o un rhyw,
Nai hympryd nai difeirwch, fodloni r cyfiawn *Dduw*,
Nes darffo i Grist yn gynta, Gymodi 'r dyn ai Dâd,
A golchi a Sancteiddio, y weithred dda â'i *waed*.

*Mae'n rhaid i Grist ail greo, pechadur ar ei lun,*
*Ai droi 'n greadur newydd, ar ddelw Duw ei hun,*
*A newid ei feddyliau, ai raen, ai rym ai ryw,*
*Cyn gallo dyn feddiannu, na gweled teyrnas Dduw.*

Maen rhaid i Grist heddychu, rhwng dyn a Duw ei Dad,
Ai olchi oi bechodau, trwy rym ei werthfawr waed,
Ai wisco âi Sancteiddrwydd, âi holl rinweddau hun
A dodi ysbryd yndo, cyn galler cadw 'r dyn.

*Mae 'n rhaid i Grist ein gwared, o law a gallu 'r fâll,*
*Sy'n cadw mewn cathiwed, mewn carchar tywyll dâll,*
*Yn rhwym ein traed an dwylo, mewn cadwyn pechod câs*
*Ynglyn a chyscod angeu, cyn delom byth i maes.*

Mae 'n rhaid i Grist ddiarfu, y fâll sy 'n cadw llys,
Ynghalon pob pechadur, ai rwymo 'n ffast âi fys,
A'i daflu o'i neuadd allan, a chadw 'r llŷs ei hun,
Cyn elo 'r fâll o'i gastell, na'r ddraig o galon dyn.

Mae'n rhaid i Grist ein gwneuthur, yn blant i Dduw ei *dad*
A'n hadgenhedlu 'n feibion, trwy fabwys prudd a rhâd,
A'n gwneuthur yn 'tifeddion, ir holl alluog Dduw,
Cyn gallom gael paradwys, er cystled y fom byw.

Mae

Mae 'n rhaid i Ghrist ein tynnu, o bob trueni mâs,
O rwydau 'r fall uffernol, a gwefleu 'r angeu glâs,
A'n gwneuthur yn gyfrannog, ó Ffafar Duw ai râd,
Cyn gallo neb feddiannu, o'r deyrnas lle ma'i Dad.

Amhossib yw gan hynny, i un rhyw sath o ddyn,
Feddiannn teyrnas nefoedd, trwy rym ai allu hun,
Na diangc o law Satan, a gweflau 'r ange glâs,
Na dial *Duw* ai felldith, heb gymmorth *Christ* ai râs.

O bwedd i diangc vn dyn, rhag dial Duw a'i fâr ?
Rhag melldith drom y gyfraith, rhag carchar pechod taer,
Rhag gallu prins tywyllwch, rhag dannedd ange trist,
Trwy nerth a'i rym ei hunan, heb gymmorth Jesu Grist.

*Ma'n rhaid i ninne 'r dynion *repento â chalon brûdd,* * *Edifarn.*
*A chredu'n Ghrist ein ceidwad, trwy wîr a bywiol ffydd* Luc. 13. 5.
*A pheunydd wella'n buchedd, trwy nerth ei yspryd ef,* Gal. 5 6.
*A bôd yn bobl newydd, cyn dwcco Christ ni ir nef.* Heb. 12. 14 Joan. 15. 5

*Dewn bawb gan hynny'n gyfan, at Grist ein ceidwad prûdd,*
*Trwy alar a difeirwch, a gwir a bywiol ffydd :*
*Yr vn a ddelo atto, fei dûg ir nefoedd wen,*
*Ar dyn a beido dwad, fa i vffern ar ei ben.*

---

## *Cynhyrfiad i foli 'r Arglwydd Jesu.*

CYffredyn a bonedd, trowch heibio bôb maswedd
A moeswch o'r diwedd gyttuno,
Ar foli 'n garedig y bore Ddy 'n dolig,
Ein Prynwr † arbennig a'i gofio. † *Ardd. rchog.*

Pan gwnaeth *Duw* mor *gymmen y ddau-ddyn or ddairen * *Hardd.*
Fe rhows hwy 'n y berllen i dario,
I gymryd eu plesser, mewn heddwch a 'smwythdr,
O'r prenne melus-per oedd yno.

 Pan

Pan gwelodd ein Gelyn ni gyflwr y ddau-ddyn,
Ai bôd hwy 'mor gyttun yn rhodio,
Ar ddaiar mor ffrwythlon, yn rhoi iddynt ddigon,
Heb drafel a'r ddynion lafurio.

Ac yno daeth Satan, mewn meddwl ac-amcan,
Ar gaffel ymddiddan a hudo,
Yn vnion at *Efa* fel llester o'r gwanna,
A gadel hên *Adda* fynd heibio.

Be bwyttech ti dammed, or Afal goreired,
Nad ydych yn beidded i * dwtshio,
*Cyffwrdd Eich llygaid agore, chwi fyddech fel duwie;
Fel dymma rhinwedde sydd arno.

Yr Afal hi gymrodd, a'r tammaid hi bwyttodd,
Ac *Adda* ni pheidiodd a'i * dasto,
*Brofi: Nes caffel ansmwythder (ond ydyw 'n beth sceler)
†Hysrydd-dwch. Yn dâl am y † plesser aeth heibio.

*Yll dau. Hwy aethant eill * dauwedd, oblegid eu balchedd,
Rhuf. 5. 12 Yn euog o'r diwedd boenydio,
A ninne lin olin, sy'n dyfod o'r gwreiddyn,
Heb allel ond i dilyn nhwy yno.

†Ystâd o ddamnedigaeth. Pan gwelodd Duw cyfion y † poene mor greulon,
A ninne mor weinon yn * singco,
*Seddi. Rhuf. 5.6. Rhows inni gyfryngwr, wrth weled ein cyflwr,
Christ Jesu 'n Jachawdwr i'n swccro.

Hwn aned yn vnig y bore ddy 'n dolig;
(Hwn ydyw 'r gwir Fedddyg iw gofio,)
Mewn presseb anghymmen; ond gwych oedd ein fforten
Pan cawsom fath Gapten i'n * Ledio.
* Arwain.

Dwy nattur neu rinwedd (heb gymmysc y sylwedd)
Ruf. 1. 3, 4. Sydd ynddo (heb ddiwedu iw cofio)
Y Duwdod, y Dyndod, ynghyd iw cydabod:
*Cyffaddef Ac felly mae 'n gorfod * conffesso.

Mae

Mae Dduwdod cyn uchled a'i Dâd y gogoned, †*Teyrnasu.*
Pob amser i'w weled yn † rhaino;
Ai Ddyndod heb allel cyrhaeddyd mor vchel,
Os credwn ni * chweddel ein Credo. * *Geiriau.*

Ond mawr oedd y cariad, pan rhodde 'r ucheldad,
O fenyw 'r fath Geidwad i 'n swccro,
Yn berffaith ddyn cnawdol, fel pob vn o'i bobol, 1Pet.2.22
Ond pechod yn hollol † excepto. † *Wedi neillduo.*

Pan oeddem yn barod, oblegid ein pechod,
I fynd i'r pwll isod i drigo,
Mewn ffwrnes vffernol, a chystudd anfeidrol; †*Dychwelyd.*
Heb obaith † ymwrthol oddyno;

Fe redodd yn feiche, fe selodd ein bande, Heb.7.22.
Fe 'n vnig a fedrei ddad-ddigio:
Fe'n dygodd ni o'r gofyd, fe roddodd i'n rydd-dyd,
Fe barodd i'n iechyd y baro.

Nid Aur o'r melyna, nid cyfoeth o'r *India*, 1Pet.1.18.19.
Allasse bwrcassa * pardino: * *Maddeuant,*
Ond bywyd *y plentyn*, y gwir *Dduw* a'r gwir-ddyn,
*Da iawn ydyw mofyn am dano.*

Trwy hwn y bodlonwyd, trwy hwn y dad ddigiwyd,
Ac heb hwn ni allwyd ei * blessio: ***Foddloni.*
Er mwyn hwn yn vnion, mewn bob rhyw anghenion,
Y gwrendy pob Christion a geisio. Jo. 16.33.

F' offrymmodd ei hunan, yn Aberth bereiddlan;
Rhag ofon i Satan * gongcwero, **Orchfygu*
Fe Sigoedd e o'i sowdwl, fe wnaeth wrth sy meddwl,
*Fe gadwodd y cwbwl a gretto.*

Er bôd ein gweithred yn amal iw gweled, Esay.64.6
Mewn moddion afrifed iw † cownto, †*Cyfrif.*
O ddiffyg ffydd hynod, bôb amser yn barod,
Nid ydynt ond pechod iw * swmno. * *Prisio.*

Trwyd ffydd yn diddenir, trwy ffydd yn perffeiddir,
Trwy ffydd yn ennillir ni 'n †gyrdo:
† *Cyfan-gwbl.* O râs trwy ffydd fywiol, medd *Pawl* yr Apostol,
Eph. 2,8. Mae *Christ* yn ein dethol ni atto.

Ni cheisiodd vn bridwerth, gan vn dyn vn aberth,
**Gospi.* (Er cymmaint y cymerth ê i *blago)
Psal. 51.17 *Ond yspryd drylliedig, a chalon buredig*;
O dewch yn garedig i wrando.

Mat. 11.24. Trwy ffydd y derbynnwn, pob peth ag ofynnwn,
Nid oes dim ag allwn ddymuno,
Nas ceffir ond credu, yn hael gan y *Jesu*,
Cans fe sydd a'r gallu lle mynno.

Act. 3. 19. Trwy-ffydd yngwaed gwirion, ein *Prynwr* gwynn (grasson,
Fe olchir ein beion, pan orffo,
Rhoi cownt am ein gweithred, o flaen y gogoned,
†*Edifar-hau.* Ond iddo gael gweled † *repento.*

* *Sef a Daw.* O! byddwch yn addas, trwy fynych * gymdeithas,
A gwisc y briodas yn gryno,
I fynd i'r llawenydd, ym-mhell o'r aflonydd,
†*Ymddangos o flaen Christ.* Yn barod pan gorfydd † apuro.

A byddwch fal Seinte, ag oel ich lanterne,
Bob nôs, a phôb bore i'ch goleuo:
Rhag dyfod y *Priod*, heb rybydd nac arfod,
**Guro:* Mewn amser heb wybod i * gnocc[illegible].

1 Cor. 15. 58. *A gwnewch eich gwasaneth, i'r Drindod yn helaeth,*
*Tra 'r dydd iechydwriaeth heb * basso,*
* *Fyned heibio.* *Rhag dyfod tywyllwch; Rhyfymol y gwelwch,*
Jo. 12. 35. *Pryd hwnnw, ni ellwch mor gweithio.*

Gweddiwch yn dduwiol, ar eich cadw'n ddihangol,
A bôd yn wastadol yn effro:
Mat. 25. 13 Cans agos yw'r amser, medd *Mathew* dafod-ber,
Fe orfydd ar fyrder ymado.

O byddwch gariadus, wrth fodd *Duw* a'i wllys,
Chwi gewch fôd yn ddilys yn * rhaino, *Teyrnasu.
Mewn smwythder, dedwyddwch, llawenydd, llo- 1 Cor. 2. 9.
A phethau na fedrwch ystyrio. (nyddwch,

Nid oes yno glefyd, na thristwch, nac adfyd, Marc 7.
Na gofal, na gofyd iw gofio; 16, 17.
Ond * miwsic pereiddlon, gan sanctaidd Angelion, *Cerdd.
Na ddichon vn galon fyfyrio:

Gan hynny blwyfogion, chwi gwympwch yn ffydd-
O ddyfnder eich calon weddio, (lon,
Ar Dduw o'i wir fawredd a'i amal drugaredd,
Yno 'n dwyn ar ein diwedd i drigio.

---

## *Gwahoddedigaeth arall i foli Christ Jesu.*

DEwch bawb yn garedig, yn ffres ac yn ffrolig,
Y nawr y nadolig i foli mab Duw,
A Psalms ac â * Hymne, yn hwyr ac yn fore, *Caniadau
Am gadw 'n eneidie rhag distryw.

Dewch, cenwch yn † llafar, nes datsain y ddaiar, † A llais
A dringad eich trwdar i'r trydydd nef, vchel.
I gyffro 'r Angelion, i gyd-ganu â dynion,
I Dduw am ei dirion dangneddef.

Pan na'lle na dynion, na Saint nac Angelion,
Na dim daiarolion, mewn daiar na dwr,
Ein cymmorth na'n helpu, fe helodd Duw 'n prynu,
Ei unic fab *Jesu* 'n Jachawdwr.

**Pwy Dâd y fae perchen deg plentyn ar hugaen,* * Pa.
*Y rodde 'n aflawen y gwaetha iw ladd,*
*Ar grog-pren echryslon, i gadw ei elynion*
*Ai gyrrei yn greulon i ymladd ?*

Duw

☞ *Duw nid arbedodd, roi'r vn mab a feddodd,*
*Ar mwya a garodd o'r byd i gyd,*
*I farw dros ddynion, ar grog-pren echryslon,*
Rhuf. 5. 10 *Pan oeddem elynion gwenwynllyd.*

Gan hynny 'n enwedig, trwy wylie'r nadolig,
Rhown ddiolch caredig i'n cariadus Dâd,
Am roddi mor rassol ei etifedd naturiol,
I fôd i ni 'n nerthol Geidwad.

A molwn yn nessa, â moliant o'r mwya,
Fâb Duw gorucha, gwir Jechyd y byd,
Am ddwad o'i fawredd, o'i nefawl anrhydedd,
I'n tynnu mor rhyfedd o'n gofyd.

O'r nefoedd orucha, o fonwes *Jehofa*,
Daeth mâb Duw anwyla, yn olud i ni,
I gymryd ei ddyndawd, o *Fair* at ei dduwdawd,
Ai wneuthur yn gyd-frawd inni.

I'r stabal anghymmen, o'r nefoedd ddisclair wen,
I breseb yr vchen, o'i oruchaf lys,
O blith yr Angelion, i gadw plant dynion,
Y daeth yr oen tirion cariadus.

Mab Duw gorucha, *Duw*, 'r *Gair* mi a'i henwa,
Joan. 1. 1, 2, 14. Etifedd *Jehofa*, *Duw*, Mab y *Duw* mawr,
Y wnaed yn ddyn cnawdol, o *Fair* yn rhefeddol,
Rhuf. 1. 3, 4. I Achub ei bobol drallod-fawr.

Y *Duw* rhwn y greodd, nêf, daiar a dyfroedd,
Col. 1. 14. *hyd yr* 20. Y *Duw* rhwn a luniodd, yr haul yn y nêf,
Y wnaethpwyd yn blentyn, yn fachgen, yn fwydyn
A milwyr cyffredyn a'i laddef.

Dewn bob rhai gan hynny, clodforwn y *Jesu*,
Ymrown bawb i ganu, gogoniant a mawl,
Ar dafod ar danne, yn hwyr ac yn fore,
I'n Prynwr mewn hymne nefawl.

A galwn y nefoedd, a'r ddaiar a'r moroedd, Psal. 148.
A phawb o'r llubedd, fydd ynddynt, yn † llonn, †*Llawen.*
I gyd-ganu moliant, a chlôd a gogoniant,
I Awdwr ein ffyniant, yn ffyddlon.

Fel *Sidrac* o'r ffwrnes, fel *Zachray* o'i gyffes, Dan. 3.
Fel *Miriam* a *Moses*, ar lan y môr, Luc. 1.
Clodforwn y *Jesu*, y ddaeth i'n gwaredu, Exod. 15.
O'r ffwrn a'r carchardy * caetor. **gwangeus*

A throelwn ei wylie, er côf am ei ddonie,
Y mödd ac y gwedde,, i wyl *Jesu* gwyn,
Mewn nefawl hyfrydwch, a duwiol ddifyrwch,
A phrudd ddiolchgarwch gennyn.

Mae'r *Arglwydd* yn erchi, i'n bawb fôd yn † firi, †*Llawen.*
A llawen a llonni, mewn llann ac mewn llys,
Yn Awdwr ein heddwch, a Thâd ein diddanwch,
Trwy fôd ein difyrwch yn *weddus.*

Gan hynny 'n enwedig, y nawr ynadolig,
A'r galon yn ffrolig, a'r wyneb yn ffres,
Gwir orfoleddwch, yn Awdwr eich heddwch,
Rhowch ymmaith bob triftwch anghynnes.

Trwffiwch eich Tie, hwyliwch eich bwrdde,
A phob fir or gore, o gariad ar Ghrift:
Gwahoddwch i gilydd, i gynnal llawenydd,
Na chedwch ei wyl-ddydd yn athrift.

Cwnnwch eich calon, cymmerwch eich digon,
Gwachelwch ormoddion, mae meddwi yn gâs;
Na cheifiweh lawenydd, mewn diod a bwydydd,
Ond yn eich Achubydd addas.

A chenwch trwy 'r gwylie dduwiol ganiade,
Na fonniwch am fenne, ar wylie 'n gwir Sant:
Ond firiwch eich hunain, ar Fab Duw fy'n darllain
Fôd yndo iw'ch gywrain faddeuant.

Nac

*†Tai putteinaid.*

Nac ewch ir tafarne, a'r aflan † stywdeie,
I lorian y gwylie, mae 'n gwilydd y gwaith:
Amherchi Duw 'n prynwr, bodloni 'n gwrthnebwr,
Mae 'r cyfryw â'i dwndwr diffaith.

☞ *Ymmaith â'r cardie, â'r dwndran, â'r dissie,*
*A'r gloddest, â'r gwledde bair Christion yn glaf,*
*A'r meddwdod a'r tyngu sy'n nyrddo a nafu,*
*Nadolig Duw Jesu anwylaf.*

*†Cymmwysach.*

Cymrwch y Psalmau, ar sengyl wen olau,
Yn lle'r pâr cardiau, os gwyr-da 'ych heb ddig:
† Ffittach i Gristion nâ 'r pâr cardiau brithion,
Yw'r sengyl wen-dirion nadolig.

Gan hynny ymsiriwch, a gwir orfoleddwch,
A neidiwch, a molwch eich *Prynwr* mawr,
Cenwch glôd iddo, a churwch eich dwylo,
Hyfrydwch yndo yn ddirfawr.

Rhowch foliant rhagorol, i'r yspryd sancteiddiol,
Sy'n dangos i'r bobol, o'r *Bibl* yn rhâd
Fôd pardwn a Jechyd, a heddwch a bywyd,
Iw gael yn ein hyfryd Geidwad.

I'r Tâd 'rhwn an creodd, i'r mâb rhwn an prynodd
I'r yspryd a'n gloywodd, â'r† gair â'r dwr glan
Y bytho bôb ennyd ogoniant tra hyfryd,
Ym-mhôb mann o'r holl-fyd yn gyngan.

*† Mae'r gair yn offeryn yn llaw Dduw i buro ac i sancteiddio eneidiau pobl,* Jo. 17.17. Psal. 19.7. *Mae 'r rhinwedd sydd yn y dwfr i lanhau (â pha un yr ydys yn bedyddio) yn arwyddocau, nid yn unig rhinwedd gwaed Christ yn golchi ymmaith euogrwydd pechod, ond hefyd rhinwedd yspryd Christ yn puro ac yn glanhau oddiwrth bwer a grym pechod,* Act. 22. 16. Datc. 1. 5. Tit. 3. 5, 6. *ond mae Christ yn dangos yn nameg yr hauwr a'r hâd:* Mat. 13. *fôd llawer math o wrandawyr, trwy eu bai eu hunain, heb eu sancteiddio trwy 'r gair. A chan fôd Christ yn dywedyd, mai wrth y ffrwyth y nabyddir y pren,* Luc. 6. 44. *ni ellwn ddywedyd, fôd llaweroedd a fedyddiwyd â dwfr, heb eu gloywio au puro a'r yspryd glan; heb loywiad, a phuriad pa un, nis gellwn gymryd cyssur er ein bedyddio â dwfr,* Gal. 6. 15. *ac er ein bôd yn wrandawyr y gair.* Jac. 1. 22.

*Annogaeth*

## *Annogaeth i ddiolchgarwch am ein prynedigaeth trwy Ein Harglwydd Jesu Grist.*

CUrwch bawb eich dwylo ynghyd, Psal. 47. 2.
Bendithiwch *Dduw* o bryd i bryd:
Am roi vnig fab i'n prynu,
Pan yr oeddem gwedi 'n * damnu. *Mewn gyflwr o golledigaeth.

Cwympwch bawb ar ben eich glinie,
*Aberthwch* iddo nôs a bore
Clôd a moliant, nerth a gallu,
Am roi vnig fab i'n prynu.

*Bys ystyriem faint yw 'r dlyed,*
*Y sydd arnom iddo o'r parthed;*
*Ni wnaen swydd ar nôs a bore,*
*Ond ei foli ar ein glinie.*

Pan yr oeddem gwedi myned,
Dan law Satan i gathiwed, Act. 26. 18.
Fe rows Duw ei fab i'n prynu, 1 Jo. 3. 8.
Pan na alle neb ein helpu.

Carcharorion dan law Satan, Eph. 2. 2.
Yn y † Dwnshwn mawr yn cwynfan; Luc. 4. 18.
Byth y byssem bawb yn gryddfu, † Carchar tywyll.
Oni bysse 'r Jesu ein prynu.

Nid oedd lûn i * *reconsilo* *Heddychu
Duw 'r cyfiawnder gwedi ddigio,
Oni bysse ei vn mab *Jesu* Col. 1. 20.
Farw drosom er ein prynu.

*Nid oedd lûn gwaredu enaid* Acts 4. 12.
*Vn pechadur o'r pwll * tanbaid,* * Tanllyd.
*Oni bysse i'r Jesu cyfion*
*Dalu drosto waed ei galon.*

Christ

Christ y rows ei werthfawr waed,
Yn bridwerth drosom idd i Dâd:
Heb. 2. 14, 15. Ac a'n rynnodd trwy fawr grysder,
O law Satan oedd y shailer.

Psal. 124. 7 *Adar oeddem gwedi 'n dala,*
*Yn rhwyd Satan idd i difa;*
*Christ y dorrod y rhwyd drosom,*
*Ninne 'r * Adar a ddihangsom.*

*Sef y ffyddloniaid usydd, edifeiriol, nid neb arall.*

Dafad oeddem aethe ar ddidro,
I blith bleiddiaid i gyrwydro,
O'r wir gorlan ym Mharadwys,
Ar ôl Satan pan ein temptiwys.

Luc. 15. Christ yw 'r Bugail y ddoe i 'mofyn
Hon i blith † bwystfilod scymmyn,
Ac y ddyge 'r ddafad adre,
O eneu 'r diawl ar ei scwydde.

†*Anifeiliaid gwylltion.*

Ni yw 'r gwŷr y gas eu speilio,
A'u harcholli wrth dramwyo,
I *Jericho* ô *Jerusalem*,
Heb neb a'n cwnne o'r clawdd lle 'roeddem.

Luc. 10. 33 34, 35. Christ yw 'r mwyn *Samaritan*,
Y rwyme 'n harcholl yn y man,
Ac yn dyge hyd yr ostri,
Yno i'n swcro a'n cynfforddi.

Y Sarph a'n brathodd ym-mharadwys,
A chol pechod pan ein twyllwys:
Christ eliodd ein archollion,
Yn swyn iawn â gwaed ei galon.

Num. 21. Nid oedd dim a alle helpu
*Israel* gwedi 'r Seirph eu barthu,
Ond golwg * hyll ar Sarph o brês:
Dim amgenach ni wnae lês.

*Cruff.

Nid

Nid oedd dim a'n helpei ninnau, Jo.3.14.15
Gwedi 'n brathu â chol pechodau,
Ond Christ Jesu gwedi hoelio,
Oedd y Sarph yn * represento. * Arwyddocau.

Tebig oedd ein cyflwr gwann,
I adar bach y *Pelican*,
Y sae 'r Neidir gwedi nasu,
Nes caent waed eu mam i helpu,

Pan y gwelas *Christ* ein cyssur, Heb.9.14.
Megis *Pelican* twym nattur :
Fe rows inni waed ei galon,
I elio ein archollion.

O * considrwn ninne 'n † câs, * Ystyriwn † Cyflwr.
A'r daioni mawr a'r grâs,
Y ddaeth inni 'r byd colledig,
Drwy ddioddefaint Christ yn vnig.

*Slafiaid Satan, Gweision pechod,*
*Plant digofaint, Bwyd bwystfilod,* Act.26.18
*Oeddem bawb, oni bysse 'r Jesu* Jo.8.34.
*Ddaeth o'r nef i'r groes i'n prynu.* Eph. 2.3.

Beth yw dyn heb gyfnerth Christ,
Ond gwâs a * slâf i'r cythrel trist, * Caethwas.
Gwedi Dduw ei farnu eisiwys, Jo.3.18.
Fynd i vffern o Baradwys.

Nid oes dyn a ddichon gadw
Ei enaid bach rhag iddo farw,
Nes y caffo gyfnerth *Jesu*,
A'i waed gwerthfawr idd i olchi.

Nid oes dyn a ddichon wneuthur
Jawn i Dduw am bechod bydur,
Nes y caffo waed yr oen, 1Pet.1.18
I dalu 'r pris, i ddofi 'r poen. 19.

*Difſy-chau. Chriſt yw 'r *Oen* * diſpotte i gyd,
Sy'n tynnu ffwrdd bechode 'r byd,
Ac yn dofi llid ei Dâd,
A'i fywyd gwyn, â'i werthſawr waed.

Heb.4.12. Rhuf.8.34 Chriſt yw 'r *ffeiriad* ſy'n y nêf,
Yn gwneuthur droſom weddi grêf;
† Prid-werth. Gwedi offrwm gwaed ei galon,
Ar y groes yn † ranſwm droſom.

*Chriſt* yw gwir *oleuni* 'r Byd,
*Chriſt* yw 'n *Bywyd* ôll i gyd,
*Ghriſt* yw 'n *Cynfforddd*, *Chriſt* yw 'n Ceidwad,
1Pet.1.20 *Chriſt* yw 'n *Helpwr* o'r dechreuad.

Jo.3.36. *Heb Griſt nid ym ond colledig,*
*Trwy Griſt yr ym yn gadwedig,*
*Heb Criſt ni chawn weled* Duw,
*Trwy Griſt ni gawn yndo fyw.*

Datc.21.8,27. Pôb dyn aiff i vffern driſt,
Ond y gretto yn Jeſu Griſt:
Ac heb *Griſt* ni ddichon un dyn,
Fynd i'r nêf er maint o'i roſyn.

Dyſgwn bawb gan hynny gredu,
Act.3.23. Yn ein Prynwr mawr *Chriſt Jeſu*;
*Bod yn vfydd iddo. *A meddyliwn * wrando arno,*
*Os 'n y nef y mynwn dario,*

*Prynodd Chriſt â Gwaed ei galon,*
*Yr hôll fyd o'i poenau trwmion*;
*Llawer mil o'r Byd er hynny,*
*Ant i vffern eiſieu credu.*

Mat.7.13 Er croes-hoelio 'r *Jeſu* droſom,
A rhoi taliad llawn am danom,

Etto ni bydd neb cadwedig,
* Ond y gretto yndo 'n vnig.

* *Ni bydd neb cadwedig, ond y gretto yntho â'r fâth ffydd ag sydd yn puro 'r galon oddiwrth bechod, gan jôd o gariad at Dduw yn fywiol at weithredoedd da. Ni thâl y ffydd farw sydd gan lawer oedd (gydâ'r hon nid oes nac edifeirwch, na glendid calon, na Sancteiddrwydd buchedd) mo'r glâs wellt yn tuag at jechydwriaeth, yn gymmaint a bod y ffydd honno gan y diafol, ac nid yw ef nes er hynny i fod yn gadwedig:* Act. 15. 9. Mat. 5. 8. Gal. 5. 6. Mat. 7. 21. Jac. 2. 14, &c.

Credwn yn Grist, ac fe'n cedwir,
Oni chredwn, yno ein collir;
*'R vn y gretto gaiff ei gadw,*
*Rhwn na chretto collir hwnnw.*

Nid aiff vn na mawr na bâch,
Byth i vffern i roi gwâch,
Ond y dyn y beidio a chredu,
Yn y Prynwr mawr *Christ Jesu.*

*Porth y nêf sydd lêd agored,*
*Ddydd a nos heb arno gayed,*
*I bôb grâdd o gywir gristion,*
*Ag y gretto yndo 'n ffyddlon:*

Ni bydd sôn byth am eu beie,
Na'u drwg nattur, na'u pechode:
Hwy faddeuwyd, ac hwy * flottyr,
A gwaed Ghrist i maes o'r llyfyr.

* *Osodir allan.*

*Christ* ein golchodd o'n pechodau,
*Christ* y brynodd ein eneidiau:
*Christ* ein † dwg i deyrnas nefoedd,
Nyni biau 'r maint y brynodd.

*O moliannwn ninne 'r Jesu,*
*Ddydd a nôs am dano ein prynu:*
*Ac na anghofiwn tra chwyth ynom*
*Faint o bethau wnaeth ef * erddom.*

† *Sef y cywir gristnogion, fel y mae efe 'n dywed, d o'r blaen, ac nid y gweithred wyr anwiredd,* Mat. 7 21, 23.

* *trosom.*

Clôd a gallu, mawl a moliant,
Gwir anrhydedd a gogoniant,
Y fo i'n Prynwr mawr a'n Pen,
*A dweded nêf a daer, Amen.*

---

*Cyngborau duwiol i bôb dyn ac y ddymuno gael ffafar Duw, a maddeuant am ei bechodau.*

**Er bod llawer o waith yr Awdwr yn dra rhagorol, etto y mae y tair can hyn a ganlynant yn haeddu eu printio a llythrennau o aur.**

PWY bynna geisio maddeu,
Ei bechod a'i drosseddeu,
†*Maddeuant.* A chael † pardwn gan Dduw gwyn,
Rhaid dilyn hyn o werseu.

Dihar. 28. 13. Yn gynta adde 'th bechod,
Yn brûdd o flaen y Drindod;
*Na chais gelu dim rhag Duw,*
*Does bai nad yw 'n ei wybod.*

Gwedyn prawf ddeallu,
Rhuf. 6. 23. Pa ddial wyt ti 'n haeddu,
A pha angeu * didrangc maith,
*Tragywyddol.* Am dan dy waith yn pechu.

A deall fôd dy feie,
Yn haeddu vffernol boene:
Joel 2. 13 *Gwedyn cais â chalon drist,*
Dan. 9 17. *Gan Dduw er Christ ei madde.*

Eph. 1. 7. Jo 14. 14. 1 Jo. 2. 2. *A dysc yn brûdd gydnabod,*
*Nad oes o flaen y Drindod,*
*Iawn am bechod ond gwaed Christ,*
*Ai angeu trist a'i 'fudd-dod,*

A

A chrêd ith Brynwr Jesu, 1 Pet. 1. 18, 19.
 Yn gwbwl gyflawn dalu, Mat. 20. 28
Ar y groes yn ddigon drûd,
 Am feiau 'r bŷd sy 'n credu.

A gwybydd fôd Duw 'n foddlon, Mat. 3 17.
 Ir iawn y wnaeth Christ droson,
Ac er ei fwyn yn barod iawn,
 Roi pardwn llawn ir ffyddlon.

A chrêd y madde i tithe, Jo. 3. 16.
 Dy bechod ath droseddc, Heb. 8. 12.
Ond it geisio er mwyn Christ, Jac 4. 9, 10.
 A chalon drist eu madde.

Na chytgam geisio celu,
 Mor pechod wyt ti 'n garu,
Addeu 'r cwbwl ger bron Duw,
 Peth ofer yw ei wadu.

A barn dy hun yn euog, 1 Cor. 11. 31.
 O flaen yr Holl-alluog,
Fel nath farner ar ddydd * brawd, *Barn.
 Ar goedd trwy wawd digassog.

Alara am dy bechod,
 Yn ôl ei weld a 'i nabod; Jac. 4. 9, 10.
A 'mofydia nôs a dydd,
 Nes itti 'n brûdd ei wrthod.

Cwra 'r galon brûdd ochneido,
 Ar llygaid ddyfal wylo,
A gwna ir yspryd brûdd dristhau,
 Edifarhau a * mwrno. *Galaru.

A chais gan Dâd goleuni, Ezek. 36. 26.
 Roi calon dyner itti;
A 'mofydia ambell awr,
 Am dan dy fawr ddrygioni.

Na orphwys byth yn ceisio,
Nes cael gan Dduw dy wrando,
A rhoi calon it dristhau,
Edifarhau ac wylo.

Psal. 119. 114. Yn ôl it fwrno ennyd,
Am dan dy bechod oflyd,
Dala afel tra fech byw,
Ar bromais Duw ai 'ddewid.

Mat. 5.4. Mae Duw 'n ei air yn addo,
†Galaru. Diddanu rhai fo 'n † mwrno,
A rhoi hefyd bardwn clûr,
*edifarhao I bawb y wir * repento.

Luc. 13.5. *Repenta 'th fywyd anllad,*
Jo. 3.16. *A chrêd yn Ghrist dy geidwad,*
Esa. 55. 7. *Gâd dy feiau tra ynod chwyth,*
*Ni chollir byth o hanad.*

Esa. 35.4. Mae Duw yn addo helpwr,
A cheidwad a diddanwr,
I bôb dŷn difeiriol trist,
Sef Jesu Grist dy brynwr.

Esay i. 16, 17, 18. Mae Duw yn addo madde,
Dy bechod ath drosfedde,
Ath olchi 'n lân oth frynti i gŷd,
Ond gado ym-mhryd dy feie.

Jer. 3. 12. O byddi di difeiriol,
Mae 'n addo bôd yn rasfol,
* Hael. Diddig, tirion, mwyn, a * ffri,
Rhuf. 5.1. A byth â thi 'n heddychol.

Mae 'n addo dy lwŷr olchi,
Oddi wrth dy feieu ath frynti,
Esa. 1. 18. Yngwaed ei fâb (o cofia hyn)
Ath droi mor wynn ar Lili.

Dal

Dal afel * ſuwr fel Chriſtion, *Siccr.
  Ar hyn o addewidion :
Nêf a daer ânt heibio (clyw) Mar. 24: 35.
  Cyn torro Duw † bromeiſon. †Addewidion.

Caſâ dy bechod oflyd, Rhuf. 12. 9
  Fel neidir gâs wenwynllyd,
Sy'n ceiſio 'th ladd o gyſgod llwyn,
  Dan gêl, a dwyn dy ſywyd.

Na ddere ir mann lle gallo, Dihar 4. 14, 15. 16.
  Dy bechod taer dy hudo,
* Paſſa heibio, neu dro 'n d'ôl, *Dos:
  Na ddôs fel ffôl ith demptio.

Or doi ar draws y neidir,
  A cholyn hon ſeth frathir :
O doi 'n rhy agos at y tân, Dihar. 6. 27, 28.
  Medd ſcrythur lân ſeth loſcir.

*Gan hynny ymgadw arnad,*
  *Rhag tramwy lle bo 'r * temptiad :* *Profedigaeth.
*Gwell it drol nâ mynd ir mann,*
  *Nid wyt ond gwann ac anllad.*

Na thro at bechod eilwaith, 2 Pet. 2. 20, 21, 22.
  Fel ci neu fochyn diffaith,
Y rêd ir dom yn frwnt ei fri,
  Yn ôl ymolchi vnwaith.

Na ddilyn ddrwg gyfeillach, Dih. 24 1.
  Ath * helo 'n ffolach ffolach : *Yrro.
Ni thâl ceiſio troi at Dduw,
  Nes gado 'r cyfryw ffrythnach.

A glŷn wrth bobol dduwiol,
  A * Marca eu ymddygiad graſſol ; * Craffa.
Da a difyr yw 'r fath wŷr, Pſal. 119. 63.
  Ith ddwyn ir llwybyr nefol. Phil. 3. 17.

Psal. 51. 10 A chais gan Dduw trwy weddi,
Dy droi oddiwrth ddrygioni,
Ath gyfrwyddo tra fech byw,
I garu Duw a'i ofni.

A nâd ir fâll dy ddallu,
Ath annog mwy i bechu:
†Sathra. Rhuf. 16. 20. † Damffing Satan dan dy draed,
Trwy rinwedd gwaed y Jesu.
Dat. 12. 11 Na ddere at y Meddwon,
Rhag newid dy arferion,
Fel y newid y môr glâs,
A heli flâs yr afon.

Ymâd â phôb cyfeillach:
Ath helo 'n annuwiolach:
Tynn oddiwrthynt, casâ eu ffyrdd,
*Pyg. Fef* pitch y nyrdd dy gadach.

---

*Cynghor i gredu yn Grist, a dangosiad o'r newidiad rhyfeddol sydd yn y dyn a gretto.*

Luc. 14. 16 hyd y 25. CRêd yn Ghrist, llef am dy geidwad,
Mae Duw 'n cynnig Christ i fagad;
Derbyn Grist, pan y cynnico,
Onis gwnei ti fyddu hebddo.

Y dŷn a gretto yn Ghrist yn brûdd,
Trwy galon rwydd a bywiol ffydd,
2 Cor. 5. 17. Mae Christ yn rhoi i hwnnw râs,
I fyw fel sant o hynny maes.

Jo. 7. 39. Gal. 5. 22. Mae Christ yn rhoi ei yspryd iddo,
I ail eni a'i ail lunio,
†Gwrthryfelwr. Ai lwyr droi yn ddŷn o newydd,
O † rebel ffôl yn blentyn vfudd.

Mae

Mae 'n rhoi ei air i wir oleuo,
Maę 'n rhoi ei râs i gynnorthwyo,
Mae 'n rhoi ei yspryd i reoli,
Mae 'n rhoi ei hun yn bôb peth inni.

Nid oes lûn i ddŷn wrth hyn,
Y gretto yn gryf yn Jesu gwynn,
Na chaffo râs a grym oddiwrtho, Jo. 15. 5.
I fyw fel sant, os crêd ef ynddo.

Mae crêd yn tynnu grâs a gallu, Act. 15. 9.
Oddiwrth Ghrist ir dŷn ddifaru,
Am bob bai o'i fuchedd aflan, 1 Jo. 3 3.
A byw fel sant o hynny allan.

*Oni bydd dy ffydd yn tynnu*
*Grâs O Grist, ith adnewyddu;* Jac. 2. 14.
*Dy ffydd sydd ffalst, ni thâl hi ddimme,*
*Nes tynno hi râs i wella 'th feie,*

Mae bywiol ffydd yn tynnu grâs,
A grym O Ghrist, O hynny maes,
I roi heibio bob hên grefydd, 2 Cor. 5. 17.
Ac i wneuthur ôll o newydd.

Er creuloned a fo'th nattur,
Er bychaned a fo'th synwyr;
Crêd yn Ghrist a galw arno,
F'all dy wella 'r awr y mynno.

Er creuloned oedd y † Iailer, † *Ceidwad y carchar.*
Er bod Saul yn filain sceler,
A Manasses gwaeth nag hwynte,
Fe gwnaeth Christ hwy 'n saint or gore.

Fe'th wna dithe o bechadur
Oflyd, aflan, drwg dy nattur, Ezek. 36. 25.
Yn wir sant, os credu ynddo,
A thynny grâs a grym oddiwrtho.

1 Tim.1. 12, 13. Fe wnaeth Christ o hên herlidiwr,
Saul, yn ebrwydd yn bregethwr;
Luc.7. 39, 50. Ac o'r wreigin ddrwg dros ben,
Y gigfran ddu, yn glommen wenn.

Crêd yn Ghrist â chalon gywir,
Fe wella Christ dy naws ath nattur:
O fâb ir fall fe'th wna di 'n gristion,
O elyn Duw yn blentyn grasslon.

*Na thyb dy fod yn credu 'n gywir,*
☞ *Oni newid Christ dy nattur:*
*Y dyn y gretto yn Ghrist yn ffyddlon,*
*Fe newid Christ ei ddrwg arferion.*

*Cenfydd Saul, a chenfydd Zache,*
☞ *Cenfydd Mari Magd'len hithe,*
*Newid *Di gei weled Christ yn * altro,*
*Buchedd pob dyn pan y cretto.*

Er bod Saul fel Blaidd y bore,
Cyn credu yn Ghrist yn difa 'alle,
Fe wnaeth Christ cyn cenol dydd,
Y Blaidd yn oen, pan trowd ir ffydd.

Luc. 19. Cyn i Zache fynd yn gristion,
Roedd e'n pilo pawb o'r tlodion:
Gwedi credu fe rows Zache,
Ran ir tlawd o'r maint y fedde.

Er i Fagdlen fŷw 'n rhyfygus,
Cyn credu yn Ghrist, a phechu 'n rhwyfus,
Fe fu Fagdlen ar ol credu,
Fyw fel Santes nes ei chladdu.

Felly dithe a newidij,
☞ Dy arferion ond it gredu:
*Nes newidiech dy arferion,*
†Ond tyb cás. *Nid yw'th ffydd ond † phansi ffinion.*

Ffydd

*Ffydd heb weithred dda 'n ei dilyn,* Jac. 2.
*Sydd ffydd farw, ffydd heb eulyn,*
*Ffydd i'th ddallu, ffydd i'th dwyllo,*
*Ffydd sydd barod i'th gondemnio,*

*Ni bydd tân heb wres lle bytho,* 
*Ni bydd dwr heb wlybrwydd ynddo,*
*Ni bydd 'fallen dda heb fale,* Gal. 5. 6.
*Na bywiol ffydd heb fywiol ffrwythe.*

Os dywed vn ei fod ê'n credu,
Ac heb wella ei feie er hynny, 1 Jo. 3. 6, *hyd* 11.
Nid oes dim ffydd gan hwn, ond ffrôst,
Yn twyllo 'i hun yn daran dôst.

*Ni all dyn sy'n credu 'n ffyddlon,* Jo. 7. 39.
*Lai nâ gwella 'i ddrwg arferion,* Gal. 5. 22.
*Waith bôd Christ yn rhoi 'lân yspryd,*
*Ir pechadur 'wella ei fywyd.*

Nâd dy dwyllo ddrwg ddyn aflan,
Lle bo ffydd mae buchedd burlan:
Od yw dy ffydd yn talu ei gweled,
Moes ei dangos wrth dy weithred. Jac. 2. 18.

Onid yw dy ffydd yn fywiol,
*Yn dwyn gair a gweithred rasol,*
*Nid yw hon ond ffydd mewn enw,*
*Ffydd na ddichon byth dy gadw.* Jac. 2. 14.

---

## *Cynghorion yn cyfarwyddo dyn, pa fôdd a daw ef i fyw yn ol ewyllys Duw, neu 'n ddeddfol.*

Y Neb a fynno fyw yn ddeddfol,
Yn ôl gwllys ei Dâd nefol,
Cynta peth sydd raid i wneuthur, Dihar. 1. 10, 15.
Tynnu o blith y drwg weithredwŷr, Ps. 26. 4, 5.

A rhoi fynydd ddrwg gwmpniaeth,
Yn dragywydd heb ddim hiraeth,
*cyfeillath Megis Moesen * gwmpni 'r Aiphtiaid,
Heb.11.27. Lot ac Abram y Caldeaid.
Gen.12.
1,4.
*Fel y tâg y gwûg y gwenith,*
*Fel y sura fineg lefrith,*
Dihar.22. *Fel y nyrdda pyg dy gadach,*
24,25. *Felly 'th nafa drwg gyfeillach.*

Gwachel neidir rhag dy frathu,
*ehwarren Gwachel * blâg rhag dy ddifethu:
*Ac o ceri iechydwriaeth,*
*Gwachel ddilyn drwg gwmpniaeth.*

Tynn o *Sodom*, dere allan,
Rhed o blith y bobol aflan:
Gâd oferwyr, cadw d'enaid,
Tynn o blith yr anffyddloniaid.

Tra fu Foesen gydâ 'r Aiphtiaid,
Tra fu *Abram* gydâ 'r Siriaid,
*Sef yn y fath fodd ogoneddus, ag y gwnaeth ef ar ol hynny. * Ni'mddangossei 'r Arglwydd iddynt,
Nes eu tynnu 'mhell oddiwrthynt.

Rho gwmpniaeth plant y fall,
Heibio 'n ebrwydd o dwyd gall
2Cor.6.15 Ni bydd cydfod rhwng Duw 'r heddwch,
A chyfeillion plant tywyllwch.

Gwedyn dilyn brûdd gyfeillach,
† Ddirwystyr. Pobol dduwiol, ddoeth,† ddianach,
Dihar. 13. Rhai y ddyscant itti nabod,
20. Y gwir Dduw a'i ofni 'n wastod.

Tra fu *Saul* yng-hwmpni *Samuel*,
1Sam. 19. Fe aeth Saul yn fant o gythrel:
24. Tra fu e'n dilyn pobol ddiffaith,
F'aeth y fant yn gythrael eilwaith.

Dilyn

Dilyn Brophwyd, fe'th oleua, *Fel offeryn yn llaw Dduw ir pwrpas hynny.
Dilyn Athro, fe'th gyfrwydda,
Dilyn Sant, * fe'th wna di'n sanctaidd;
Dilyn ffol ti ddeui 'n ffiaidd.

Gwedyn canlyn ar dy liniau,
Ar Dduw ddangos it ei lwybrau, Psal 25.4.
Ath lwyr droi yn dra awyddus, Psal. 119. 176.
O bôb llwybyr traws twyllodrus.

Nes goleuo Duw dy lygaid, Eph. 5. 8.
Nes dadfywio Christ dy enaid,
Ni chanfyddu ffordd y bywyd,
Mwy nâ'r dall yr haul-wen hyfryd.

Cymmer lantern Duw 'n dy law,
I'th oleuo ymma a thraw;
Nid aiff neb i dir y bywyd,
Heb oleuni 'r Scrythur hyfryd.

Gwna 'r peth archo 'r fengyl itti,
Paid a phob peth na boi 'n erchi; Jac. 1. 22.
Hi'th gyfrwydda fynd o'r diwedd,
I gael bywyd a thrugaredd.

Gwedyn gwachel yn ystyriol,
Rhag byw 'n ôl dy 'wllys cnawdol, Ruf. 8. 13.
Nac wrth fôdd dy galon gynnil,
Ond yn ôl goleuni 'r fengyl.

Ac or ceisii gael derchafiaeth,
Gras, a dawn, a iechydwriaeth,
Dewis, dilyn, cerdd heb golli, Psal. 128. 1
Y ffordd a ddysco 'r Arglwydd itti:

Hi fydd cyfyng ar y dechre, Mat. 7. 13.
A gwrthnebus ith drachwante:
Ar y diwedd hi fydd esmwyth,
Ith ddwyn at Grist yn ddisymwyth. Mat. 11. 30

Ffordd

*Fford i ddestryw sydd yn wastad,*
*Ac yn esmwyth ei dechreuad:*
Dihar. 14. 12. *Ond yn niwedd ffordd annuwiol,*
*Y mae 'r pwll a'r ffoes uffernol.*

Datc. 2. 10 Gwedi dechreu 'r ffordd trwy rinwedd,
Deut. 5. 32. Prawf i dilyn hyd y diwedd;
Ac na chytgam droi oddiarni,
Nes dy ddwyn i wlâd goleuni.

†Daith. *Nid wyt nês er dechreu 'r † shiwrne,*
*A throi gwedyn at dy feie:*
*Addewid *Nid oes * Bromais gael y goron,*
*Heb barhau, hyd Angeu 'n ffyddlon.*

Fe ddechreuodd *Saul* a *Suddas*,
Heb. 10. 38, 39. Fynd tu ar nêf ar drot fel *Demas*,
*Waith* deffygio cyn diweddu,
*F'aeth y tri ir poeth garchardy.*

Mat. 11. 29. Dilyn Grist ar air a gweithred,
Troeda 'r ffordd y fu e'n gerdded;
Gwna 'r peth archwys yn y scrythur,
Ni throi droedfedd dros y llwybyr.

---

## *Galarnad Pechadur.*

O Arglwydd Tâd diddanwch,
Clyw gwynfan a difeirwch,
†Gyflwr. Hên Bechadur gwael ei † gâs,
Sy 'n deisyf grâs a heddwch.

Mi'th ddigiais di mor greulon,
Fy nhâd a'm Harglwydd tirion,
Fel na baidd fy 'nghalon drom,
Droi attad o'm golygon.

Gan

Gan hynny am pen ir ddaiar, Luc. 18. 13
  Fel Publican edifar,
Jr wi dy annuwiolaf wâs,
  Yn crio am râs a ffafar.

A'th ffafar wi 'n ei ofyn,
  Er mwyn fy mhrynwr purwyn,
Y fu drofwi ar y groes,
  Yn godde loes efcymmyn.

Ac oni chafi † Bardwn, † Faddeuant.
  Er mwyn ei loes ai * Baffiwn, * Ddioddefaint.
F'orfydd arnai fynd yn † boft, † Ebrwydd.
  I uffern dôft ai * Dwngiwn. * Carchar dwfn.

Os Arglwydd er yn blentyn,
  'rwi 'n pechu 'n dôft ith erbyn,
Heb wneuthur prîs oth Gyfraith gaeth,
  Ond byw yn waeth nag un-dyn.

Dy Enw mawr y geblais,
  Dy Scrythur a ddirmygais,
A'th Efengyl gywir iach,
  Fel chweddel gwrach y briffiais.

Y gwerthfawr waed y gollaift,
  O'th galon pan i'n prynaift,
Wi'n ei dyngu ddydd a nôs,
  Heb brifio 'r loes a gefaift.

Dy Sabboth a'th ddydd Sanctaidd,
  Y dreuliais innau 'n ffiaidd,
Mewn cyfeddach, meddwdod brwnt,
  A mafwedd tu-hwnt i weddaidd.

Pan bo pawb ar eu gliniau,
  I'th foli nôs a borau,
Mewn rhyw dwll yn chwareu 'r Cnâf,
  Och! och! y byddaf innau.

Er

Psal.19.10 Er bôd dy Air mor felus,
Ar mêl ir enaid iachus,
Chwerwach oedd gen inne ei flâs,
Na'r wermwd câs gwrthnebus.

Godineb a Phutteindra,
Fel ûn o blant Gomorra,
Fûm i yn eu ddilyn cŷd,
Nes mynd or bŷd gan mwya.

I Hysyd ai charawsio,
A sugno tarth Tobacco,
Fu fy swydd dros ennyd fawr,
Gwae finneu nawr ei gofio.

Fy ieungctid mewn oferedd,
Rhwyf, rhyfyg, ceccran, coegedd,
Y lwyr dreuliais gydâ mam,
Heb feddwl am fy niwedd.

Yr rwân ar fy niwedd,
Ni welai 'n well fy muchedd,
Nâ'r pryd gwaetha 'rioed or blaen,
*Eglur. Os dweda i'r * plaen wirioned.

Gan hynny rwi 'n rhyfeddu,
Pa fodd yr wyt ti 'n gallu,
Goddeu cŷd fy mhechod taer,
Heb bery 'r ddaer fy Llyngcu.

* Nemmawr. Os nid oes * mawr o feiau,
O frynti a chamweddau,
Nad wyf ynthynt lawer pryd,
(Gwae finnau) hyd y clustiau.

Oni bai fôd dy Nattur,
Yn rasol tu-hwnt ei fesur,
Yn uffern gof, cyn hyn yn rhôst,
Y byssei 'n dôst fy nghysur.

Os Arglwydd 'r wi'n cyfadde,
Im haeddu er ys dyddie,
Fy nhorri 'n * gwitt o blith y byw,
Waith cymmaint yw fy meie.

*Gwbl.

Oni bai fôd dy fawredd,
Yn rasol tu-hwnt i ryfedd,
Gwann-obeithio 'n gwitt y wnawn,
Fel *Cain*, na chawn drugaredd.

Ond dymma fy'm * cymfforddi,
Pan byddwi mron ymdorri,
Fôd trugaredd Duw ai râs,
Yn fwy na'm câs ddrygioni.

*Cysuro.

*Fy meiau sy'n cyn amled,*
*A * Sownd y môr er maned,*
*Ond dy ras sydd gan-mil mwy,*
*Na'r môr sy'n bwy 'n amgyffred.*

*Tywod

Gan hynny rwi 'n † gobeithio,
Lle cafas pechod * raino
Y caiff dy rwydd ath nefol râs,
Ar bechod câs * gorchfygo.

* Deyrnasu.

*Orchfygu.

† *Y dyn a gretto yn Ghrist, ac a ddychwelo oddiwrth ei ffrydd ddrygionus a ddichon obeithio felly*, Rhuf 5.15. Jo. 3. 36. Esay 55.7. *Ond nid oes sail yn y Scrythur, ir dyn sy'n ymroi i fynd rhag-ddo yn ei gamwe-ddau obei-thio felly: Nac edry-ched hwn-nw ond am farn*, Psal. 68. 21. Luc. 19 27

Di fuost Dduw trugarog,
I bechaduriaid enwog:
Na fydd waeth i minne am râs,
Bechadur câs * anffodiog.

* Anhappus.

Pan trows y *Ninifiaid*,
Oddiwrth eu beie afrifaid;
Er cymmaint oedd eu pechod câs,
Hwy gawsont râs eu llonaid.

Er cynddrwg oedd *Manasses*,
Y gwaetha 'rioed y glywes;
Fe gas gennyd † bardwn mwyn,
Yn ol ei gŵyn a'i gyffes.

2 Chron. 33.

† *Faddeu-ant.*

Psal. 32.5. A Dafydd brophwyd ynte,
Er amled oedd ei feie;
Pan y llefodd am dy ras,
Yn rhwydd fe gas eu madde.

Luc. 7.37. Fe gafas *Mary Magdlen*,
Yn ol hir chwareu 'r butten,
Wrth wylo 'n hallt y dagrau dŵr,
Dy râs a'th ffafwr lawen.

*Yr oedd yn y wraig hon ffydd a newydd-deb buchedd gyda thristwch am ei phechod.*

Pan trows y mab afradys,
Tuag attad yn ei vn-crys,
Fe gas gwedi chwareu 'r ffôl,
Dy ras yn ôl ei 'wllys,

Luc. 15.

A minneu fy 'n gobeithio,
Er immi 'n doft dy ddigio,
Y câf er mwyn fy mhrynwr * gwar,
Dy ras ath ffafar etto,

* *Mwyn.*

A 'th ffafar wi 'n ei * fegian,
Yn daer, yn dôst, yn druan,
Er mwyn *Jesu* nôs a dydd,
Ar dagre o'm grûdd yn * dropian,

* *Geisio.*
* *Diferu.*

O! cofia Arglwydd cyfion,
I Grist fy *Mhrynwr tirion*,
Offrwm drofwi yn † fyr-had,
Ar grog-pren, waed ei galon.

† *Jawn.*

A chofia iddo dalu,
Dros f'enaid i 'r pryd hynny,
Y cûr, a'r poen, a'r angeu, a'r bri,
Ag oeddwn i yn haeddu.

O moes gan hynny bardwn,
Er mwyn ei loes ai * bassiwn,
Ac er ei gûr ai waedlyd chwys,
Na chais ail † Satisffactiwn.

* *Ddioddefaint.*
† *Iawn.*

Ond

Ond maddeu 'n rasol immi,
Fy meiau ôll a'm brynti,
A golch yn llwyr fy mhen a'm traed,
Yng werthfawr waed ei † weli. † *Archollion.*

Er bod fy mai cyn goched, Esay 1.18
Ar pwrpl coch neu 'r scarled, Datc. 1. 5.
*Droppym bach o'i waed er hyn, *Dafn.
A'm gwna mor wyn ar † foled. † *Gwisc pen gwraig.*

Gan hynny mae fy hyder,
Ar Grist, a'i waed, a'i fwynder,
Y caf genyd, yn ddi-nag,
Drugaredd ag esmwythder:

A dwyn at Grist yn gymmwys,
Fy enaid i Baradwys,
I gael rhan ym-mhlith dy Saint,
O'r nêf, ar maint y brynwys.

Ir hon o'th râs a'th fawredd,
Duw dŵg ni ôll o'r diwedd,
I'th folianny fyth bob awr,
Am dan dy fawr drugaredd.

*Ir Tâd, ir Mâb, ir Yspryd,*
*Ir Drindod, Vndod hyfryd,*
*Y bo clôd a moliant mawr,*
*Bob dydd, bob awr, bob ennyd.* Amen.

---

## *Cyngborau Duwiol.*

F'Anwyl blentyn, * dere nês, *Tyred.
Gwrando gyngor er dy lês,
Prawf i ddilyn tra fech byw,
Or ceisi fynd i Deyrnas Dduw.

Ofna Dduw tra bywyd ynod,
Jer. 29.13. Parcha ei Enw mawr yn waſtod,
Galw arno â'th holl galon,
Gwrando ei Air, a chadw ei orchmynion.

Cymmer Air Duw yn waſtadol,
Yn Gynghorwr ac yn rheol,
I reoli dy holl fywyd,
Ym-mhob gorchwyl a fo gennyd.

Dyna'r Lantern a'th oleua,
Dyna'r Athro a'th gyfrwydda,
I wachelyd pôb drygioni,
Ac i'th ddwyn at Dâd goleuni.

Gwachel wneuthur mawr na bychan,
Yn ôl d'wllys ffol dy hunan,
*Sef ewyllys dyn. Y mae pechod gwedi * llygru,
Nes cael grâs i hadnewyddu.

†Dy dyb, a'th feddylfryd. Praw gan hynny ffrwyno † phanſi,
Ffiaidd gantho bôb daioni,
Rhuf. 8 7. Nes del gair Duw i'th gyfrwyddo,
Tit. 3.3. Pob peth drwg ſydd felus gantho.

Gwachel bechod er bychaned,
*Digrifwch. Colyn Sarph ſydd dan ei ſhiacced:
*Pleſſer byrr a bair hir † alaeth,
†Triſtwch *Damnedigaeth. Cyflog pechod yw * marwolaeth.

Or cas *Adda* gymmaint ddial,
Am fwytta tammaid bach o Afal,
†Sef pechodau gan ymborthi arnynt. Duw pa faint y fydd dialau?
'Sawl ſy'n byw ar gyfryw † falau.

*Digwyddodd. O * bu Siawns id' bechu unwaith,
Gwachel byth rhag pechu 'r eilwaith:
Nid oes iawn am bechod bychan,
Ond gwaed calon Chriſt ei hunan.

Tro 'ddiwrth bechod, na ddymchwela,
Câs yw'r ci a fwytto ei hwdfa,
Ail yw hwn ir mochyn diffaith,
'El or dwr ir dommen eilwaith.

*O deborwyd* Mosen *fwyn-lan,* Deut.1.37
*Am un pechod 'fynd i Ganan,*
*Bwedd na rwyftrir pobol ddiffaith,*
*Fynd ir nef am bechu ganwaith?*

Casa falchder megis Neidir,
'Ymdderchafo, fe ostyngir:
*Yn ol balchder y daw cwdwm,* Dihar.16.
*Balch ei droed a* drip ir cawdrwm.* 18 **Gwymp.*

Os taflodd Duw yr Angel penna, 2Pet.2.4.
Am ei falchder ir pwll iffa; 1Tim.3.6
I ble taflir llŵch a lludw,
Y falchio 'n waeth nâ hwnnw?

Byth na chwennych wely arall,
Rhwn ai gwnel nid yw ond angall:
*Y neb y fango ar y poeth-dan,* Dihar.6.
*Nid oes lûn na losco ei waddan.* 28, 29.

Os câs *Pharo* blâg mor greulon, Gen.12.
Am chwenych *Sara* yn ei galon, 17.
Pa fáth blag a dial caled,
Gaiff y fawl y wnelo 'r weithred?

*Gwachel dyngu dim ond ie,* Mat.5.37.
*Or diawl y daeth yr ofer lwe:*
*Melldith Dduw fel mwg y leinw,* Zech. 5.
*Y ty lle cablir Duw a'i enw.* 3, 4.

Os † Mwrddrwyd *Senna-chrib* y * Pagan, *†lladdwyd* **Y digred.*
Am gablu Duw o lêd ei fafan,
Bwedd y diangc y Christnogion,
Y gablo Christ a gwaed ei galon?

Esa 37.38 Er dy fywyd parcha 'r Sûl,
Exod.31. Dere ir Eglwys, gwrando, gwŷl:
14. Galw ar Dduw, a gado 'r pottian,
*Na wna 'r Sûl yn wyl i Satan.*

†*Laddfa.* Os pwyodd Duw â'r fâth † ddihenydd,
Y dŷn ddyd Sûl am gasglu briwydd:
Num. 15. *Bwedd y pwya bedwar ascwrn,*
35,36. *Y dreulio 'r Sûl yn waeth nâ'r Sadwrn.*

Na cham attal ddim o'th ddegwm,
Na ddarnguddia ddim o'th offrwm:
Rwytti 'n Speilio Duw 'r diale,
Wrth ddarnguddio dy ddegymme.

Mal.3. 8, Melldigedig ym-mhob rhyw,
9,10,11,12 Ydyw 'r dŷn a Speilio Dduw:
† *Cauad.* † Stoppi 'r nêf, ar ddaer, ar llafyr,
Y mae pawb or cam ddegymwyr.

Casâ feddwdod yn dy fywyd,
1Cor.6.10 Nid â ir nêf vir meddw chwdlyd:
Esay 5. Vffern goi sy'n lledy safan,
11.14. Am gael llyngcu 'r meddw allan.

Gen.25. Or daeth *Esau* mor ddannodus,
34. Am werthu fraint am † fes o bottus:
†*Phiolaid* *Pa ddannodiaeth ddaw i'r meddw,*
*o Gawl.* *Wertho 'r nêf an bot o gwrw.*

Deut.23. Na fydd gybydd, na fynn occor,
19 Cist ir hael yw 'r cybydd † angor:
†*Bwnt,* *A gasclo 'r Tâd trwy gybydd-dra,*
Dih.28.8. *Mâb afradys a'u † gwastraffa.*
†*Gwascara.* *Haws i gamel fynd yn fuan,*
Luc.18.25 *Ymma a thraw trwy 'r-nodwydd fychan,*
*Nag ir cybydd anrhugarog,*
*Fynd i mewn ir nêf oreurog,*

Gwachel

Gwachel dreiſio nêb or tlodion, Dihar 22.
Chriſt ei hun yw 'r Jeſtys cyfion : 22,23.
Y dreiſio 'r tlawd ſe bîg llygad
Chriſt ei hun y cadarn Geidwad.

*Ahab* frenin am ddwyn gwinllan, 1 Bren. 21
*Naboth* ei gymydog truan, 1 Bren 22.
A gâs golli ei frenhiniaeth, 34.
Llâdd ei blant a'i holl genhedlaeth. 2 Bren. 10
7, 11.

*Or daeth Difes dan law Satan,*
*Am ballu ir tlawd ôi dda ei hunan :*
*I ba law-ddiawl yr â 'r Gwyr mawrion,*
*Sy 'n dwyn maint ſy'n helw 'r tlodion.*

Gwachel ledrad, gwachel dwyllo,
Ni ddaw ennill byth oddiwrtho : Zech. 5. 2,
Lle bo lledrad y bydd aflwydd, 3, 4.
Dial Duw, a dyfal *dramcwydd.*

Os lladdodd Duw holl dylwyth *Acban,*
Am grach guddio lledrad bychan : Joſ. 7. 24,
Oni ddial Duw ar ladron, 25.
Sy 'n Dwyn maint ſy'n helw 'r tlodion ?

Gwachel gadw cam feſſurau,
Yn dy dŷ nac amryw bwyſau : Micha 6.
*Ffiaidd câs yw 'r dafal anwir,* 10, 11.
*Ger bron Duw, a'r pwys anghywir.*

Maint ynnillo Dŷn trwy ffalſtedd,
Ar y dafal o anwiredd,
Bob ychydig mae ê 'n goſſod,
Yn y cŵd a'r pwrs heb waelod.

Byth na chytcam dderbyn * gwabar,
Honno lwngc ſy'th helw o heinar :
Ni âd gwabar Ben na chynffon,
Byth yn helw 'r plant ar wyron.

* *Sef er gwyro barn.*

2 Bren. 5. 27. Y clas-gwân y gas *Gebezi*,
Gydâ gwabar mewn † bwdgedi;
† *Côd.* Am y wabar y mae 'n rhigyl,
** Dinistria* Y * handwya hi 'r plant ar Eppil.

Gwachel gelwydd trech ar dîr,
Er dy fywyd dywaid wîr:
Jo. 8. 44. Y cythrel brwnt ar wiber lâs,
Yw tâd a mam y celwydd câs.

Act. 5. 5, 10. Os bu farw *Ananias*,
† Shiocam ddywedyd celwydd atcas,
*† Yn ebrwydd.* A'i wraig hefyd wrth farn Duw,
Câsawn gelwydd tra fom byw.

** O herwydd diffig, neu amrhydferthwch.* Na lysenwa nêb er * nam,
Y dwl, na'r dâll, na'r clôff na'r cam:
Duw wnaeth dŷn, a'i lun, a'i liw,
*Y gablo ddyn, fe gabla Dduw.*

Mat. 5. 22. Os barna Christ ir ffwrnais danllyd,
Y nêb y alwo ei frawd yn ynfyd:
I ble barna 'r nêb sy'n galw
Ei dâd a'i fam, ar gant llysenw?

1 Thess. 5. 15. Na thâl ddrwg dros ddrwg i un-dyn,
Os mynni fôd i Dduw yn blentyn:
Rhuf. 12. 20. Helpa, swccra dy elynion,
Na wna gam ag un-rhyw gristion.

Mat. 5. 46 Pa ragoriaeth sydd rhwng christion,
Ar un gwaetha o'r Iddewon,
Os dai dalu drwg dros ddrwg,
Dant am ddant, a gŵg am ŵg.

☞ *Gwachel wneuthur drwg ar hyder,*
*Cael trugaredd pan ith farner:*
Deut. 29. 18, 19, 20. *Felly cei di farn awrasol,*
*Fynd dros fyth ir tân tragwyddol.*

Os

Os gorfydd atteb pan ein barner,
Ger bron Duw am bôb gair ofer: Mat. 12. 36.
B'wedd attebwn; gwae fy nghalon!
Am ein drwg an câs fargenon.

Na cham arfer un or donie,
'Roes dy nefawl Dâd i tithe:
Fe ddaw dydd y gorfydd rhoddi,
Am bôb Talent gownt a chyfri.

Os taflodd Christ ir twllwch eitha, Mat. 25. 19, 30.
Y dŷn â'i dalent eisie ei helwa:
I ble taflir † drimbwl, drambwl, †*Ben dra mwnwgl.*
Y gwas ý dreulio 'r ftoc a'r cwbwl?

Bydd di barod heddyw, heno, Mat. 25. 13
Ag † Oŷl ich Lamp, a'th wisc yn **Cyfrdo*, †*Olew.*
Fynd o flaen dy farnwr prydd, **Yn holl-awl ac yn drwffiadys am danat.*
Y foru o bossib ydyw 'r dydd.

*Os caeodd Christ y porth mor ebrwydd,* Mat. 25. 10
*Ir sawl † ym-mron oedd mewn parodrwydd:* †*Agos.*
*Bwedd y cant hwy borth agored,*
*Seb ym-gweirio er pan ganed?*

Bwrw heibio pôb pibiaeth,
*Meddwl am dy Jechydwriaeth:*
*F'orfyd † paccio bawb oddiymma,* † *Myned.*
*Llaill ai 'r nêf, ai 'r twllwch eitha.*

Ond † aer ir nêf heb ymwthio, †*Allir myned.*
Ac ymdrechu â thraed a dwylo: Luc. 13. 24
*B'wedd y Spyda 'r nêb sy'n credu,*
*Rânt ir nêf wrth chware' a chysgu.*

*Cyn cael cynglwyst rhaid ymdrechu,* 1 Cor. 9. 24
*Cyn cael cyflog rhaid gwasnaethu:* Mat. 7. 21.
*Cyn cael nefoedd mae 'n rhaid byw,*
*Ymma yn gynta wrth 'wllys Duw.*

Datc.2.10 Ni ry Christ i nêb e'i goron,
3.12. Ond 'ymladdo â'i elynion:
Mat.20.8. Ni ry i nêb or geiniog fechan,
Ond y weithio dro 'n y wynllan.

*Ni thâl dywedyd Arglwydd, Arglwydd,*
*Ni cheir nêf am eiriau massweydd:*
*Yn Gristnogaidd forfydd byw,*
*Cyn 'tifeddir Teyrnas Dduw.*

O herwydd hyn 'rwi 'n cynghori,
Pawb a garo 'r nêf o ddifri,
† *Bur.* Fyw 'n gristnogaidd ac yn † buwr,
* *Siccr.* Felly cant hwy 'r nêf yn * suwr.

Or daw gofyn pwy a'u cant,
† *Trist.* Bugail † chwerw, mawr ei chwant,
Rwystro 'r defaid ym-mob dull,
Ar eu pennau fynd ir pwll.

---

## *Cyngor i wr ieuangc.*

*F'Anwyl Blentyn cês dy lythyr*
*Serchog, Sanctaidd llawn o Synwyr,*
*Sy'n dymuno cyngor ffyddlon,*
*Ith gyfrwyddo fyw fel Cristion,*

*Argol Gras yw 'th weld cyn Ianged,*
*Mor fawr dy chwant, mor brudd dy syched,*
*I Nabod Duw, i ddyscu 'r Scrythur,*
* *Drwg chwant.* *I ddofi 'r Cnawd a * nwyfiant Nattur.*

*I gyflawnu dy ddymuniad,*
*Derbyn hyn o gyngor difrad,*
*I gyfrwyddo dy holl fuchedd.*
*O'th fabolaeth hyd dy ddiwedd.*

Yn

Yn dy ieungctid F'enaid cofia, Preg.12.1.
Wir wasnaethu Duw gorucha,
Ac addoli dy Greawdwr,
Cyn i wendid waethu 'th gyflwr.

Dechre ddyscu trech yn blentyn,
Nabod Duw a'th Brynwr pur-wyn,
Hoffi Air a chadw ei gyfraith,
Hynny 'th wna yn hen-wr perffaith. Dihar.22.6.

Tempra 'th lester tra fo 'n newydd,
A 'r gwîn gwyn o dduwiol grefydd;
Fe arogla hyd dy ddiwedd,
A gwynt peraidd dy lân fuchedd.

Planna 'n gynnar yn dy galon,
Hâd pôb gras a'th wnel yn Gristion,
Rhag i'r gelyn blannu 'r efrau,
Eisie i hau â hâd Rhinweddau,

Cais flodeuo yn dra chynnar,
Gydâ 'r * Spring fel Almond hygar:
Y pren na ddwcco blodau 'r gwanwyn,
Trwy 'r cynhaiaf fe fydd difwyn.

* *Gwanwyn.*

Mae Duw 'n gofyn gan ei dylwyth, Exo. 22. 29.
O flaen pôb peth gael y blaen-ffrwyth:
Ac ni fyn y Duw goruchaf,
Gan ei blant na'r Ail na'r olaf.

Rho gan hynny flaen dy grysdwr,
I wasnaethu dy Greawdwr:
Ac na ddyro trech yn blentyn,
Flaen ffrwyth d'oes i wasnaethu 'r gelyn.

*Drwg it roddi 'r Gwîn i Satan,*
*A rhoi i Grist y gwaddod aflan,*
*Rhoi dy nerth i † blessio 'r drwg-wr,*
*A rhoi 'th wendid i'th Greawdwr.*

† *I ryngu bodd.*

Melldigedig

Melldigedig yw 'r dyn ynfyd,
A ro i 'r gelyn rym ei fywyd,
Ac na rotho i Brynwr diddig,
Ond yr henaint gwann methedig.

Gwachel arfer ddrwg yn blentyn,
Arfer ddrwg a'th nyrdda 'n Scymmyrn,
Ac a dry yn ail naturiaeth,
Nes yr elech beunydd waeth waeth.

Os Arferu bechu yn blentyn,
A dibrisio Duw yn llengcyn,
Jer.13.23. Yn hên nid haws it wella hyn,
* Dynion duon. Nag i 'r * Moyrys fynd yn wyn.

Rho gan hynny gorph ac yspryd,
Yn dy ieungctid yn dra hyfryd,
I wasnaethu dy Greawdwr,
Ac i ymladd â'th wrthnebwr.

Dan.1: Megis *Daniel* trech yn llengcyn,
Gwrthod wîn a chwrw melyn,
Ac na ro dy fryd ar foethau,
Ond ar nabod Duw a'i ddeddfau.

1Sam.3. Dysc fel *Samuel* trech yn fachgen,
Sefyll o flaen Duw yn llawen,
Ac ymwrando o Air y bywyd,
Beth y ddywetto 'r Arglwydd wrthyd.

2Bren.22. Fel *Josias* yn llangc bychan,
1,2. Rhodia 'n vnion o wyth allan,
A rho 'th fryd ar gadw 'r gyfraith,
Ofni Duw, a byw yn berffaith.

☞ *Dysc y Scrythur lân o'th febyd,*
2Tim.3.15 Megis *Timoth* yn dra pharffid,
Honno 'th wna di 'n ddoeth annianol,
Yn gristnogaidd ac yn dduwiol.

Dos

*Dôs fel Christ bôb Sul i'r Eglwys,* Luc. 4. 16.
Gydâ 'th Dâd a'th Fam a'th Fagwys: Luc. 2.
Ac o ddeuddeg oedran F'enaid,
Dechre ymddiddan a'r Doctoriaid.

Gwrando 'r 'fengyl, Gwrando 'r gyfraith,
Dysc bôb vn o'r ddau yn berffaith,
A chais fyw yn gynnil cynnil,
Yn ol cyfraith Duw a'i fengyl.

Mewn tywyllwch 'rwyti 'n rhodio,
Cymmer Lantern Duw 'th oleo;
Heb oleuni 'r Scrythur hyfryd,
Nid aer byth i dir y bywyd.

*Er bôd Duw yn y nefoedd ucha,*
*Mae yn ei Air â thi 'n chwedleua,*
*Ac yn dangos ei holl 'wllys,*
*Yn y Scrythur itti yn hyspys.*

Edrych dithe yn y Scrythur,
Beth a fyn dy Dduw it wneuthur,
Gwna beth bynnag fo 'n orchymyn,
Ac na * fedla fo e 'n wrafyn. * *Na wna.*

Gwachel dorri 'r Pwnccie lleiaf, Rhuf. 6. 23
O holl gyfraith Dduw goruchaf: Deut. 28. 15.
Y mae 'r lleia 'n haeddu Angeu,
Melldith Dduw, a * didrangc boeneu, * *Tragywyddol.*

Fe fyn Duw y barnwr cyfion, Ezek. 18. 4
Am bob pechod y wnel dynion,
Naill ai † Angeu 'r dyn a becho, † *Damnedigaeth.*
Neu * Angeu Christ yn daliad drosto. * *Dioddefaint.*

Ac lle pechaist fil o weithe,
Yn erbyn Duw nes haeddu ange,
Edifara am bôb pechod, Act 3. 19.
A chais bardwn gan y Drindod.

Adde

Dihar.28. 13. Adde 'th Bechod ger bron Duw,
Fawr a bychan o bôb rhyw,
A 'mofydia am dy wegi,
Nes maddeuo 'r Arglwydd itti.

Edifara am dy wendid,
*Drwg chwantau. A 'th holl * nwyfiant yn dy ieungctid,
Luc.13.3. Oni wylu 'r dwr yn heli,
Duw a'th farna am y rheini.

Ni chas *Ephraim* nes cwilyddio,
Jer 31 19, 20. Ni chas *Dafydd* nes ochneidio,
Psal.32.5. Fadde nwyfiant ieungctid iddyn,
Nis cei dithe nes eu canlyn,

Gwachel oedi hyd y foru,
Rhag it farw heno wrth gyscu,
Ac i'r Angeu glâs dy lysco,
*Ymbaratoi. I'r farn yn llangc, cyn * ymgweirio.

*Mae yn uffern fil o filiodd,*
†Aswriadodd. *O wyr Ifaingc y † bwrpassodd,*
*Yn eu henaint brudd ddifaru,*
*Heb gael arfod wneuthur felly.*

Edifara 'nawr gan hynny,
Ni wyis pwy a fydd y foru,
*Cymmer Barchell tra cyniccer,*
*Rhag nas caffech pan y ceisier.*

*Ac lle 'rwyt ti 'n pechu beunydd,*
*Edifara bob diwedydd,*
*Yn dyfod i mewn. *Rhag i'r Dwr sy'n * sio 'n sceler,*
†ddisspyddu *Eeisie ei † blwmpo soddi 'r llester.*

Gwedi gwir ddifaru vn-waith,
Gwachel nyrddo 'th draed yr eil-waith:
*Na thro gydâ 'r hwch i'r dommen*
*Ar ei i fwytta 'th hwd drachefen.*

Ond

Ond cais ddilyn buchedd newydd, Eph.4.22,
Trwy ſancteiddrwydd a gwir grefydd, 23, 24.
A chall dreulio 'th einioes fychan, 1 Pet 1.14,
Mewn duwiolder prudd ac oſan. 15, 17.

Dôd dasg arnad nôs a boreu,
Foli Duw ar ben dy linieu:
*Nad ddiwarnod fyned drosod,* Psal. 55 17
*Heb addoli 'r sanctaidd Drindod.*

Ac i 'th helpu fynd yn dduwiol,
I orchfygu nwyfiant cnawdol, Psa.19 7,8
Cymmer gyfraith Dduw i'th ddyſgu, Rhuf. 8.
A'i lân yſpryd i 'th gyfnerthu. 13, 14.

*Cyfraith Dduw sydd daran rymmus,*
*I droi 'r enaid cyfeiliornus,*
*Ac i roddi dysg a deall,* Psal. 119.
*I'r rhai Jeuaingc annoeth, angall.* 9, 104.

Gwna beth archo 'r gyfraith itti,
Gwrando 'r cyngor y foi 'n roddi,
*Os dilynu 'r gyfraith gyfion,*
*Hi'th wna 'n ddoethach nâ'th Athrawon.*

Cadw afel ficcir yndi,
Plŷg dy warr, ymoſtwng iddi,
Hi ry râs a pharch a phwer,
*O'i chadw hi mae gwabar lawer.* Psa.19.11.

O'r arferu fyw yn berffaith,
Nawr yn llangc yn ol y gyfraith,
Fe fydd hawdd trwy fawr lawenydd,
It fyw'n ſanctaidd yn dragywydd.

*Anrhydedda Dduw dy dadau,* 1 Sam. 2,
*Duw a'th anrhydedda dithau,* 30.
*Os dirmygu di ei wasnaethu,*
*Fe ddirmyga dy ddiwallu.*

Os

Os gwasnaethu Dduw yn blentyn,
Duw 'th wasnaetha dithe 'n hen-ddyn;
1 Bren. 17. 16. Ac a bair i'r brain dy borthi,
Cyn bo arnad fawr galedi.

*Ni 'th ddanfonwyd i'r byd ymma,*
☞ *I wasnaethu 'r byd na'r bola;*
Esay. 43. 7 *Ond i wasnaethu Duw yn weddaidd,*
*Fely gwna'r Angelion Sanctaidd,*

Ps. 139. 18. Pan y coedch gynta o'th wely,
Cofia Dduw a chwymp i wasnaethu,
*Ac na ddôs o'th stafell allan,*
*Nes ei addoli â pharch ac ofan.*

Er Maint a fo dy fusnesson *,
A'th † glamwri, a 'th orchwylion,
Na ddôd law ar un o 'r rheita,
Nes addoli *Duw* yn gynta:

* *Achosion.*
† *Gofidiau.*

Jer. 10. 25 Ni bydd llwyddiant, ni bydd llonydd,
Ni bydd comfford, na llawenydd,
Lle bo trafferth o bob rhyw,
Heb ddim pris am foli Duw.

Dan. 6. 10. Er bod busnes fawr gan *Ddaniel,*
Yn y † cwrt dan Frenin Babel,
Tair gwaith beunydd y gweddie,
Yn ei stafell ar ei linie.

† *Llys.*

Pan yr elech o'r drws allan,
At vn gorchwyl fawr na bychan,
Cais gan Dduw dy brudd fendithio,
A rhoi rhâd ar waith dy ddwylo.

Gen 39. 3 Fel y llwyddodd Duw orchwylion,
Dan. 6. 3. *Joseph* gynt a *Daniel* dirion,
Felly llwydda d'orchwyl dithe,
Os gweddii arno 'n ddie.

Ple-

Ple bynna bech, beth bynna wnelech,
Ai da, ai drwg y mann y mynnech,
*Duw 'mhob mann sy'n disgwyl arnad,* Psal. 139.7
Gwachel bechu yng-wydd ei lygad,

*Gwna i eraill bôb daioni,*
*Y ddymynyd wneuthur itti :* Mat. 7. 12.
*Na ro i arall waeth fesurau*
*Nag a fynit roi i tithau.*

Na wna weithred er dy gyffro,
Na bo Duw yn * warant iddo, * *Yn rhoi rhydd-did*
Ac na allech yn ddi-wawd,
Gyfri am dano ar ddydd † brawd. † *Barn.*

Gwna 'r Duw byw yn wîr Dduw itti,
Ac yn * garcus cais i addoli, * *Ofalus.*
Galw arno, a molianna,
Felly yn wastad fe 'th ddiwalla. Psal. 34. 10

Gwachel gymryd ar vn amser,
Enw 'r Arglwydd mawr yn ofer :
Cans nid gwirion gantho hwnnw,
Gam arfero ei sanctaidd enw.

Treulia 'r Sabboth ôll yn llwyr:
Mewn sancteiddrwydd fore a hwyr,
Ac na ddoro ran na chyfran,
O ddydd Duw i * blesio Satan. * *Ryngu bodd.*

Anrhydedda dy Rieni,
Parcha, * llonna, swccra rheini, * *llawenha*
Felly heftyn Duw dy ddyddie,
Ac y parcha d'eppil dithe.

Gwachel gytcam ddigalonni,
Na rhoi ammarch i'th Rieni :
*Odid gweled diwedd dedwydd,* Dih. 16. 18.
*I Ferch falch neu fâb anvfydd.* Dih. 30. 17

1Thess. 4. Gwachel rhag godineb ffiaidd,
3,4. Cadw'th gorph yn lester sanctaidd:
1Cor.6.15 Ac na wna er golud Rhufain,
Aelod Christ yn Aelod puttain.

Gorwedd gydâ'th wraig dy hûn,
*Chwant. Na chais arall wrth dy *wŷn,
1Cor.6.19 Ac na chytcam wneuthur Temel,
Yspryd Duw, yn wâl i'r cythrel.

Esay 28. 1, 7, 8. *Er mwyn Iesu gwachel feddwdod,*
Dihar.23. *Gwaeth yw hwn nag un rhyw bechod:*
29,&c. *Mae 'n troi dyn i gyflwr cythrel,*
*Vgain gwaeth nag un anifel.*

Mat. 22. Câr â'th galon bôb rhyw ddyn,
39. Fel y carech di dy hun,
Ac na wna i vn dyn niwed,
Ar air, meddwl, nac ar weithred.

Gwna i bôb dyn ore ac allech,
Gal.6.10. Gwna yn ffyddlon 'r hyn a wnelech:
*Ond na chytcam er mwyn vn dyn,*
*Yn gwabardd. *Wneuthur dim a fo Duw 'n * wrasyn.*
Deut 5.32 Gâd i Gyfraith Dduw 'th reoli,
Ym-mhôb gorchwyl y so itti:
*Nid oes vn rhyw orchwyl perffaith,*
*Ond yr vn sy'n ôl y gyfraith.*

*Cofia f' enaid nâd oes genyd,*
*Sicer. *Ddydd * certennol ar dy fywyd:*
☞ *Treulia bob dydd mor ddigamwedd,*
*A pha bae ef ddydd dy ddiwedd.*

*Cofia'r Nôs dy waith y dydd,*
†O ddifrif yn brysur. *Lle gwnaethost gam, gwna iawn yn † brûdd,*
*Maddeuant. *O digiaist Dduw cais * bardwn gantho,*
*Os cefaist râs rhô foliant iddo.*

## *Cyngbor i wasanaethu Duw.*

Y Sawl y fynno gael esmwythder,
Llwyddiant, Heddwch, Cyfoeth, Crysder,
Parch a ffynniant tra font byw,
Cwympent i wasnaethu Duw.

*Llwyddiant daiarol, a rbyddbad rhag aflwydd bydol, y gaiff y duwiol, cyn belled ac y bo hynny er daioni iddynt.* Psa. 34 10. 1 Tim. 4. 8.

Y neb a fynno ddiangc hefyd,
Rhag trallodion tôst ac adfyd,
Nychdod, niwed, anhap, aflwydd,
Cwympent i wasnaethu 'r Arglwydd.

Dlyed pôb dyn tra fo byw,
Ydyw prûdd wasnaethu Duw,
Trwy lwyr gadw ei orchmynion,
Ar bob pryd o 'wllys calon.

Rheita gorchwyl, perina Gweithred,
Mwya ei ennill, gore ei wargred *,
Suwra ei wabar tro dyn byw,
Ydyw † prudd wasnaethu Duw.

*Gweddill
† Pryssur.

Dyna 'r vnig waith a bwyntiwyd,
I bawb wneuthur pan ein creuwyd:
Dyna 'r gwaith y gorfydd cyfri,
Dosta am dano ddydd ein † didri.

†Cyfyngder

Beth yw gwasanaethu Duw.

*Gwrando 'r Gair a chadw 'r Gyfraith;*
*Credu 'r Fengyl yn ddiragraith,*
*Byw yn ol ei gwir oleuni,*
*Yw gwasnaethu Duw o-ddifri.*

*Gwneuthur y fo Duw 'n orchymyn,*
*Gwechlyd 'rhyn a fo e'n wrafyn,*
*Dilyn ei Air tra fom byw*
*Ydyw gwir wasnaethu Duw.*

Jac 1. 18, 19. Deut. 10. 12, 13. Mat. 1. 15. 1 Joh. 1. 6, 7.

*Dau ryw o wsanaeth, sef crefyddol a moesol.*

Dau ryw o wasanaeth ffyddlon,
Y fyn Duw ar law Pôb christion;
Vn trwy ffydd a chrefydd dduwiol,
Llall trwy foes a buchedd rasłol.

Yn grefyddawl rhaid ei wsnaethu,
Trwy wír grefydd a'i foliannu,
Yn gyhoeddus, ac yn ddirgel,
Yn y Tŷ, ac yn y demel,

Lev. 23. 3. Luc. 4. 16. Act. 20. 7.

Yn yr Eglwys yn gyhoeddus,
Ar bob Sabboth yn dra pharchus,
Gydâ 'r dyrfa ar ein glinie,
Ag vn galon, ag vn gene.

Mat. 6. 6. Act. 10. 30. Deut. 6. 7 Jos. 24. 15 Jer. 10. 25.

Ar ddydd gwaith mewn ſtafell ddirgel,
Gydâ 'n tylwyth fel mewn Temel,
Fore a hwyr trwy alw arno,
Gwrando ei Air, a'i wîr fendithio.

Rhaid gwasnaethu Duw yn foesawl,
Trwy lân fuchedd tra christnogawl,
Ym mhôb mann, ac ar bôb achos,
Hyd yr awr ddiwetha o'n heinios.

Deut. 5. 32, 33.

Rhaid yw byw yn ddi-esceulus,
Yn ol cyfraith Duw ai 'wllys,
Nid yn ol ein * ffansi 'n hunain,
Os gwasnaethwn Dduw yn † gywrain.

* *Dychymyg, Tyb.* † *Gyfarwydd.*

Rhaid yw dilyn buchedd ddeddfol,
Yn ol wllys ein Tâd nefol,
A rhyngu fôdd, tra fom ni byw,
O'r ceisiwn wîr wasnaethu Duw.

Luc. 1. 74. 75.

*Y neb na wsnaetho Dduw yn brwdd,*
*Yn ol ei Air trwy fywiol ffydd,*
*Ni all hwnnw gwnaed ei ore,*
*Byth foddloni Duw â'i Foese.*

Heb. 11. 6. Rhuf. 14. 23.

Duw

Duw y fyn i bôb rhyw Griftion,
Ei wafnaethu â'i holl Galon,
A'i holl Enaid, â'i holl feddwl, Mat. 22. 37.
A'i Aelodau ôll a chwbwl. Rhuf. 6. 19

Rho dy Gorph yn Aberth bywiol,
I wafnaethu dy Dâd nefol:
A rho d'anwyl Enaid hefyd,
I Addoli ef yn hyfryd.

Chrift a Brynodd Corph ac Enaid,
Ar y groes â'i waed bendigaid,
Mae e'n difgwyl cael ei Addoli, 1 Cor. 6. 20
Genym â phob vn o'r rheini,

*Ni fyn Duw ein Tâd galluog*
*Vn gwafanaeth dau-banerog:*
*Ond fe fyn ei Addoli 'n hyfryd,*
*Gan lôb Gwâs â'r Corph a'r yfpryd.*

Yfpryd ydyw Tâd trugaredd,
Ac mewn yfpryd a Gwirionedd, Joan 4. 24
Y mae 'n gofyn ei addoli, Dih 23. 6.
O'r tu mewn â Chalon wifci. Mat. 15. 8.

*Ofer rhedeg dros badere,*
*O'r tu faes a Geirie 'r Gene,*
*Oni bydd y Galon hefyd,*
*Yn gweddio yn yr yfpryd.*

Nid oes mann ar Gorph vn Chriftion,
Tu fewn, tu faes, yn oed y Galon,
Na fyn Duw ei lwyr Gyflegru,
Oll a chwbwl iw wafnaethu.

*Er bod Satan weithie 'n fodlon,*
*Gymryd genym ran o'r Galon:*
*Ni fyn Chrift na phwn na fowdwl,* Mat. 22. 37.
*Oni chaiff ef ôll a chwbwl.*

Rho dy Enaid iw fendithio,
Ac i orfoleddu ynddo:
Psal. 103. 1,2. *Rho dy yspryd i gydnabod,*
*Faint o bethau wnaeth ef erddod.*

Col. 3.2. Rho dy fryd ar bethau nefol,
☞ Ac na sercha ddim daiarol:
*Meddwl am y wlâd y gorfydd,*
*Aros yndi yn dragywydd.*

Rho dy Gorph a'th holl Aelodau,
Rhuf. 12. 1 Fawr a bychan yn eu graddau,
Bôb yr vn mewn gweddaidd gyflwr,
I wasnaethu dy Greawdwr.

Rho dy Galon idd ei garu,
Yn ddiragraith a'i wasnaethu,
Ac i lynu 'n ddyfal wrtho,
Gan roi llwyr ymddiried yndo.

Rho dy Dafod iw Glodforu,
Ddydd a nôs ar eitha o'th allu,
Psa 40. 10 Ac i ddatcan ei Ddaioni,
— 51. 15. Ym-mhôb tyrfa delech iddi.

† *I ddal sulw.* Rho dy lygaid i † attendo,
Ac i ddyfal ddisgwyl arno,
**Derchafu* Psal. 123. 1, 2. Gan eu * drycha tu ar mynydd,
O'r lle daw dy holl lawenydd.

Rho dy Glûst i wrando 'n barchus,
Jac. 1. 19. Ar ei Air, a'i Arch, a'i 'wllys,
Ac i dderbyn yn ddisigil,
Addewidion yr Efengyl,

Rho dy Ddwylo yn awyddus,
I bob Gweithred sydd ddaionus,
Deut. 15. 11. A chyfranna ei fendithion,
Eph. 4. 28. Wrth eu rhaid i'th frodyr tlodion.

Rho

Rho dy Liniau iw Addoli, Psal.95.6.
Ac i 'mostwng iddo o ddifri:
Gan roi parch ac ofan iddo,
Pa le bynna galwech arno.

Rho dy draed i droedo ei lwybrau,
Ac i rodio 'n ffordd ei ddeddfau,
Ac i dramwy yn Gristnogaidd, *Jos.22.5
Idd i lŷs ai demel * sanctaidd. *Cynnulleidfaoedd ei bobl ef yw Teml Dduw, Heb.3.6. 2Cor.6.16*

Rho dy Enaid, Rho dy yspryd,
Rho dy Gorph a'th Galon hyfryd,
A phob peth ag y sydd ynod,
Ddydd a nôs i foli 'r Drindod.

Parch †, Anrhydedd, vnion olud,
Gwir dderchafiad, Hir oes, iechyd,
Heddwch, ffyniant o bob rhyw,
Y geir o wîr wasnaethu Duw.

Dôs lle mynnech, doed y ddelo,
Gwnaed pob Gelyn waetha ag allo,
Yn ddigonol di gae fyw,
Os ti wîr wasnaethu Dduw.

Yn y dref ac yn y wlâd,
Ar bob Gorchwyl di gei râd,
A gwîr lwyddiant ar y feddu,
Os yr Arglwydd a wasnaethu.

Bydd dy Faesydd, bydd dy Winllan,
Bydd dy Letty, bydd dy Gorlan,
Yn dra ffrwythlawn, heb ddim aflwydd,
Os ti wîr wasnaethu 'r Arglwydd.

† *O achos bôd y duwiol yn y byd hwn yn am-mherffaith, mewn llawer o bethau yn llithro,* Jac.3.2 *ac o achos bôd Duw a chwant profi eu ffydd, a'u hammynedd, ac eraill eu grassusau hwy, y maent hwy yn gystal ac eraill, yn dra mynych, heb barch, anrhydedd, iechyd, a golud daiarol; megis* Job *a* Lazarus *mewn adfyd: Ac o achos bôd Duw trwy ei ddaioni, yn ceisio arwain y drwg i edifeirwch,* Rhuf. 2. 4. *y mae weithie y drwg, yn y byd hwn yn anrhydeddus ac yn gyfoethog, megis* Nabuchodonosor *a* Dises; *fel na ddichon vn dyn gasglu, oddiwrth ei lwyddiant neu aflwyddiant bydol, p'un ai dyn da, ai dyn drwg ydyw fo.*

*Rhessymau i'n cyffroi i wasanaethu Duw.*

1. DUW a'th wnaeth yn ddŷn deallus,
Ar ei lûn ei hûn yn weddus:
Rwyti 'n rhwym i wsnaethu 'n ffyddlon,
Am dy wneuthur felly 'n Gristion.

2. Christ a'th Brynodd o law Satan,
A'i wir waed, ac nid ag Arian:
Am i Grist mor brîd dy Brynu,
Rwyt ti 'n rhwym ei brûdd wasnathu.

3. Duw a'th borthodd yn ddigonol,
O'r Grôth hyd yr awr bresennol;
Am dy Borthiant, os ystyrii,
Rwyt ti 'n gaeth i wîr Addoli.

4. Di Addewaist yn dy Fedydd,
Wîr wasnaethu Christ yn vfydd:
Oni wasnaethu Dduw fel Christion,
Rwyti gwedi tyngu 'n vdon.

5. Duw a wnaeth i bôb Creadur,
Dan y nef d'wsnaethu 'n bryssur:
Rwyt ti 'n gaeth ar ben dy linie,
Am y rhain i wsnaethu ynte.

6. Duw a wnaeth ir Bŷd gweledig,
Brûdd wasnaethu Dŷn yn * ystig,
Fal y gallei 'r dŷn a'i ryw,
Ynte 'n brûdd wasnaethu Duw.

* Diwyd.

7. Y dyn anghofio wsnaethu Duw,
Yn ei râdd, tra fyddo byw,
Mae 'n anghofio 'r gweithred mwya,
Bwyntiodd Duw iw wneuthur ymma.

8. Nefoedd, Daiar, Dŵr, Angelion,
Adar, Pyscod, Bwystfil gwylltion,

Ac

Ac ymlyſciaid o bôb rhyw,
*Sy 'n ei grâdd yn moli Duw.*

*Nid oes vn o'r holl greaduriaid,*
*Gwyllt na dôf, na dwl na diriaid,*
*Heb waſnaethu Duw trwy fawl,*
*Ond yn vnig dyn a diawl.*

9. *Cwilydd, Gwradwydd maes o feſſur,*
*Ydyw gweled pôb Creadur,*
*Yn Gwaſnaethu Duw yn ffyddlon,*
*Ai ddibriſſio gan blant dynion.*

10. Bawedd y cyfyd dŷn ei ben?
Pan dwetto Chriſt o'i orſedd wen,
Nâd oes neb yn ei waſnaethu,
Waeth nâ 'r dyn y fu e'n brynu.

11. Mae mwy Ddlyed ar bôb Chriſtion,
Lwyr waſnaethu Duw yn ffyddlon,
Nag y Sydd ar vn Creadur,
Ag y wnaeth Duw dan yr Awyr.

12. Nid â i vffern vn Creadur,
Gydâ 'r diawl i'r poen di-feſſur,
Onid dynion gwaetha eu rhyw,
Eiſie gwir waſnaethu Duw.

Rhag i tithe fynd i * frwylian, * *Moſci.*
I dân vffern gydâ Satan,
Nac anghofia tra fech byw,
Ym-mhôb mann waſnaethu Duw.

*Siamplau o wir waſnaethwyr Duw a'i gobrwy.*

*Enoch* am waſnaethu Duw,
Y gâs mynd ir nef yn fyw,
Yn ei gnawd a'i wir gorpholaeth,
Cyn cael gweled dim marwolaeth.

† Noah am wîr waſnaethu 'r Arglwydd,
Gâs ei gadw yn ddi-dramcwydd,
yn yr Arch a'i dylwyth hefyd,
Pan y ſoddodd Duw yr holl-fyd.

Abram y gâs barch a golud,
Ffaſar Duw, ac Iſaac hefyd,
Holl wlad Canaan, a'i thai mawrion,
Am waſnaethu Duw yn ffyddlon.

Iſaac yntef am ſendithio
Duw, 'n y maeſydd wrth fyfyrio,
Y gâs lafur ar ei ganfed,
Gan yr Arglwydd am ei weithred.

Joſeph ddiwair am waſnaethu
Duw, a pheidio godinebu,
Gâs i dynnu maes o'r dwngwn,
A'i roi 'n Ben ar wlad y Sibſwn.

Joſuah rymmus ynte am lynu,
Wrth yr Arglwydd a'i waſnaethu,
Y Gâs ennill Brenhiniaetheu,
A phôb Tîr a Gwlad y gerddeu.

Hên Elias gâs ei borthi,
Gan y cigfrain yn ei dlodi,
Ai ddwyn ir nef mewn, † coits danllyd,
Am waſnaethu Duw 'n ei fywyd.

Sadraeh, Meſach, Abednego,
Am waſnaethu Duw a'i gofio,
A waredwyd yn dra hyfryd,
O'r tân poeth a'r ffwrnes danllyd.

Daniel am waſnaethu 'n vfydd
Duw 'n ei ſtafell dair-gwaith beunydd,
Y gas ddiangc rhag y llewod,
A'i waredu maes o drallod,

† *Er nâd oes neb yn haeddu trugaredd, ymwared, a bywyd tragwyddol am eu gwaſanaeth, (fel y mae'r Awdwr yn dywedyd 'ronyn yn y blaen, ac mewn amryw leodd eraill) waith bôd ein gweithredoedd goreu yn am-mherffaith: etto y mae 'r ſawl ſy'n gwaſanaethu* Duw, *ar y ffordd i gael hynny oll, o herwydd bôd* Duw, *o'i gariad a'i râs ei hun, er mwyn Chriſt, wedi addaw hynny iddynt;* Phil. 3. 9, 12. Luc. 17. 10. Rhuf. 6. 23. Eph. 2. 7, 8, 9.

† *Cerbyd.*

Pwy

Pwy erioed a wnaeth wasanaeth,
Ir gwir Dduw heb wabar helaeth?
Pwy y dannodd ei ogoniant Deut.28.2
Na châs gantho barch a ffynniant?

Ni agorodd vn-dyn etto,
Ddrws ei demel heb ei wabro,
Ac ni nynnodd vn offeiriad,
Dân ar Allor heb lawn daliad. Mal.1.10

Ni ry vn-dyn byth gwpanaid,
Er ei fwyn o ddwr i'r Gweiniaid,
Ar ni chaiff ei wabar gantho,
Ar ei chanfed medd Sant *Matho*.

*Goreu Meistr iw wasnaethu,*
*Mwya ei barch yw'r Arglwydd Jesu,*
*Goreu 'n talu taliad ffyddlon,*
*Am wasaneth idd i weision.*

*Meistr grassol, Meistr grymmus,*
*Meistr † rhial gogoneddus,* †Rhagorol
*Meistr a wna ei holl weision,*
*Yn Offeiriaid a Thwysogion.* Dat.1.6

Meistr a wna iddynt eiste,
Yn y Nefoedd mewn cadeire,
Mewn esmwythder a dedwyddwch,
Mawr ogoniant a Rhialtwch.

Meistr y ry idd ei weision,
Deyrnas hardd ac auraidd Goron, 1 Cor.2.9
A'r fâth bethau mawr arbennig,
Na all calon dyn ddychymyg.

Pwy gan hynny na wasnaethe,
Grist yn ddyfal ar ei linie?
Rhwn sy'n gwabru ei gywir weision,
A'r fâth deyrnas, â'r fâth Goron.

Pwy

*Ddirmygei. Pwy na * scornei 'r Byd ar Cnawd,
A'r cythrael câs, a'i saig, ai Sawd,
Ag ystyrie faint yw cyflog
Holl wasnaethwyr Duw galluog?



*Er nad oes vn Gwâs yn haeddu*
*Cael vn wabar am wasnaethu,*
Luc. 17.10 *Etto o'i râs mae Duw yn addo*
*Teyrnas nêf ir rhai gwasnaetho.*

Gwâs i Bechod, Gwâs i Gythrael,
Gwâs i Angeu trist trwy drafel,
Yw pob Gwâs sydd yn gwasnaethu,
Na bo Gwâs ir Arglwydd Jesu.



*Pan y delo 'r Angeu digllon*
* O flaen gorsedd-faingc Christ. *Fynd ir * barr â phob rhyw weision,*
*O! pun oreu 'r amser hynny,*
*Wâs ir Cnawd a Gwâs ir Jesu?*

2 Pet. 3.7. Pan y llosco 'r Byd yn chwyl-boeth,
A'i holl olud, a'i holl gyfoeth,
O! pun oreu 'r amser trist,
Wâs ir Byd, a Gwâs i Ghrist?

*Pan derchafer Plant y Drindod,*
*A throi i vffern weision pechod:*



*Hi fydd chwerw 'r amser hynny,*
*Ado 'r Arglwydd heb wasnaethu.*

Mwy o ennill sydd o awr,
Yn Gwasnaethu 'r Arglwydd mawr,
Nag a gaffom o'n holl fywyd,
Yn gwasnaethu 'r Byd anhyfryd.

Am wasnaethu 'r Byd yn gyfan,
†Trafferth Ni cheir ond y poen a'r † twttan,
A'r twyll tôst wrth fynd o hano,
Yn noeth fel y daethpwyd iddo,

Am wasnaethu 'r Cnawd trwy Blesser, Gal. 6. 8.
A'i foddloni ag esmwythder,
Ni cheir cyflog gantho 'sywaeth,
Ond oes ferr a * llygredigaeth. * Damnedigaeth.

Am wasnaethu vn rhyw Bechod,
Pe's Gwasnaethem hwn yn wastod,
Ni cheir gwedi 'r hir wasanaeth,
Gantho ond Gwradwydd a Marwolaeth.

Am wasnaethu Tâd y celwydd,
Er ei fôd yn cynnig Gwledydd,
Nid oes trodfedd dîr gan Satan,
Ond pwll vffern iddo 'i hunan.

Am wasnaethu 'r Arglwydd *Jesu*,
Y mae Teyrnas iw meddiannu,
A Gogoniant a dedwyddwch,
A gwir fywyd mewn rhialtwch.

Ymrown minne tra fom byw,
Bawb i brûdd wasnaethu Duw:
Dyna 'r Meistr gore i wsnaethu,
Dyna 'r Gorchwyl rheita i bennu.

A meddyliwn bawb am ymladd,
A phôb Gelyn sydd ein gwrthladd,
Yn ein duor, yn ein † stoppi †Rhwystro
Weithio 'r Gwaith sydd reita inni.

Ac fel Gweithwyr cywir, ffyddlon,
Câll, cofiadyr, * carccys, cyfion, * Gofalus.
Cwympwn bawb i wîr wasnaethu
Duw tro amser Grâs yn gadu. Esa. 55. 6.

Oni wsnaethwn Dduw tro 'n ymma,
A thro amser Grâs yn para,
Ni gawn fynd ir Pwll yn gyngan,
Ar ein pen i wsnaethu Satan.

Yn

☞ *Yn y pwll hi fydd edifar,*
*Trwy ddifeirwch rhy ddiweddar,*
*Mor ddi- bris ddirmygu 'r Drindod,*
*Ac mor rhwydd wasnaethu pechod.*

*Yno bwylir hallton ddagrau,*
Luc. 13. 28. *Yno bloeddir gan y poenau:*
*Ond pa bwylyd perfedd allan,*
*Ni ddoir byth o Grampau Satan.*

Cwympwn bawb yn * brûdd gan hynny, (*yn bryssyr)
I wasnaethu Duw tro i 'n heddy:
A rhown ffarwel bawb i bechod,
Trwy lwyr droi i wasnaethu 'r Drindod.

Felly cawn ni pan bo rheita,
Gwedi 'r byrr wasanaeth ymma,
Byth wasnaethu 'r Arglwydd tirion,
Yn y Nêf ym-mhlith Angelion.

Ir hon Nefoedd ô 'n Creawdwr,
Er mwyn *Jesu Ghrist* ein prynwr,
Dwg ni oll i'th wîr wasnaethu,
Gydâ 'th Sainct a'th nefol deuly.

---

## *Am Weddi a'i pherthnasseu.*

TYnn dy 'fcidie cyn gweddiech,
Rhwym dy assyn cyn aberthech,
Golch dy draed cyn mynd ir cymmyn,
Ystyria geisiech cyn ei ofyn.

Psal. 5. 1. Cyn gweddio edifara,
Wrth weddio dyfal weithia,
Joan 9. 31 Yn ol gweddi bydd ddiolchgar,
Psal. 118. 21. Felly caiff dy weddi ffasar.

*1. Y Diawl y gais bôb dydd dy demptio,*
*2. Y cnawd bôb awr a fyn dy dwyllo,*
*3. Y byd a'i bethau gais d' orchfygu,*
Prawf trwy weddi eu gwrthnebu. Mat. 26. 41.

Da yw gweddi ym-mhôb lleoedd, 1 Tim 2. 8
Da yw gweddi bôb amseroedd, 1 Thess. 5. 17.
Da yw gweddi dros bôb dynion,
Mae 'n dda gweddi 'm-mhôb achosion. 1 Tim. 2. 1.

Aberth hyfryd ir Gorucha, *Godidawgrwydd gweddi.*
† Whipp yn * Scwrgio 'r Diawl a'i dyrfa,
Nerth ir gwann ym-mhôb gofydi, Psa. 141. 2.
Nawdd rhag Pôb drwg ydyw gweddi. † *Gwialen* * *ffangellu*.

† Allwedd Aur i ddaccloi 'r borau,
Bollt y nôs i gau dy ddrysau, † *Agoriad.*
Tŵr i'th gadw rhag drygioni,
Ddydd a nôs yw * deddfol weddi. * *Cyfreithlawn.*

*Gweddi brûdd sydd drech nâ dynion,* Exo. 17. 11
*Gweddi daer a drôdd Angelion,* Gen. 19 3.
*Gweddi fwriodd Ddiawled allan,* Mat 17. 21
*Gweddi orchfygodd Dduw ei hunan.* Exod. 32. 14.

Na ddibrissia ddim o'th weddi,
Mae 'n y nef fel thus yn llosci,
Mae ar ddaer yn clwyso Satan,
Mae 'n ennillfawr it dy hunan.

*Mewn ffydd a parch, a llwyr-fryd calon,* Mar. 11. 24
*Mewn zêl, ac Awch, a meddwl Union,* Heb. 12. 28
*Mewn deall † drûd a dyfal geisio,* Jer. 29 13
*Mewn hyder prûdd y mae gweddio.* Iac 5. 16. Psal 66. 18 1 Cor. 14. 15

Côd d'olygon, plûg dy liniau, † *Cryf.*
Tann dy ddwylo, agor d'enau,
Deffro d' ysbryd, cûr dy ddwyfron,
Llwyr weddia â'th holl galon.

Nid

*Ar Dduw yn Ghrist yn Unig y mae gweddio.* Ioan 16. 23, 24.

Nid ar Baal na'r llo, na'r ddelw,
Sant na Santes y mae galw,
Ond ar Dduw, trwy Grist yn unig,
Am bôb peth sydd arnat ddiffig.

†*Cynnorthwy.*

Ni ŵyr neb ond Duw o'n cyflwr,
Ni all neb ond Duw roi † swccwr,
Ni chlyw neb ond Duw ein gweddi,
Ar Dduw 'n unic y mae gweiddi.

Psal. 50 15

Duw sy'n erchi galw arno,
Duw sy'n addo rhoi ond ceisio:
Duw sy'n gwrando pob prûdd weddi,
Duw all tynnu pawb o'i tlodi.

Esa. 63. 16.

Ni ŵyr *Abram*, ni wyr *Jaco*,
Ym-mha gyflwr yr 'ym ynddo,
Ni ŵyr neb ond Duw ei hunan,
Beth yw 'n cais, a maint yw 'n cwynfan.

Psal. 65. 2.

*Peth perthnassol i Dduw 'r lluoedd,*
*Ydyw gwrando gweddi miloedd,*
*A fo 'n ceisio mîl o bethau,*
*Ar un pryd mewn amryw Jaethau.*

Ni ŵyr *Mair* i'm tŷb ddim Saesneg,
Ni ŵyr *Martha* ddim gwyddeleg,
Ni ŵyr *Clement* Sant ddeallu,
Beth y ddywaid un or Cymru.

Ni ŵyr *Abram* ddim o'n cyflwr
Ni all *Clement* roi i ni *Swccwr*,
Ni chlyw Peder ddim o'n gweddi,
Ar Dduw 'n vnig y mae gweiddi.

Mat. 4 10.

*Parcha 'r Saint yn fawr yn fychan,*
*Ond addola Dduw ei hunan,*
*Rho anrhydedd gweddus iddynt,*
*Etto na weddia arnynt.*

Ni

*Ni bu † Batriare, ni bu Brophwyd,* † *Uchel-dad.*
*Ni bu * Bostol ag y glyw-wyd,* * *Apostol.*
*Wneuthur gweddi (ar' ddarllenes)*
*Etto erioed at Sant na Santes.*

*Nid oes † Brommais yn y fengyl,* † *Addewid*
*Inni gael dim trwy fawr ymbyl,* Joan 16. 23, 24.
*Ond y gaffom trwy ymbilian,*
*Er mwyn Jesu Ghrist ei hunan.*

Christ yn Unic yw'n Cyfryngwr, 1 Tim. 2. 5
Christ yw'n Twrnei a 'n dadleuwr,
*Nid oes arall all gyfryngu,*
*Rhwng Duw a dyn ond Christ Jesu.*

Er mwyn Jesu y mae ceisio,
Faint y geisiom wrth weddio,
Ar ddeheu-law 'r Tâd mae 'n eiste, Rhuf. 8 34
Er mwyn derbyn ein *gweddie.*

Cymred eraill hên Saint *Catrin,*
*Dewi, Clement, Martha, Martin,*
Byth ni cheisiaf i Gyfryngwr,
Rhwng-wi a Duw, ond Christ fy mhrynwr.

Cais yn eiriol wrth weddio, *Ni ellyr gweddio wrth fodd Duw heb gymmorth yr yspryd glân.*
Nerth yr yspryd ith gyfrwyddo:
Ni all neb weddio 'n hyfryd,
Heb gyfrwydd-deb y glân yspryd.

Heb yr yspryd f'allir sonio,
Am Dduw mawr ac am weddio: Rhuf. 8. 26.
Ond ni ddichon un dyn * ddwedyd, * *Seffel y dylei.*
Wrth Dduw mawr heb nerth yr yspryd.

Duw ni phrissia weddi 'r tafod, Mat 15. 8.
Heb y galon a'r gydwybod, *Rhaid gweddio o'r galon.*
Gweddi 'r enaid prudd ar yspryd,
O flaen Duw sydd aberth hyfryd.

Cais

Cais â'r genau, cais â'r galon,
Un or ddau ſydd lai nâ digon;
Cydia 'r genau gydâ 'r yſpryd,
Hynny bair cynghanedd hyfryd.

*Gwell yw'r galon heb y genau,*
*I weddio ambell weithiau,*
*Nag yw 'r genau hêb y galon:*
*Gweddi o'r fâth ſydd weddi ffinion.*

Exod. 14. 15.
Gwell oedd gweddi *Moeſen* hyfryd,
* *Ymdeithio.*
Wrth * Shiwrneia heb ynganyd,
Nâ gwaith gwefus yr Iddewon,
Yn gweddio heb y galon.

*Rhaid gweddio 'n daer ac mewn ffydd.*
Cais a geiſiech trwy wîr ffydd,
Na chymmer ball, ond * beggia'n brŷdd:
Nac ainmeu dderbyn 'rhyn a geiſiech,
O ceiſij 'n daer di gei oſynnech.

* *Gofyn.*
Ni chau 'r Adar bach o'u ſafnau,
Nes y llanwo ei mam eu boliau,
Ac ni ddlye ddynion dewi,
Nes cyflawno Duw eu gweddi.

* *Cais.*
*Rhyfedd yw mor daer y * beggian,*
*Llawer dyn am fwyd ac Arian,*
* *Ddiog.*
*Ac mor * llwfr y gweddiant,*
*Am drugaredd a gogoniant.*

Hael yw Duw ir ſawl a'i ceiſiant,
Jac.1.5.
Rhwydd yn rhoi ir rhai oſynnant;
Rhoi yn brûdd heb ddim dannodiaeth;
Rhoi eu rhaid i bawb yn helaeth.

Pſal. 103. 13.
Fel y gwrendy Mam ar Blentyn,
Y ſo 'n llefain yn ei rwymyn:
Felly gwrendy Duw ein gweddi,
Pan y llefom mewn goſydi.

B'wedd

B'wedd na wrendy Duw dy weddi — Rhuf. 8. 26. 27, 34.
Lle mae 'r yspryd glân yn gweiddi,
A Christ Jesu 'n Ymbil drosod,
Ar ddeheu-law 'r Tâd yn wastod?

Os yn enw Christ y ceisij, — Joan. 16. 23, 24.
Os yn eiriol y gofynni, — *Rhaid gweddio yn enw Christ.*
Di gei naill ai'r hyn ofynaist,
Neu beth gwell na 'r hyn y geisiaist.

*Or bydd d' Arglwydd yn † dehirio,* — *† Oedi.*
*Rhoi ofynnech wrth weddio,*
*Mae e'n d'annog geisio 'n daerach,*
*Neu ddymuno rhyw beth rheitach.*

Cais ogoniant Duw yn gynta, — *Gogoniant Duw a nefolion bethau y dylit euceisio yn gynta.*
Cais nefolion bethau nessa,
Cais ei deyrnas a'i gyfiawnder, — Mat. 6. 33.
Di gei 'r cwbwl heb ddim prinder.

Gwachel geisio tra fech byw, — 1 Io. 5. 14.
Ddim yn erbyn gwllys Duw: — *Rhaid gweddio yn ôl ewyllys Duw.*
Digio Duw y mae dy weddi,
Or ceisij 'r peth na fynno'i roddi.

Ffôl yw ceisio bydol bethau,
Pan galler cael nefolion dlwssau,
Serchu 'n fawr mewn daiar domlyd,
Heb wneuthur pris o'r nefoedd hyfryd.

*Nattur Mochyn brwnt anhygar,*
*Yw rhoi 'fryd ar drwyno 'r ddaiar,* — Col. 3. 1, 2.
*Nid naturiaeth un or bobloedd,*
*Sydd a'i Tâd yn nheyrnas nefoedd.*

Cais y peth y mae Duw 'n addo,
Yn ei Air ac yn ei † lwo: — *† Yn cenhadu i ti ofyn.*
Cais y rhain er hyn yn weddys,
Os cenhada ei sanctaidd 'wllys. — Mat. 26. 39

*Rhaid gweddio yn y Iaith y ddeallom, ac nid mewn iaith ddieithrfel y gwna'r Papist.* 1 Cor. 14. 15 *Dywedyd llawer, mewn iaith nad yw'n deall.* Mat. 15. 7, 8. Jer. 17. 10. Jo 4. 24.

*Gwna dy weddi byth yn ddiwall,*
*Yn y iaith a fech yn ddeall:*
*Gwell yw pum gair ag ystyriech,*
*Nag yw deng-mil na's deallech.*

Gwatwar Duw a'i dwyllo ei hûn,
Wrth weddio y mae dŷn,
Pan y ceisio wrth * friwgawthan,
Gan Dduw 'r peth nas gŵyr ei hunan.

Nâd ir min rag-flaenu 'r meddwl,
Pâr ir galon bwyso 'r cwbwl;
*Ni all Duw un amser odde,*
*Heb y galon weddi 'r gene.*

Duw yw chwiliwr y calonnau,
Duw ei hûn yw Tâd y golau,
Duw fyn gweddi brûdd o'r galon,
Duw ni phrissia eiriau gweigion.

*Rhaid troi heibio traws a drwg feddyliau wrth weddio.* *Tra fydd-ech yn ymddiddan.* Gen. 22. 5.

Tro bôb meddwl aflan heibio,
Pan y byddech yn gweddio,
A rhwym gartre dy fydolrwydd,
* Trech yn parlo ti a'th Arglwydd.

Ni chae Asfyn *Abram* sangu,
Lle bae *Abram* yn aberthu:
Nad i'th fydol feddwl dithe,
Dramwy lle bo dy weddie.

Gen. 15. 11 † *Achosion.* * *Rwystro.*

Megis *Abram* rhaid it darfu,
Pob rhyw rwystrau wrth aberthu,
A rhyfela ar † bussneson,
Ath * ddehoro i adail *Sion*.

*Nid oes gadel Satan i'n rhwystro i weddio.* Iac. 4. 7.

Pa ddyfala ceisio Satan,
Pan gweddiech droi dy amcan,
Rheita 'gid y dlijt weddio,
A'i wrthnebu nes y cilio.

Fal

Fel y cilia 'r llew crafangog,
Pan y clywo ganiad ceilog :
Felly cilia Satan greulon,
O'r lle clywo weddi ffyddlon.

Ni all † Bual drigo 'n heppell, † Ych gwyllt.
Lle bo gwichiad ciw neu barchell :
*Ni all Satan yntef drigo,*
*Lle bo dynion yn gweddio.*

*Oni bae fôd Satan ddwrngas,*
*Yn gweld gweddi 'n rhwygo ei deyrnas,*
*Ac yn awchlym yn ei glwyfo,*
*Byth ni rwystrei 'neb weddio.*

*Ond * or cert Jechyd d'enaid,* * Os.
*Na gogoniant Duw, na'th gyfraid,*
*Nâd i Satan byth dy rwystro,*
*Wrando 'r gair nac i weddio.*

Wrth weddio llêf heb orphwys, Rhaid gweddio dros eraill 1 Tim. 2. 1, 2.
Dros bôb grâdd sydd yn yr Eglwys,
Ac nac arfer megis † Pagan,
Weddi 'n unic itt' dy hunan.

Nid gwîr Blant yr Eglwys Sanctaidd; † Dyn digred.
Ond Bastardiaid anghristnogaidd,
Yw pawb na weddio 'n ffyddlon,
Dros yr Eglwys, Sanctaidd *Sion.*

Os gweddiodd *Abram* swyna,
Dros drê Sodom a Gomorra,
B'wedd na ddylem ni 'r Christnogion, Psal. 51. 18
Alw ar Dduw dros dylwyth *Sion?*

Christ sy'n erchi' bawb weddio, Rhaid gweddio heb ddeffygio Luc. 18 1. 1 Tim. 2. 8
Ar bôb amser heb ddeffygio :
A Saint Paul sy 'n chwennych inni,
Ym-mhob man ymarfer gweddi.

 Daniel

Dan.6.10. *Daniel* rasol a weddie,
Dair gwaith beunydd ar ei linie,
Psal.119. 164. A'r brenhinol Brophwyd Dafydd
Y weddie saith waith beunydd.

*Dyfal. *Christ* ein prynwr ynte yn * glôs,
Luc.6.12. A weddie tra fae 'r nôs,
Ac y dreulie 'r dydd tro ganto,
Yn pregethu neu 'n gweddio.

Ym-mhôb man ac ar bob amser,
Jac. 5.16. Y mae gweddi o fawr bwer,
Os y galon a fydd parod,
*Weddio. I * ymbilian a'r hael Drindod.

Ar y moroedd, ar y mynydd,
Yn ein Teie, ar ein maesydd,
*Mae 'n ddyledus. Y * dirpere i'n weddio,
Ym mha fan y bom ni yndo.

Act 10.6 9 Gydâ Pheder yn ein llettu,
Psal.63 6. 139.18. Gydâ Dafydd yn y gwely,
Gydâ *Daniel* rhwng y llewod
Y mae 'n rhaid gweddio 'n wastod.

* Amser. *Ni ddiffodde ar vn * tymmor,*
*Or tân sanctaidd ar yr allor,*
* Awydd-frydgwres *I fynegi byth na ddlye,*
Lev 6.13. *Ddiffodd *zêl dy weddi dithe.*

Dŷn sydd Demel ir Gorucha,
Calon Dyn yw 'r Allor benna ;
Num. 28. 3.4 Fore a hwyr y mae Duw 'n ceisio,
Dihar.23. 26 Gael o'th galon aberth iddo.

*Nâd dy Demel er dy fywyd,*
☞ *Fore a hwyr heb Aberth hyfryd,*
* Fyned heibio. *Ac nâd genol dydd i * basso,*
Psal 55.17 *Heb roi clôd a moliant iddo.*

Felly

Felly byddi di * ffamiliar,
A'th Greawdwr, ac mewn ffafar:
Felly cei di gan y *D*rindod,
Dy rwyddhau a'th helpu 'n waſtod.

* Gyſeillgar.

Nid oes dim a * ddirper rwyſtro
Dyn gwllyſgar i weddio,
Ac i weithio ei orchwyl hefyd,
Pa ryw bynna ſo'i gelfyddyd.

* Ddlye.

F'all *d*yn weithio 'ei gelfyddyd,
A gweddio 'n ddyfal hefyd:
*Ni chais gweddi 'r galon rwyſtro*
*Hynt y traed na gwaith y dwylo.*

F'alle *Foeſen* wrth ſhiwrneia,
F'alle *Joſua* wrth ryfela,
*Chriſt* wrth ymdaith, Paul wrth forio,
† Dendo eu buſnes a gweddio.

Exod. 14, 15. Joſ. 10. 12. Mar. 1. 35. Act. 27.

† *Gofalu am eu achoſion.*

Er bôd eſgus yn * lwedig,
Lawer prŷd mewn pwyntiau pwyſig,
‖ Nid oes eſgus ellir enwi,
All d'eſcuſo am dy weddi.

* *Gymmeradwy.*

‖ *Nid oes trwy eſguſon daodi heibio gweddi.*

Gelli beido mynd ir eglwys,
Pan bech glaf o'r haint ath rwyſtrwys:
Ond er clafed blîn a fyddech,
Rhaid gweddio nes * departech.

* *Ymmadawech.*

Gelli beido rhoi eluſen,
Pan na byddoi yn dy berchen,
Ond er cymmaint a fo 'th dlodi,
Nid oes peido byth a gweddi.

Ym-mhôb cyflwr, ar bôb amſer,
Y mae Gweddi yn ei Themper:
Nâd gan hynny ddim dy rwyſtro,
Ym-mhôb cyflwr brûdd weddio.

Yn ein trallod yn ein gwynfyd,
Yn ein nychdod, yn ein iechyd,
Ym mha gyflwr y bom yndo,
Y gall christion brudd weddio.

Nid yw carchar, nid yw cloion,
Nid yw rhwystrau holl blant dynion
Na'r bŷd ôll yn rhwystro gweddi,
Fynd bôb awr at Dâd goleuni.

Tynn di dafod dŷn o'r gwreidde,
Torr ei droed a rho fe 'ngwarche,
Fe all gweddi 'r galon Saethu,
Trwy bôb clo at Dduw er hynny.

Ar wŷl a gwaith, ar nôs a dydd,
Ar foreu a hwyr caiff gweddi brûdd,
Fynd at Dduw, y pryd ei mynno:
Doed pan ddêl, hi gaiff ei groeso.

Er na chae'r Frenhines *Hesther*,
Fynd at Frenin ond rhyw amser,
Fe gaiff gweddi heb ei rhwystro,
Fynd at Dduw yr awr ei mynno.

Cwyn fel *Daniel* ar y wawr ddydd,
Psal. 119. 62. Cwyn di ganol nôs fel *Dafydd* :
Mae Duw 'n barod gwrando geisiech,
Galw arno 'r awr y mynnech.

Er na chaffo dŷn ei hunan,
Fynd i'r nêf at *Ghrist* i ymddiddan :
Fe gaiff gweddi Pôb rhyw gristion,
Fyned atto 'r awr y mynnon.

Trwy 'r gwynt, a'r glaw, trwy 'r * Aêr ar tonne,
Trwy 'r Sphêrs i gŷd a'r holl Blanede,
Yr aiff gweddi fel llycheden,
O flaen Duw uwch law'r ffurfafen.

* *Awyr, gwel.*

Ni

Ni all nef na Daer na dynion,
Awdurdodau nac Angelion,
Rwystro gweddi gael ymddiddan,
Bob yr awr â Christ ei hunan.

Nid rhaid iddi ofyn cennad,
Peder gwyn i gael agoriad,
Hi gaiff mynd trwy 'r holl Angelion,
O flaen Gorsedd Christ yn † eon, † Hy.

Hi gaiff gan Dduw wrando ei chysur,
Hi gaiff gan Ghrist * bledio ei dolur, * Dadleu.
Hi gaiff gan yr yspryd riddfan, Rhuf.8.26
Ac ochneidio drosti 'n gyngan.

Ni thry Rhoddwr pôb daioni,
Adre 'n wag-law o'th brûdd weddi ;
Ond fe leinw Christ ei bynwes, Esay.45.
Ac ai nertha i gael ei neges. 19.

Oni chaiff hi'r hyn a geisio,
Hi gaiff well nâ hynny gantho :
*Os ni edy Christ un amser,*
*Weddi ffyddlon fynd yn ofer.*

O ! pa ddyled s'arnom 'roddi ;
Ir gwîr Dduw am oddeu 'n gweddi,
Fynd oi flaen yr awr y mynnom,
A chael gantho 'r hyn a geisiom.

Braich yw Gweddi sy'n cyrhaeddyd, *Canmoliaeth gweddi.*
O'r Byd hwn ir Nefoedd hyfryd,
Ac yn cymryd o drysso re
Duw beth bynna s'arni eisie.

Gweddi † brûdd sydd Gennad hŷ, †*Disrif.*
A rêd dros ddyn ir Nefoedd fry,
Ac y gaiff bôb awr ymddiddan, * *Dirwystyr.*
Yn * ddistop â Duw ei hunan.

Gweddi

*Grym gweddi.* Gweddi laddodd Gawr tra chadarn,
1Sam. 17. Gweddi 'gorodd byrth o haiarn,
45. Gweddi gauodd safne llewod.
Act. 12 5. Dan.6. Gweddi dynn ddŷn o bôb trallod.

Psa. 34 17 Gweddi glôdd y Nef yn hîr,
Jac. 5.17. Gweddi † droes y môr yn dîr,
† *Dibdd.* Exod. 14. Gweddi wnaeth ir meirw godi,
1Bren. 17. 21,22. *Nid oes dim mor gryf a Gweddi.*

O! ba ddiolch s'arnom roddi?
Ir gwir Dduw am adel Gweddi,
Fyned atto 'r awr y mynnom,
A chael gantho 'r pethau geisiom.

†*Fe wrendy Duw weddi gwneuthurwyr ei ewyllys ef nid gweddi yr annuwiol.* Jo.9.13.

Clôd a Gallu, Diolch, Moliant,
Parch, Anrhydedd a Gogoniant,
A foi Roddwr pôb Daioni,
Sydd mor fwyn yn gwrando † 'n Gweddi. *Amen.*

## *Rhybydd i Ddyn feddwl am Dduw y boreu, Pan ddihuno gynta o'i gwsc.*

Y Bore pan dihunech gynta,
Côd d'olygon at † Jehofa;
† *Dduw.* Meddwl am ei foli 'n ddiwall,
Cyn meddyliech am ddim arall.

Cofia mae Duw oedd y Ceidwad,
Y fu neithwr yn dy wiliad,
Heb roi amrant iddo gysgu,
Rhag ir llew dy ladd a'th lyngcu.

Oni bae Dduw a'i Angelion,
Sy'n castellu bobtu ei weision,
Psal. 34.7. Dyn ni bydde heb ei lyngcu,
Gan y Gelyn tra fae 'n cysgu.

Meddwl dithe faint ſyw'r dlyed,
Y ſydd arnad ir * Gogoned,
Am dy gadw mor ddihangol,
Rhag y Gelyn yn waſtadol.

* Arglwydd.

Megis y mae 'r dlyed arnad.
Rho fawr foliant iddo 'n waſtad,
Ac abertha ar dy linie,
Ddiolch iddo nôs a bore.

---

*Diolch foreuol pan ddibuner gynta.*

DUw fy 'ngheidwad, Duw fy 'nghryſdwr,
Duw fy nghaſtell rhag y Drwgwr,
Derbyn ſoliant ar fy nwylo,
Am fy nghadw 'r nôs aeth heibio.

Rwyt ti 'n gwiliad daetu 'ng-welŷ,
Ddydd a Nôs tra fyddwi 'n cyſcu,
Ac yn tannu d' adain droſof,
Pan gollwngwi 'r Bŷd yn angoſ.

Rwyti 'n rhoddi i'm eſmwythder,
A llonyddwch mawr bôb amſer,
Gan * reffreſhio beunydd felly,
F'egwan gorph â melus gyſcu.

* Adfywio.

Ni winc, ni chwſc, ni hun, ni heppian,
Fy nhâd graſol tra fwi 'n * ſlwmbran,
Ond fe'm ceidw yn ei geſſel.
Tra fwi 'n cyſcu yn ddiogel.

* Gogyſcu.

Pa fath ffaſar yw hon ymma ?
Dy fod ti y Brenin mwya,
Yn ymoſtwng i ddiwallu,
Llwch a lludw tra fo 'n cyſcu ?

Byth

Grym gweddi.

Gweddi laddodd Gawr tra chadarn,
1Sam. 17. 45. Gweddi 'gorodd byrth o haiarn,
Act. 12 5. Gweddi gauodd safne llewod.
Dan. 6. Gweddi dynn ddŷn o bôb trallod.
Psa. 34 17 Gweddi glôdd ŷ Nef yn hîr,
Jac. 5. 17. Gweddi † droes y môr yn dîr,
† Dibdd. Exod. 14. Gweddi wnaeth ir meirw godi,
1 Bren. 17. 21, 22. *Nid oes dim mor gryf a Gweddi.*

O! ba ddiolch s'arnom roddi?
Ir gwir Dduw am adel Gweddi,
Fyned atto 'r awr y mynnom,
A chael gantho 'r pethau geisiom.

Clôd a Gallu, Diolch, Moliant,
Parch, Anrhydedd a Gogoniant,
A fo i Roddwr pôb Daioni,
Sydd mor fwyn yn gwrando † 'n Gweddi. *Amen.*

† Fe wrendy Duw weddi gwneuthurwyr ei ewyllys ef nid gweddi yr annuwiol. Jo. 9. 13.

## *Rhybydd i Ddyn feddwl am Dduw y boreu, Pan ddihuno gynta o'i gwsc.*

Y Bore pan dihunech gynta,
Côd d'olygon at † Jehofa;
Meddwl am ei foli 'n ddiwall,
Cyn meddyliech am ddim arall.

† Dduw.

Cofia mae Duw oedd y Ceidwad,
Y fu neithwr yn dy wiliad,
Heb roi amrant iddo gysgu,
Rhag ir llew dy ladd a'th lyngcu.

Oni bae Dduw a'i Angelion,
Psal. 34. 7. Sy'n castellu bobtu ei weision,
Dyn ni bydde heb ei lyngcu,
Gan y Gelyn tra fae 'n cysgu.

Meddwl

Meddwl dithe faint syw'r dlyed,
Y sydd arnad ir * Gogoned,
Am dy gadw mor ddihangol,
Rhag y Gelyn yn wastadol.

* Arglwydd.

Megis y mae 'r dlyed arnad.
Rho fawr foliant iddo 'n wastad,
Ac abertha ar dy linie,
Ddiolch iddo nôs a bore.

---

*Diolch foreuol pan ddihuner gynta.*

DUw fy 'ngheidwad, Duw fy 'nghrysdwr,
Duw fy nghastell rhag y Drwgwr,
Derbyn foliant ar fy nwylo,
Am fy nghadw 'r nôs aeth heibio.

Rwyt ti 'n gwiliad daetu 'ng-wely,
Ddydd a Nôs tra fyddwi 'n cyscu,
Ac yn tannu d' adain drosof,
Pan gollwngwi 'r Bŷd yn angof.

Rwyti 'n rhoddi i'm esmwythder,
A llonyddwch mawr bôb amser,
Gan * reffreshio beunydd felly,
F'egwan gorph â melus gyscu.

* Adfywio.

Ni winc, ni chwsc, ni hun, ni heppian,
Fy nhâd grasol tra fwi 'n * slwmbran,
Ond fe'm ceidw yn ei gessel.
Tra fwi 'n cyscu yn ddiogel.

* Gogysgu.

Pa fath ffafar yw hon ymma?
Dy fod ti y Brenin mwya,
Yn ymostwng i ddiwallu,
Llwch a lludw tra fo 'n cyscu?

Byth

Byth ni byddai'n abal rhoddi,
Y ddegfed ran o ddiolch itti,
Ag sydd arnaf (Dâd caredig)
Am y ffasar hon yn unig.

Clod a gallu, diolch, moliant,
Gwîr anrhydedd, a gogoniant,
Y fo nos a dydd i'r Drindod,
Sydd mor ddiflin yn fy ngwarchod.

*Rhybydd i ymgadw rhag meddwl dim, edrych ar ddim, neu ddywedyd dim, cyn meddwl am, edrych ar, ac ymddiddan â Duw trwy weddi.*

GWachel feddwl dim â'th Galon,
Gwachel edrych â'th olygon,
Gwachel ddwedyd dim â'th eneu,
Nes moliannu Duw y boreu.

Exod 34. 26. Rho 'ddo flaen-ffrwyth dy wîr Galon,
Blaen-ffrwyth d'eiriau a'th feddylion;
Duw a fyn y ffrwythau cyntaf,
Ni fyn Duw na'r ail na'r olaf.

*Cynta peth a wna 'r vchedydd,*
*Moli Duw pan torro 'r wawr ddydd:*
*Cynta peth a ddlye ddynion,*
*Foli Duw o ddyfnder calon.*

*Bron-rhuddyn. *Rhobin bâch cyn glycho'i gene,
A gaan ir Arglwydd psalm y bore,
Am ei chadw 'r nôs rhag niwed,
*Er bod gwely hon yn galed.*

Llawer dyn yn waeth nâ'r deryn,
Gwyn o'i wely megis mochyn,
Heb gydnabod Christ ei Geidwad,
Na rhoi diolch am ei warchad.

Peth

Peth cwilyddys i blant dynion,
Fôd yn waeth nâ'r Adar gwylltion,
Sy'n clodforu nôs a boreu
Duw, mor ddyfal am ei ddonieu.

*Myfyrdod foreuol, yn cyffro dyn i fod yn ddiolchgar i Grist am ei gadwriaeth.*

MEddwl fal y gallse Satan,
Yn dy gwsc dy ladd heb yngan,
A'th ddwyn ir farn yn amharod,
Oni † basse Grist dy warchod. †*Buasen.*

Meddwl fal y gallse 'r Gelyn, Job 1.
Oni basse i Grist d' amddiffyn,
Lâdd dy blant, a dwyn dy gyfoeth,
Llosci 'th dŷ, a'th flino boenoeth.

Cofia fal y gallse 'th daro,
Ag ynfydrwydd nes gwall-bwyllo,
Fal na allassyd ddim o'r cyscu,
Oni basse i Grist ei nadu.

Bydd gan hynny dra diolchgar,
Ith wîr Geidwad am ei ffafar,
Yn dy gadw mewn esmwythder,
Rhag y Gelyn yn ddibryder.

*Diolch i Grist am amddiffyniad ac esmwythder.*

O Fyng Heidwad, o fy Mugel,
Rhwn am cedwaist yn dy gessel,
Neithwr rhag i'r blaidd fy llyngcu,
Rwi o'm calon i'th glodforu.

Dan

Dan dy adain Christ di'm cedwaist,
Yn dy freiche di 'm cofleidiaist,
Rhoddaist imi brudd esmwythder,
Rwi 'n ddiolchgar am dy fwynder.

Nedaist Satan im disethu,
Nedaist ddynion im gorthrymmu,
Nedaist dân a gwynt fy speilio,
Nac anhunedd im dihuno.

Bendigedig a fo d'enw,
Christ fyng Heidwad am fy nghadw,
A gogoniant itti rodder,
Am roi i mi 'r fâth esmwythder. *Amen.*

## *Mor enbydus yw cyscu mewn Esmwythder y maes o ffafar Duw.*

*Enbyd-rwydd. †Amddi-ffynniad. MWy yw * perig dyn sy'n cyscu,
Yn ei wely heb † nawdd Iesu,
Nag oedd perig *Daniel* hynod,
Gynt wrth gyscu rhwng y llewod.

Y mae'r Scrythur yn mynegi,
1Pet. 5. 8. Fôd y Diawl yn troi o bobtu,
Ddydd a nôs yn ceisio llarpio,
Megis llew pwy bynnag allo.

Pwy sy'n rhwystro 'r llew i'n llyngcu,
Ond ein ceidwad mawr Christ Jesu ?
Psal. 121. 4 Rhwn sydd nôs a dydd heb heppian,
Yn cadw ei braidd rhag rhythreu Satan.

O gan hynny bydd ddiolchgar,
I'th wir Geidwad am ei ffafar,
Yn dy gadw mor ddibryder,
Rhag y llew mewn mawr esmwythder.

*Cynhyrfiad yn cyffroi dyn, rhag cywilydd i fod yn ddiolchgar i Grist am ei gadw 'r nôs rhag niwed.*

*PE bae Iddew yn dy warchod,*
*Tra'iti yn cyscu rhwng bwystfilod,*
*Di roit ddiolch fil o weithie,*
*Am dy gadw o'u crafange.*

*Er bod Christ ei hun i'th warchod,*
*Trech yn cyscu rhwng y llewod,*
*Sydd bôb awr yn ceisio 'th llyngcu,*
*Ni roi ddiolch iddo er hynny.*

Agor d'olwg, gwel ei ffafar,
Cymmer rybydd, bydd ddiolchgar,
A rho ddiolch ar dy ddau-lin
I Grist Iesu am d'amddiffyn.

Felly ceidw Christ di 'n wastod,
Ac y tann ei adain drosod,
Ac i'th geidw mewn esmwythder,
Rhag pob perig yn ddibryder.

---

*Rhybydd i ddyn wrth ddillattu y corph i weddio am ddillad ac arfau i'r enaid.*

PAn y bech yn gwisco 'th ddillad,
Cais arfogaeth *Duw* am danad,
Fal y gallech ymladd yndyn,
Megis Cristion â phob gelyn.

Nid wyt nes er Dillad twymglyd,
I guddio cnawd, i ddyor anwyd,
Oni bae it gael pilynod,
I ddyor bai, i guddio pechod.

Cais

Eph.6.11. Cais gan hynny holl arfogaeth
Duw, i'th gadw rhag gelyniaeth,
Ac rhag Pechod, ac rhag trafel,
Twyll y byd, a'r cnawd, a'r cythrel.

Heb y rhain nid ym ond noethion,
I ryfela â'n gelynion,
Ac nid possib i neb hebddyn,
Gael y trecha ar vn gelyn.

---

†Ceisio. *Gweddi wrth wisco am danad, yn † canlyn Arfogaeth Duw i'th cadw rhag gelyniaeth a phechod.*

*Arfau. GWisc dy * Armwr oll am danaf,
O fyng Heidwad galluoccaf,
Fel y gallwyf megis Cristion,
Ymladd yndynt â'm gelynion.

Nâd o'm coryn hyd fyng wandde,
Vn rhyw aelod heb ei arfe,
Rhag fy nghlwyfo gan y Temptiwr,
Lle bo eisie vn rhyw armwr.

Nâd i'r byd a'i ofer bethau,
Nâd i'r cnawd a'i nwyfys chwantau,
Nâd i'r Diawl a'i rythreu Scymmyn,
Beri immi bechu'n d'erbyn.

Ond rho immi rym a chryfdwr,
I orchfygu pob gwrthnebwr,
Ac i ymladd dan dy faner,
Nes ym dygech i'th esmwythder.

Gweddi

### *Gweddi arall wrth wiſco dy ddillad.*

CHriſt fy nghraig am Iechydwriaeth,
Gwiſc am danaf dy Arfogaeth,
N d vn aelod heb ei wiſco,
Rhag ir gelyn fy anrheithio.

Gwiſc y Pen â helm y gobaith, 1 Theſſ. 5. 8.
Breſt â'r † goiſlet gyfiawn berffaith, Eph. 6: 14, 15.
Lwyne â gwregis gwir ddiſeirwch, †Dwyfronneg.
Traed â ſcidic efengyl heddwch.

Rho dy air yn gleddyf immi, Eph. 6. 16, 17.
Ffydd yn * ſwccler i ddiffoddi, *Tarian.
Holl biccellau tanllyd Satan,
A phrûdd weddi i ſefyll allan.

A rho rym fel milwr ffyddlon,
Im ryfela â'm gelynion,
Rhythreu Satan, chwantau cnawdol,
Twyll y bŷd, a phechod marwol.

A rho gymmorth i gorchfygu,
A'u daroſtwng a'u gwrthnebu,
Fel y gallwi byth d'addoli,
Megis plentyn ir goleuni.

Felly beunydd yn ddibryder,
Mi ryfelaf dan dy faner,
Ac y roddaf itti foliant,
O fy Nuw tra ynnwi chwythiant.

Rhybydd

## *Rhybydd wrth ymolchi.*

PAn yr elech i ymolchi,
Cais yn daer gan Dduw trwy weddi,
Olchi d'enaid oddiwrth bechod,
A'i lanhau â gwaed y cymmod.

Nid wyt nes er dwr yr Afon,
I olchi 'r cnawd oddwrth amrhyddion,
Nes y golchech dy gydwybod,
A gwaed Chriſt, oddiwrth dy bechod.

*Nid wyt nes er wyneb glân,*
*A chalon front, heb râs, heb rân:*
* Lan. *Ni fodlonir Duw yn lûr,*
*Ag wyneb glân, heb galon * glûr.*

## *Gweddi ſerr wrth ymolchi.*

GOlch ô Griſt â'th waed ſy mhechod,
Golch ſy enaid a'm cydwybod,
Golch ſy meddwl oddiwrth wegi,
Golch fi 'n llwyr oddiwrth ſy mrynti.

Golch ſy mhen, a'm traed, a'm calon,
Jo.13.5. Fel y golchaiſt d' Apoſtolion,
Sŷch â'r tywel main ſy mryntì,
A rho d'yſpryd ſanctaidd immi.

.hceZ13.1 Golch fi 'n neigreu gwîr ddifeirwch,
Datc.1.5. Golch fi 'n ffynnon grâs a heddwch,
Golch fi â'th waed mor wynn ar lili,
Fal y gallwi 'n bûr d'addoli.

Gwedd

*Gweddi foreuol, iw harferu (o ran y † sylwedd o honi) yn y man ar ôl codi ac ymolchi.* †matter.

DUw trugarog, Tâd tosturi,
Er mwyn Christ rho bardwn immi,
Am fy meiau oll am pechod, Psa. 40. 12
Sydd mewn rhif yn fwy nâ 'r tywod.

*Nid oes pwynt o'th holl gyfreithiau,*
*Nas trosseddais llwyr, gwae finnau,*
*Nac un dawn a roddaist immi,*
*Nas arferais ar ddrygioni.*

*Drwg fy nhûb, a gwaeth fy ngweithred,*
*Brwnt fy nhafod, maith fy hocced,*
*Poeth fy nattur, oer fy ngweddi,*
*Arglwydd maddeu 'r cwbwl immi.*

Maddeu 'r maint a wnaethoi 'n d'erbyn Psal. 25 7:
O bechodau er yn blentyn:
Ac na thywallt ar fy letty,
O'r dialau maent yn haeddu.

Ond rho râs a chymmorth immi,
O hyn allan dy addoli,
Ath wasnaethu mewn sancteiddrwydd,
Pûr uniondeb, ac onestrwydd.

Tynn bôb rhwystyr sydd i'm hatal,
I'th wasnaethu di mor ddyfal,
A rho * bwer yn ol hynny, *Gallu.
Immi 'n ddiflin dy wasnaethu.

Llwyr ddiwreiddia o'm calon ofer,
Yr holl frynti sum i'n arfer,
A gwir blanna yn eu cysle,
Râs a dawn tra chwyth i'm gene.

Dysc fi gadw dy orchmynion,
A'u gwir garu â'm holl galon,
A'u cymmeryd yn lle rheol,
I fyw wrthynt yn wastadol.

A chyfrwydda â'th lân yspryd,
Fi 'reoli fy holl fywyd,
A'm holl eiriau a'm amcanion,
Yn ol d'wllys a'th orchmynion.

Arglwydd, ffrwyna fi rhag pechu,
Byth yn d'erbyn mwy ond hynny,
A rho bwer immi 'n wastod,
Gael y trecha 'n erbyn pechod.

Helpa fi ryfela 'n erbyn,
Byd, a'r cnawd, a'r *cythrel* scymmyn:
Fal y gallwyf gael y goron,
A gorchfygu fy ngelynion.

Psal. 17. 8. Tanna droswi d'adain rasol,
Cûdd fi dani yn wastadol,
Nâd vn gelyn wneuthur niweid,
Mewn un modd im corph na'm heneid.

Cadw fi rhag cwrp a thramcwydd,
Cwilydd, colledd, a-ap, aflwydd,
Nychdod, niwed, a'r fâth hynny,
Or bydd d'wllys yn cenhadu.

Nertha fi â'th yspryd sanctaidd,
1 Thess. 4. 11. Dreulio 'r dydd hwn yn gristnogaidd,
Trwy gymmeryd poen im galwad,
† *Pryssur.* I'th wasnaethu 'n † brûdd yn wastad.

☞ *Pâr i'm dreulio 'r dydd presennol,*
*Mor ddeallus ac mor ddeddfol,*
† *Siccra.* *A pha gwypwn ar y † suwra,*
*Mae 'r dydd hwn yw'r dydd diwetha.*

Nâd

Nâd fi oedi gwella 'muchedd,
O ddydd i ddydd hyd fy niwedd :
*Ond tra heddyw byth yn para,* Heb.3.7.8
*Pâr yn ddyfal immi wella,*

Nâd i'r cnawd rhyfygus, embaid,
Beri immi ddamnio 'r enaid,
A'i roi boeni yn dragwyddol,
Am dippyn bach o blesser cnawdol.

Nâd i wagedd y bŷd ymma, Preg.1.2
Rhwn fel llwyd-rew a ddifflanna;
Beri im golli gwir lawenydd,
A mawr fraint y bŷd na dderfydd.

Tra fo 'r dydd a'r goleu 'n para, Jo.12.35.
Par im weithio ar yr eitha,
Y peth a berthyn at fy * Iechyd, ** Iechydwriaeth.*
Rhag i'r nôs fyng orddiweddyd.

Pâr im fôd bôb awr yn barod,
Ag oyl im lamp, a'm goleu 'n gwarchod
* Dwad Christ im gwawdd i'r neithior, **Dyfodiad*
Tra fo'r nêf a'r porth yn agor.

*Pan bwi siccra yn y carn,*
*Pâr im feddwl am dy farn,*
*A'r dydd dû y gorfydd atteb,*
*Ar y * barr am bôb ffolineb.* **O flaen yr orseddfaingc.*

Gwna im feddwl am y cyfri,
Orfydd arnom bawb i roddi, Mat.12.36
Am y pechod lleia wneler,
Hyd yn oed ein geiriau ofer.

Croesa 'nawr y maes o'th lyfyr,
Yr holl frynti fûm i 'n wneuthur ;
Ac na thafla yn fy nannedd,
Ddydd y farn o'm câs anwiredd.

Maddeu 'n awr yr holl dalentau,
S' arna i o ddyled yn dy lyfrau ;
†Ddeleua, gossod allan A llwyr † flotta â gwaed Iesu,
'R hatling eitha s'arna i dalu.

Gwedi maddeu 'r cwbwl ymma,
Nertha fi ddiweddu 'ngyrfa,
Fel y gallo f'enaid orphwys,
Gydâ Christ yng lân Baradwys.

Lle câf gydâ 'r holl Angelion,
†Ammeu. A llû 'r nef heb † ddowt nac ofon,
Psal. 16. 11 Dy foliannu trwy lawenydd,
Mewn dedwyddwch yn dragywydd. *Amen.*

---

*Rhybydd i ymgadw tra fo 'r dydd, rhag Rhythreu'r Byd, y cnawd, a'r Cytbrael, ac i wisco, ac arferu Arfogaeth Duw yn eu herbyn.*

YN y man yn ôl it godi,
Cofia fôd tri Gelyn itti,
*Anafu. Rhai amcanant dy * andwyo,
Oni ymgedwi rhag dy dwyllo.

A'r vn gwanna o'n gelynion,
Sydd gan cryfach nag vn Christion,
Oni chawn ni gan Grist Iesu,
Nerth ac arfau iw gorchfygu.

Llef gan hynny. ar dy Brynwr,
* Dy daclu Dy * ffwrneisio megis Milwr,
Ai Arfogaeth ac â chalon,
I orchfygu dy elynion.

## *Yr Arfogaeth yſprydol a ddlye bôb gwir griſtion ei gwiſco a'i barſeru.*

GWiſc dy Ben a helm Chriſtnogaeth, Ephes 6.
† Gobaith cryf am Iechydwriaeth, † *Ond hydded gennit ſail am dy obaith.*
Nâd ir ſarph na'r Diawl dy glwyfo,
Ar dy ben trwy Anobeithio.

Gwiſc gyfiawnder am dy ddwyfron,
Ni all Diawl â * dwbwl canon, *Dryll-mawr.
Wneuthur byth na drwg na niwed,
Ir rhai wiſco 'r Cyfryw Gorſled.

Rhwym dy ganol â gwirionedd,
Na ragreithia yn dy fuchedd :
Hardd, a chryf, a chryno odieith,
Ydyw gwregis gwir di-ragreith.

Gwiſc dy draed â ſcidiau 'r fengyl,
Bydd ddioddefgar ym-mhob treigyl :
*Cans trwy oddef llawer trallod,*
*Y mae mynd i lys y Drindod.* Act. 14. 22.

Cymmer fywiol ffydd yn † fwccler, *Tarian.
Derbyn frath a ſaethau 'r wiber :
Bywiol ffydd yn Ghriſt a all,
Ddiffodd tanllyd ſaethau 'r fall.

Cymmer awchlym gleddau 'r yſpryd,
Grymmus Air y Scrythur hyfryd ;
Dyna 'r cleddyf llymm ei lafan,
Sy 'n rhoi * ffwyl â chlwyf i Satan. *Ffoad.

Cadw Arfau Duw yn † waſtad, †*Waſtadol. Cadw 'r Arfau bob amſer am danad.*
Cymain un bôb awr am-danad,
Nâd ûn pryd dy ddala hebddyn,
Rhag dy glwyfo gan y gelyn.

A gweddia ar y Drindod,
Am gael grym a grâs i orfod,
Y tri gelyn hyn yn waſtad,
I waſnaethu Duw yn d'alwad,

*Mor enbyd yw bod heb arfau Duw*

Os cwrdd *Satan* â ni 'n noethion,
Heb Arfogaeth Duw am danon:
Mae ê 'n chwareu 'n dôſt â hwnnw,
Sydd heb Armwr gantho ymgadw.

*Os bydd pen heb Helmet ddilys,*
** Breſt heb bais, na lwyn heb wregys,*
*Troed heb eſcyd, llaw heb gledde,*
*Sarph a'n clwyfa, gwnawn ein gore.*

**Dwyfron.*

Bydd gan hynny megis milwr,
Yn dy gylch bôb awr a'th Armwr,
Ym-mhob mann yn dyfal wilio,
Rhag i'r Gelyn dy anrheithio.

## *Rhybydd i ddyn ymgadw ym mhôb lle rhag rhwydeu Satan.*

PAn yr elech gynta allan,
Gwachel ddirgel rwydau *Satan*,
Rhwn ſy'n ceiſio dy ſachellu,
Ar bôb cam a'th hela i bechu.

Mae ê'n ſawr ei lîd a'i hocced,
Mwy ei dwyll nâ'i rym, er cryſed,
Mae ſel llew yn troi o bobtu,
Ddydd a nôs yn ceiſio 'n llyngcu.

*† Hocced Sarph, llidiawgrwydd Gwiber,*
*Cryſder llew, ffyrnigrwydd Teiger,*
*Awydd Blaidd, Bradwriaeth cadno,*
*Sydd gan Satan lle tramwyo,*

*† Dichell.*

Nid yw 'n cyfcu, nid yw 'n gorphwys,
Nôs na dydd er pan ei cwympwys,
Ond amcanu lladd a mwrddro,
Am ei chwyth pwy bynnag allo.

Bydd gan hynny ar dy † wachel, †Wiliadwriaeth.
Ym-mhob mann rhag rhwyd y cythrel:
Cais gan Ghrift bôb awr dy helpu;
Chrift a'th nertha ei orchfygu.

---

*Gweddi yn erbyn temptiad a Rhythrau Satan.*

PОrthor mawr y pwll di-waelod,
Ceidwad drwfleu vffern iffod,
Rhwymwr Satan, llyngcwr angeu,
Clyw fy ngwaedd o'th nefol artreu.

Y mae Satan rhwn orchfygaift,
A'r ddraig waedlyd rhon a rwymaift,
Yn amcanu fy † andwyo, †Anafu.
Oni chaf dy help i ffrwyno.

Mae ef nos a dydd heb Gyfcu, 1 Pet. 5. 8.
Megis llew yn ceifio'm llyngcu,
Ac yn barod i'm † defowro, † Difa.
Oni chedwi di fi rhagddo.

Mae e'n tannu ei groglathau,
Ddydd a nos ar draws fy llwybrau,
Nid oes llun na fyrthiwyf ynddynt,
Oni chedwi di fi rhagddynt.

Nid oes afal têg gwarddedig,
Na bo beunydd yn ei gynnig,
Nac vn pechod na bo e'n ceifio,
Genni wneuthur ith lwyr ddigio:

Nid oes twrn da ſwi'n amcanu,
Na bo'r ddraig yn ceiſio ei nadu,
*Rhwyſtro Ac yn * dyor yn rhi ſynych,
Y gwaith goreu ſwi 'n ei chwennych.

Ni cha'i ſwytta pryd o fara,
Ni cha'i gyſcu mewn eſmwythdra,
Ni cha'i yfed draucht o ddiod,
Na boe 'n ceiſio ei droi'n bechod.

*Ni cha'i ddwedyd gair o'm gene,*
*Na gweddio ar fy nglinie,*
*Na bo Satan yn amcanu,*
*Wrth weddio beri'm bechu.*

Pan bo mwya chwant fy nghalon,
Ith waſnaethu (*Chriſt*) yn ffyddlon,
Dyna'r pryd y cais fy rhwyſtro,
*Dichell. A'r holl * gwning a fo gantho.

A phyt ſaet ti 'n gadel iddo,
Redeg arnai heb ei ffrwyno,
Gwn na byddei well fy nrheigil,
Nag oedd dien *Job* a'i eppil.

Arglwydd, gwêl ei waedlyd ſwriad,
*Lleiha. * Tola ei falchder, torr ei ruad,
Rhwym ei ferr, byrhâ ei gadwyn,
†Attal. Shiga ei ſhol, a † ſtoppa ei wenwyn.

Tydi *Ghriſt* ſy'n rhwymo 'r wiber,
Luc. 11. 22 Ti ſy a'r gadwyn am ei ddwyfer,
Tydi ſpeiliodd o'i holl arfau,
Tydi gadwodd ein eneidiau.

†Arfogaeth Gwiſc dy † armwr oll am danom,
Dôd dy rymmus yſpryd ynnom,
Dyſc ein dwylaw i ryfela,
Nâd ith weiſion gael y gwaetha,

Nâd

Nâd O Ghrist ir Sarph ein twyllo,
Nâd ir wiber ein handwyo,
Nâd ir llew ein lladd na'n llyngcu,
Nâd ir gelyn ein gorchfygu.

*Gwann ym ni, a chryf yw ynte,*
*Can-mil cryfach Christ wyt tithe,*
*Nertha'n gwendid trwy dy gryfdwr,*
*I orchfygu ein gwrthnebwr.*

*Call yw 'r Sarph, a dwl ym ninne,*
*Doeth yw 'r ddraig, a llawn bachelle,*
*Oni helpu di ni 'n Prynwr,*
*Aiff dy bridwerth gan y Bradwr.*

*Gwna ni 'n ddoeth i weld ei rwydau,* * *Synhwyrol.*
* *Ffel i wechlyd i groglathau,*
*Cryf i* † *wrthladd ei ddichellion,* † *Wrthwynebu.*
*Câll i wrthod ei gynnigion.*

Arglwydd edrych ar dy weision,
Nertha 'th frodyr gael y Goron,
Helpa bawb sydd dan dy faner,
Ddwyn eu croes a throedo 'r wiber.

---

## *Cynghorion yn erbyn profedigaethau Satan.*

OS * promeisa Satan itti, * *Addaw.*
Dai a thiroedd am ei addoli :
Dywaid nad oes troedfedd fychan,
Ond pwll uffern gantho ei hunan.

Os bydd Satan yn dy annog,
I halogi gwraig cymmydog :
Dywaid fod dialau 'n barod,
A barn Duw am gyfryw bechod. Heb. 13.4. Datc. 21.8

Os

Os cais Satan genyd feddwi,
* Yfed. A * charowso gwin yn wisci :
1 Cor. 6. Dywaid yr â 'r holl rai meddwon,
9, 10. Ddydd y farn ir tân a'r brimston.

Os cais Satan genyd dyngu,
Zech. 5. Cîg a gwaed yr Arglwydd Iesu :
2,3,4. Dywaid nad oes vn rhyw bechod,
Heb. 10.29 Waeth nâ chablu gwaed y cymmod.

Exod. 22. Os cais Satan genyd dreiso,
22,23,24. Y rhai tlodion a'u handwyo :
Psa. 68.5. Dywaid nad gwaeth pigo llygaid
Christ ei hun, nâ threiso ymddifaid.

Os cais genyd wneuthur salstedd,
Ac vdonaeth ac anwiredd :
Mal. 3.5. Dywaid fôd Duw 'r Barnwr cysion,
Jer. 17.1. Yn ei preinto ar dy galon.

*Os cais genyd mewn dirgelwch,*
Job 34. *Weithio gweithred y tywyllwch* :
21,22. *Dywaid fôd Duw â saith llygad,*
Heb. 4.13. *Ym-mhob mann yn edrych arnad.*

Dih. 17.5. Os cais Satan genyd gablu,
Dy gyd-gristion gwedi nasu,
Mae e'n ceisio megis bradwr,
Genyd gablu dy Greawdwr.

Datc. 21.8 Os cais genyd ddwedyd celwydd,
Mae 'n amcanu yn ddigwilydd,
Ladd a dwyn dy enaid gwirion,
Ir pwll poeth o'r tân a'r Brimston.

Os cais gennyd wan-obeitho,
* Edifarv. Am drugaredd, er * repento,
Mae 'n ei fryd dy ddwyn ir deyrnas,
Ir aeth *Cain*, a *Saul*, a *Suddas*.

Os cais Satan gâs dy rwystro,
I dŷ Dduw, y mae 'n dymuno,
Dy droi 'maes o'r nêf yn ddirgel,
Eisie addoli Duw 'n ei demel.

Os cais 'genyd droi dy wegil, Rhuf. 1. 16
Pan pregethir yr efengyl, Rhuf. 10 17
Mae e'n ceisio dy † ddehoryd, †*Rwystro.*
Rhag cael Profi pren y bywyd.

Os cais Satan genyd gyscu,
Yn yr eglwys wrth wasnaethu,
Mae e'n ceisio genyd * foccian *Gwatwor
Duw 'n ei lŷs ai dŷ ei hunan.

*Gwachel gyscu wrth weddio,*
*Gwaeth nâ 'r diawl yw'r dyn y foccio*
*Duw 'n ei demel, ar awr weddi,*
*Ar ei lin yn rhith addoli.*

Os cais genyd fynych arfer,
Oedi bwytta 'r sanctaidd swpper,
Wrth dy ddyor ir Comuniwn, 1Cor. 10 16
Mae 'n dwyn ymaith * Sêl dy bardwn. **mae'r Sacrament yn sêl o faddeuant ir derbynwr teilwng: ond barnedigaeth mae 'r annuwiol yn bwytta ac yn yfed iddynt eu hun* 1Cor. 11. 29.

Os cais genyd lwyr anghofio,
'R fengyl sanctaidd gwedi gwrando,
Mae e'n ceisio dwyn o'th galon,
Hâd y gâir â'th wnele 'n griston. *Luc.* 8. 12.

Os caiff genyd fôd yn fodlon,
Ddwyn heb sylw enw criston,
Fe wnae felly yn ddiogel,
Wâs i Ghrist, yn wâs i gythrel.

Os cais genyd ti broffesso,
Ffydd heb weithred yn cydweitho, Jac. 2. 14. 17
Mae 'n dy dwyllo trwy ffydd farw, **Hyderu.*
Drysto ir ffydd ni all dy gadw.

Os

Os cais genyd ti ddihirio,
*Awr angeu. Ediſeirwch nes * departo,
Preg. 9. 10 Mae 'n dy rwyſtro geiſio ffafar
Duw, nes eloi 'n rhy ddiweddar.

Ni âd Satan vn rhyw bechod,
Nad amcana gael dy orfod:
Ni âd garreg heb ei threiglo,
Nes y paro it dramcwyddo.

*Bydd bob amſer ar dy wachel,*
*Nôs a dydd y rhodia 'r Cythrel,*
2 Cor. 2. 11. *Nid oes mann nad yw e'n tannu,*
*Ei groglathen i'n bachellu.*

*Yn yr Eglwys, yn y berllan,*
*Yn y ſhiop, ac oddiallan,*
*Ar y ford ac yn y gwely,*
*Y cais Satan dy fachellu.*

*Bydd gan hynny megis milwr,*
*Arfau. *Yn dy gylch bob awr a'th * armwr,*
*Ym-mhob mann yn dyfal wilio,*
*Rhag i Satan dy andwyo.*

## *Rhybydd i wachelyd rhwydau Satan ym-mhôb oedran.*

*GWae 'r dyn a fo gwyllt yn blentyn,*
*Glwth yn llange, a charl yn gleirchyn,*
*Hwnnw draulwys ei holl oedran,*
*Ym-mhob oês wrth 'wllys Satan.*

Gwachel fenaid rwydau Satan,
I'th fachellu ym-mhob oedran,
Ar bôb llwybyr fe amcana,
A rhyw groglaeth gael dy ddala.

*Yn dy ieungctid fe gais genyd,*
*Dreulio d' amser yn * ddi-broffid,* *Ddisudd.
*Mewn pibiaeth ac oferedd,*
*Heb na dysc, na dawn, na rhinwedd.*

Yn d'wroldeb , fe braw'th dynnu,
I * garowso a gordderchu, *Tmysed.
Ac i nyrddo dy lân lester,
A drythyllwch * a diffeithder. †Nwyfiant

Yn dy henaint, fe braw'th rwystro, * Edifaru.
Droi at Dduw trwy wir * repento,
Ac y dry dy fryd yn benna,
At fydolrwydd a chybydd-dra.

Prawf gan hynny ym-mhob oedran, Preg. 12. 1.
Lwyr ymgadw rhag twyll Satan,
Rhwn y gais dy gyfyrgolli,
Trwy 'r peth mwya fech yn hoffi.

## *Cynghor i ddyfal weddio, ar bôb achos ac ym-mhob gorchwyl.*

ER fy mendith nac anghofia, Psa. 55 17.
Dair gwaith beunydd ar y lleia,
Brûdd weddio ar dy ddaulin,
O flaen Duw dy dâd a'th Frenin.

Cyn mynd allan y boreu-ddydd,
Cyn ciniawa y cenol-ddydd,
Cyn fwperu, o gweddia,
'R tri phrŷd hyn, yn ddifceulusdra.

Côd dy ddwylo i weddio,
Cyn goftwngech law i weithio: Eph. 6. 18
Cais gan Dduw fendithio d'orchwyl,
Cyn y delych yn ei gyfyl.

Os cais genyd ti ddihirio,
*Awr angeu. Editeirwch nes * departo,
Mae 'n dy rwystro geisio ffafar
Preg.9.10 Duw, nes eloi 'n rhy ddiweddar.

Ni âd Satan vn rhyw bechod,
Nad amcana gael dy orsod :
Ni âd garreg heb ei threiglo,
Nes y paro it dramcwyddo.

*Bydd bob amser ar dy wachel,*
*Nôs a dydd y rhodia 'r Cythrel,*
2Cor.2.11. *Nid oes mann nad yw e'n tannu,*
*Ei groglathen i'n bachellu.*

*Yn yr Eglwys, yn y berllan,*
*Yn y shiop, ac oddiallan,*
*Ar y ford ac yn y gwely,*
*Y cais Satan dy fachellu.*

*Bydd gan hynny megis milwr,*
*Arfau. *Yn dy gylch bob awr a'th * armwr,*
*Ym-mhob mann yn dyfal wilio,*
*Rhag i Satan dy andwyo.*

## *Rhybydd i wachelyd rhwydau Satan ym-mhôb oedran.*

*GWae 'r dyn a fo gwyllt yn blentyn,*
*Glwth yn llange, a charl yn gleirchyn,*
*Hwnnw draulwys ei holl oedran,*
*Ym-mhob oês wrth 'wllys Satan.*

Gwachel fenaid rwydau Satan,
I'th fachellu ym-mhob oedran,
Ar bôb llwybyr fe amcana,
A rhyw groglaeth gael dy ddala.

*Yn dy ieungctid fe gais genyd,*
*Dreulio d' amser yn * ddi-broffid,* *Ddifudd.
*Mewn pibiaeth ac oferedd,*
*Heb na dysc, na dawn, na'rhinwedd.*

Yn d'wroldeb, fe braw'th dynnu,
I * garowso a gordderchu, *Ymysed.
Ac i nyrddo dy lân lester,
A drythyllwch * a diffeithder. †Nwyfiant

Yn dy henaint, fe braw'th rwystro, * Edifaru.
Droi at Dduw trwy wir * repento,
Ac y dry dy fryd yn benna,
At fydolrwydd a chybydd-dra.

Prawf gan hynny ym-mhob oedran, Preg. 12. 1.
Lwyr ymgadw rhag twyll Satan,
Rhwn y gais dy gyfyrgolli,
Trwy 'r peth mwya sech yn hoffi.

## *Cynghor i ddyfal weddio, ar bôb achos ac ym-mhob gorchwyl.*

ER fy mendith nac anghofia, Psa. 55 17.
Dair gwaith beunydd ar y lleia,
Brûdd weddio ar dy ddaulin,
O flaen Duw dy dâd a'th Frenin.

Cyn mynd allan y boreu-ddydd,
Cyn ciniawa y cenol-ddydd,
Cyn swperu, o gweddia,
'R tri phrŷd hyn, yn ddisceulusdra.

Côd dy ddwylo i weddio,
Cyn gostwngech law i weithio: Eph. 6. 18
Cais gan Dduw fendithio d'orchwyl,
Cyn y delych yn ei gyfyl.

Ac

1 Theſſ.5. 17. *Ac wrth wneuthur dy orchwylion,*
*Arfer brûdd weddiau byrron,*
1 Tim 2.8 A bydd † eiriol yn dy weddi,
† *Ymbil* Ar i Dduw roi cymmorth itti.

*Os bydd trwm-waith a ffrwſt arnad,*
*Or bydd trafferth ar ddydd marchnad,*
☞ *Gwybydd ( f'enaid ) a gwna gweddi,*
*Fwy o lês nâ rhwſtyr itti.*

* *Achoſion.* *Er bod * buſnes fawr gan* Ddaniel,
*Yn y Cwrt dan Frenin Babel,*
Dan.6 10. *Tair gwaith beunydd y gweddie,*
*Yn ei ſtafell ar ei linie.*

Er bod Dafydd yn rhyfelwr,
Ac mewn trafferth mwy nag vn-gwr,
Pſal.119. 164. Etto er hynny, ſaith waith beunydd,
Y gweddie Frenin Dafydd'

*Joſhua* rymmus y weddie,
* *Yr ymladdfa.* Yn y * frwydyr, ac ymladde,
Joſ.10 12, 13,14. R'oedd ê â'i galon yn gweddio,
Ac yn ymladd â'i ddwy-ddwylo.

Nid oedd gweddi 'rhain yn rhwyſtyr,
Ar vn gorchwyl faent yn wneuthur,
Ond rhwyddhau a llwyr fendithio
Pob rhyw waith y wneleu dwylo.

Arfer dithe weddi hyfryd,
Ym-mhob gorchwyl y fo genyd:
Pſa.34.10. Di gei weled y gwna gweddi,
* *Cyſur.* Rwydd-deb mawr a * chynffordd itti.

F'all dŷn weithio ei gelfyddyd.
A gweddio 'n ddyfal hefyd:
Ni chais gweddi 'r galon rwyſtro,
Hynt y traed, na gwaith y dwylo.

F'all

F' all yr hwsman, f'all y geilwad,
Alw ar Dduw, a dala 'r arad,
Fel y gallant ddwedyd ffregod,
Wrth yr ychen ar nifeilod,

F'all Trafaelwyr ganu psalmau,
A gweddio ar ei shiwrnau,
Fel y gallant ganu maswedd,
A chwedleua am oferedd.

F'all y Cryddion, F'all y Taelwyr,
Foli Duw a chwhare 'r crefftwyr,
Gan roi ei breiche i ddyfal weithio,
A'u calonnau i weddio.

F'all y gwragedd hên wrth nyddu,
F'all y merched wrth sidanu, Exod. 14.
F' all pawb ddilyn eu celfyddyd, 15.
A gweddio 'n ddyfal hefyd. Jos. 10. 12
13, 14.
F'alle Foysen wrth shiwrneia, Mat. 1. 35.
F'alle *Joshua* wrth ryfela, Act. 27. 23
Christ wrth ymdaith, Paul wrth forio, 35.
† Dendo ei * busnes a gweddio. † wneuthur
* gorchwylion.

Nid oes dim y † ddirper rhwystro, † Ddyle.
Dŷn gwllysgar i weddio,
Ac i weithio ei orchwyl hefyd,
Pa ryw bynnag fo'i gelfyddyd.

Christ sy'n erchi bawb weddio, Luc. 18 1
Ar bôb amser heb ddeffygio, 1 Tim. 2. 8
A Saint *Paul* sy'n erchi inni,
Ym-mhob mann ymarfer gweddi.

Yn ein trallod, yn ein gwynfyd,
Yn ein nychdod, yn ein iechyd,
Y mae inni brûdd weddio,
Ym-mha gyflwr y bom yndo.

Ar

Ar y moroedd, ar y mynydd,
1 Tim. 2.8 Yn ein Teiau, ar y maesydd,
† *Ydylem ni.* Y † dirpere i'n weddio,
Ym-mha fan y b'om ni yndo.

Act. 10.6,9 Gydâ *Pheder* yn ein llettu,
Ps. 139.18. Gydâ *Dafydd* yn ein gwely,
Psal. 63.6. Gydâ *Daniel* yn ein trallod,
Dan. 6.10. Y mae in' weddio 'n wastod.

Exod. 17. 9,11,12. Gydâ *Moysen* ar y mynydd,
Gydag *Isaac* ar y maesydd,
*Gen.* 24.63 Gydag *Ifan* yn yr *Eglwys*,
Act. 3. 1. Y mae gweddi yn dra chymmwys.

Ym-mhôb mann, ac ar bob amser,
Y mae gweddi yn ei themper,
Jer. 29.13. Os y galon y sydd parod,
I weddio ar y Drindod.

## *Cyngbor duwiol i bôb gradd i ddilyn cyn myned at eu gorchwylion.*

Cyn yr elech ir drws allan,
At vn gorchwyl, mawr na bychan,
Cais gan Dduw dy brûdd fendithio,
† *Bendith.* A rhoi † rhâd ar waith dy ddwylo.

Duw sy'n rhoddi rhâd a llwyddiant,
* *Dedwyddwch.* Duw sy'n danfon * ffawd a ffyniant:
*Lle'i cyfarcher fe ry fendith,*
*Lle'i Angbofier fe ddaw 'r felldith.*

Cais ei yspryd i'th gyfrwyddo,
Cais ei râs i'th gynnorthwyo,
Cais ei fendith ar bôb gweithred,
Felly daw it râd o'i barthed.

*Dechre*

*Dechre 'r gwaith yn enw'r Iesu,* 1Cor. 10. 31.
*Cais ei gyfnerth i ddibennu:*
*Yn ei ddiwedd cais ei ogoniant,*
*Felly cae o'th weithred ffyniant.*

Fel y llwyddodd Duw orchwylion
*Joseph* gynt, a *Daniel* ffyddlon,
Felly llwydda d'orchwyl dithe,
Os gweddii arno 'n ddie.

Oni wnai dy weddi 'n addas,
Di gae adail bwth fel *Jonas*,
A physcotta megis *Peder*,
Ac heb ddala dim vn amser. *Luc 5 5.

Di gae * dwttan a thrafaelu, *Bod yn ddiorphwys.
Ac ymrwyfan a thrafferthu,
Ddydd a nôs a phoeni 'n ofer;
Heb fôd dim yn well vn amser.

Ofer codi ar y wawr-ddydd,
Ofer bwytta bara cystydd,
Ofer gwiliad hir nos aia,
Os yr Arglwydd ni'n bendithia.

Ofer adail Teieu newydd,
Ofer cadw caereu trefydd,
Ofer poeni trwy rymystra,
Os yr Arglwydd ni chydweithia.

Rhag i'th * Lafur fynd yn ofer, *Trafel.
O gweddia 'n brûdd bôb amser,
Ar i'r Arglwydd dy fendithio,
Felly ffynia gwaith dy ddwylo.

## *Cyngbor ir Hwſmon neu'r Llaſyrwr.*

CYn rhoi llaw ar gorn yr arad,
Côd dy ddwylo, ti ath eilwad,
At Dduw mawr am dy ſendithio,
A rhoi rhâd ar waith dy ddwylo.

Ofer hau a rhedig llawer,
Ofer llyfnu 'r maint y hauer,
Oni ddyry Duw ei ſendith,
Dan y gwys y pydra 'r gwenith.

Paſ. 104. 14 Dyn ſy'n hau, a Duw ſy'n hadu,
Duw ſy'n peri 'r llaſyr dyfu,
A dwyn ffrwytheu ar ei ganſed,
Ir ſawl ſyndo yn ymddiried.

'R vn a geiſio ffrwyth o'r ddaiar,
Rhâd a llwyddiant ar ei heinar,
Prûdd weddied ar yr Arglwydd,
Fe gaiff llwyddiant heb ddim aflwydd.

Gwell yw gweddi gydâg oged,
* *Yd.* I gael * llaſyr ar ei ganſed,
Nâ chwech arad ac ogedi,
Lle na byddo ſôn am weddi.

Gen. 24. Fe gai *Iſaac* wrth fyfyried,
63. 26. 12. Laſyr gan Dduw ar ei ganſed.
Pan bae eraill heb weddio,
† *Braidd.* † Prin yn cael y chweched gantho.

O gweddia dithe 'r Hwſmon,
Ar dy Dduw o ddyfnder calon,
Am roi rhâd ar waith dy ddwylo,
Felly cei di ddigon gantho.

## *Gweddi 'r Hwſmon.*

LLuniwr daiar, helpwr dynion,
Awdwr hadau 'r ddaiar ffrwythlon,
Rhoddwr glaw, Cynhyddwr † llaſyr, †*Yd.*
Gwrando weddi Hwſmon pryſſyr.

Rwi fi'n mynd i drîn y ddaiar,
Ac i hau yn hon fy heinar,
Heb gael gweled mwy o hano,
Oni roi dy ſendith arno.

Arglwydd ofer ydyw plannu,
Hau yn gyngan a gorlyſnu,
Oni pheri di 'ddo 'gino,
A rhoi rhâd a chynnydd arno.

Ni ddaw hedyn byth trwy 'r ddaiar,
O'r maint oll ſydd genni o heinar,
Oni pheri di 'ddo darddu,
Tyfu allan a chynyddu.

Rwi gan hynny 'n * begio 'n bryſſyr, *Deiſyf.
Duw dy ſendith ar fy llaſyr,
Fel y gallwi gael oddiwrtho,
Fôdd fel Chriſtion im *maintainio. *Cynral.

Agor im ffeneſtri 'r nefoedd,
Glawia ſendith ar fy nhiroedd,
Portha 'r hâd â braſder daiar,
A rho lwyddiant ar fy heinar.

Nâd ir nefoedd ſynd yn brês, Lev. 26. 18 19, 20.
Na 'r ddaer yn harn gan ormodd wrês,
Nâd ir meiſydd mawrion fethu,
Am ein lleſcedd yn d'wſnaethu.

Rho wrth fessur y glaw Cynnar,
†Tymmherus. Yn ei brŷd a'r glaw diweddar,
Hinon dempraidd, gwrês † cymmedrol,
Rhâd a llwyddiant, ar dy bobol.

*Pryfed. Amos 4.9 Gwardd y * locwst, gwardd y * lindis,
†Haidd. Gwardd y gwlith sy'n brychu 'r † barlis,
*mellden. Gwardd y gwrês a'r gwynt a'r * lluched,
Sydd yn peri 'r llafyr niwed.

Crona'r flwyddyn â daioni,
Tywallt frasder dy râd arni,
Gwisc y doleydd ôll â defaid,
A'n mynyddoedd â nifeiliaid.

†Rho. †Doro ymborth i blant dynion,
Doro wellt ir sgriblaid mudion,
Doro wîn ac olew 'n helaeth,
I ddiwallu d' etifeddiaeth.

Doro in gynhaiaf ffrwythlawn,
Rhâd o'r maesydd ac o'r fisgawn,
Hâd o'r ardd a ffrwyth o'r berllan,
Mel o'r graig, a llaeth o'r gorlan.

A bendithia waith ein dwylo,
Arglwydd grasol byth tra gantho,
Felly ni'th fendithiwn dithe,
Ar ein daulin nôs a bore.

---

## *Cynghor ir Trafaelwr.*

CYn y dodech droed mewn gwarthol,
Daith. Fynd i * shiwrneu anghenrheidiol,
Cais gan Dduw fendithio 'r shiwrneu,
A'th ddwyn eilchwaith yn iach adreu.

Cais

Cais ei Angel i'th gyfrwyddo,
Cais ei adain i'th * brotecto, *Amddiffyn.
Cais ei fendith ar dy shiwrneu,
Fe rwyddhâ dy holl negeseu.

Fel y helodd Duw ei Angel,
Gydâ Thobi yn ei drafel,
Felly hel ef heddyw, heno,
Help i bawb ag alwant arno. Psal. 50. 15

Dysc gan wâs y * Patriarch goreu, *Vcheldad.
Alw ar Dduw wrth fynd i'th shiwrneu,
Am fendithio dy amcanion; Gen 24. 12
Di gei † ffawd wrth fôdd dy galon. †Lwyddiant.

Oni cheisij ar dy linieu,
Gan fâb Duw rwyddhau dy shiwrneu,
Cei drafaelu ar yr ormes,
A dwad adre heb dy neges.

Gwell yw gweddi i Drafaelwr,
Nag yw'r gwîn yn amser sychdwr,
Gwell nâ chastell rhag y † lluched, † Mellden.
Gwell nâ dim rhag pôb drwg dynged.

Gwell yw gweddi i'th amddiffyn,
Wrth * shiwrneia rhag y gelyn, *ymdeithio
Nag vn cleddyf dûr na Phistol,
Carneu meirch na mil o bobol.

O gweddia dithe 'n wastod,
Wrth shiwrneia ar y Drindod:
Ac fe ddyry ei Angelion,
I'th rwyddhau wrth fôdd dy galon.

*Gweddi Trafaelwr.*

HElpwr pob trafaelwr ofnus,
Ceidwad crŷf pob gwann gofydus,
Gwrando 'n rasol o'th orseddfa,
Waedd trafaelwr wrth shiwrneia.

Arglwydd mae'n rhaid im drafaelu,
I wlâd bêll nad wi'n ei medru,
Ac ni wn a ddewai adre,
Oni lwyddi di fy shiwrne.

*Rheoli. Rhuf. 11. 36.
Tydi Arglwydd sydd yn * llywio,
Y byd hwn a'r maint sydd ynddo,
Fel na ddigwydd ond y fynnech,
Ir rhai annwyl ag a garech.

Rwi gan hynny 'n deisyf arnad,
O'th drugaredd ac o'th gariad,
Roi im rwydd-deb yn fy shiwrne,
Am dwyn yn iach lawen adre.

Danson d'Angel im cyfrwyddo,
*Amddiffyn.
Im cymfforddi am * protecto,
Im rhwyddhau yn fy negesse,
Am dwyn eilchwaith yn iach adre.

Tanna drosswi d'adain rasol,
Cudd fi deni yn wastadol,
Nâd vn gelyn wneuthur niwed,
Ar y ffordd im corph na'm hened.

Danfon Raphael dy anwyl-was,
Im rhwyddhau am dwyn o gwmpas,
Fel y helaist gydâ Thobi,
†Gofydi.
Iw rwyddhau o bôb † clamwri.

Bydd

Bydd o'm blaen fel niwl y boreu,
Bydd y nôs fel tanllwyth oleu,
Im cyfrwyddo, Christ dy hunan, Exod. 13. 21,22.
Megis Israel tua Chanaan.

Di gyfrwyddaist y gwyr doethion,
Gynt â'r seren ir ffordd vnion,
O! cyfrwydda felly finne,
Nes fy nwyn i ben fy shwrne.

Fel y cedwaist Dobi janga,
Rhag y pisc a fynnei ddisa,
Felly cadw finne 'n rasol,
Rhag pob perig yn ddihangol.

Cadw fi rhag rhwydau *Satan*,
Ai aelodau, pobol aflan,
A nâd iddynt wneuthur niwed,
Im na chwilydd, * stop, na cholled. *Rhwystyr

Nad y * Dwrw, nad y † llyched, *Tystes Taranau.
Nad y storom wneuthur niwed, †Mellt.
Nad ir follt na'r ddraig fy nrygu,
Nac vn * gormail fy ngorthrymmu. *Gorthrymder.

Cadw fi rhag bradeu lladron,
Perig dyfroedd a drwg ddynion,
Llettu anwir, bwydydd afiach,
Rhwystyr ffordd, a drwg gyfeillach.

Cwyn fy nghalon nertha f'yspryd,
Rhwyddhâ fy ffordd â'th gymmorth hyfryd,
Helpa 'ngheffil a'm cyfeillion,
Dwg ni dre wrth fôdd ein calon.

Rho di rwydd-deb yn ein * busnes, *Achosion.
Helpa bawb i gael ei neges,
Ag fy a meddwl onest gantho,
Fel y galom dy fendithio.

Arglwydd cadw ni rhag tramcwydd,
Cwilydd, colled, anap, aflwydd,
Nychdod, niwed, croes a dolyr,
Colli 'r ffordd a'r cyfryw rwystyr.

Arglwydd dwg ni yn iach lawen,
At ein ffryns i dre drachefen,
Fel y gallom dy glodfori,
Dydd a nôs am dan ein helpu.

---

## *Cyngor ir milwr.*

CYn yr elech i ryfela,
Dros y goron, oh! gweddia,
Ar Dduw 'r lluoedd am roi calon,
*Cyfarwydd-yd.* * Scil a grym ir milwr ffyddlon.

Psal. 144. 1, 2. Duw sy'n rhoddi grym a chryfdwr,
A chyfrwydd-deb i bôb milwr,
Scil ir bysedd i ryfela,
*Cyfodi'r pike.* * Tosso 'r Peic, a thynnu 'r bwa.

Exo. 15. 3 Duw y lluoedd sydd Ryfelwr,
Ac yn noddfa mewn cyfyngdwr:
Duw sy'n rhoddi 'r fuddugoliaeth,
Cais ei help, fe rhy yn helaeth.

Gwell yw gweddi mewn cyfyngdwr,
Wrth ryfela i bôb Sawdiwr,
*arfogaeth* Nag vn* harnais idd' amddiffyn,
†*Pladur.* Gwell nâ † Glaif i glwyfo 'r gelyn.

Exod. 17. 11. Mwy y laddodd dwylo *Moesen*,
Wrth eu dercha tua'r wybren,
Nag y lladdodd cledde *Josua*,
A holl *Israel* wrth ryfela.

*Jonathan* a'i weddi laddodd, 1 Sam.14.
O'r Philistiaid fwy o filoedd,
Nag y laddodd *Saul* â'r cledde,
A'i Ryfelwyr ôll, â'u harfe.

Chwyrnach ydoedd gweddi Dafydd, 1 Sam.17.
I droi 'r Cawr â'i dorr i fynydd,
Nâ'r holl gerrig aeth o'i goden,
Er eu glynu yn ei dalcen.

Hên *Elias* heb ddim arfe, 2 Bren. 1.
Ond ei weddi y ddifethe,
Ddau Ben-capten a'u Cwmpeini,
Beth fydd gryfach nag yw gweddi?

Cryfach ydoedd gweddi Judith,
Nâ'r holl welydd cedyrn arych,
I ymddiffyn tre Bethuwlia,
Rhag *Holpbernes* idd ei difa.

Arfer dithe brudd weddio,
Wrth ryfela â'th ddwy ddwylo,
Fel arferodd dewr-wych *Josua*,
Di gei lwyddiant wrth ryfela.

Dôd dy ddwylaw i filwrio,
Dôd dy galon i weddio,
Di gei weled y gwna gweddi,
Fwy nâ dwylaw o † orhydri. †*Gwrolder*

---

## *Gweddi 'r Milwr.*

ARglwydd grymmus * Llywydd lluoedd, **Rheolwr*
Pen Rheolwr pôb rhyfeloedd,
Vnig roddwr buddugoliaeth,
Gwrando ngweddi o 'm milwriaeth.

Rym

Rym ni ymma ym-mhlaid y goron,
†*Tywysog.* A'n † Prins, a'n gwlad, a'n da a'n dynion;
Yn rhyfela â gwir dîras,
Sy'n amcanu treisio 'r Deyrnas.

Duw gwradwydda eu amcanion,
A'u bwriadeu a'u dichellion;
Tola ei balchder, torr ei crysdwr,
Dofa ei hawch, gostega ei cynnwr.

Nertha ninne dy wael weision,
Chware 'r gwŷr ym-mhlaid y Goron,
A rho inni rym a gallu,
Eu concwero a'u gorchfygu.

Arglwydd grassol cwyn ein calon,
Ymladd drossom â'n gelynion,
Hel dy fraw a'th ofon arnynt,
* *Cwymp.* Doro * ffwyl a gwradwydd iddynt.

Er nad ydym ymma ond gronyn,
Ir fâth nifer sydd i'n herbyn,
Etto rym yn ddigon grymmys,
Os tydi a fydd o'n hystlys.

†*Nerth.* Arglwydd gwynn, nid llai dy † bwer,
1 Sam. 14. 6 Mewn ychydig nag mewn llawer,
Os mewn gwendid rwyt fynycha,
Yn mynegi d'allu mwya.

Barn. 7. Peraist gynt i *Gedeon* ddifa,
Ef a thrychant o'r gwyr gwanna,
Lû aneirif o'r Midianiaid,
Oedd cyn amled a'r locustiaid.

* *Yr hwn oedd yn dwyn ei arfau ef.* *Jonathan* ai * glydydd arfe,
Helodd miloedd i droi cefne:
Pan y helaist ofon arnyn,
Pwy a feiddie droi yn d'erbyn?

Rhoddaist

Rhoddaist rym i *Samgar* fraybi, Barn. 3. 31
Chwechan gwr a'u lladd a'r † ierthi, † *Irai.*
Ac i *Samson* 'ladd heb orphen,
Fil o wŷr â gên yr assen. Barn. 15. 15.

Di ddifethaist trwy law gwreigin,
Ben tywyssog Brenin *Jabin*,
Ac a wnaethost ir planede,
Ymladd drossot yn eu gradde. Barn. 4. 21 5. 20.

Gelli Arglwydd mawr os mynny,
Roi i ninne rym a gallu,
I orchfygu ein gelynion,
Er nad ym ond milwyr gweinion.

Os tydi a fydd o'n hochor,
Nef a daiar, dwr a chenfor,
Haul a lloer, a gwynt ystormys,
A ryfelant ar ein hystlys.

Arglwydd mawr or byddi o'n hystlys,
Pet fae'r *Twrc*, a'r *Pâb a'r Spanis*,
A holl uffern yn ein herbyn,
Ni roem ddim o'r garrai erddyn.

Tydi 'n vnig sydd Ryfelwr,
Gennit ti mae * scil a chryfdwr : * *Meder.*
Ti sydd roddwr buddugoliaeth,
Ti sy 'n achub rhag marwolaeth.

Ti sy'n peri 'r rhyfel beido,
Ti sy'n torri 'r * spêr yn † ysflo, * *Gwayw-ffon.* † *Yn ddarnau.*
Ti sy'n rhoddi 'r march i gyscu,
Ti yn vnig sy'n gorchfygu.

Doro gomffordd i'n calonnau,
Doro gryfder yn ein breichiau,
Doro scil i'n bawb ryfela,
Megis milwyr ir goruwcha.

Gwna

Gwna 'r capteniaid megis *Josua*,
Ymwroli i ryfela,
A bydd gydâ rhain dy hunan,
*Bwriad. I gyfrwyddo ei * plot a'i hamcan.

†*Rho.* † Doro galon ym-mhob milwr,
Deall, Dewrder, fcil a chryfdwr,
‖*Hy.* Gallu, gwllys, hyder ‖ eon,
†*Gwrthwynebu.* I † gonffronto ein gelynion.

Dôd d' Angelion i'n caftellu,
Rhag pob gelyn tra ni 'n cyfcu,
A dôd lû o'th filwyr penna,
I'n cyfnerthu wrth ryfela.

Bydd dy hun yn difgwyl arnom,
*Rheoli. Ac yn * llywio 'r hyn a wnelom,
Nad in wneuthur yn wrthnebys,
Ddim yn erbyn dy lan 'wllys.

Gwna ni 'n gywir bawb i'n Brenin,
Gwna ni 'n ffyddlon ir cyffredin,
Gwna ni 'n ufydd i'n rheolwyr,
Ac heddychlon â'n lletteuwyr.

Luc. 3. 14. Gwna ni'n foddlon bawb i'n cyflog,
Nâd in fpeilio un cymmydog,
*Gorthrymmu. Na * gormeilio mawr na bychan,
Ond byw 'n weddus yn dy ofan.

Nâd i'n ddilyn afreolaeth,
Na chynhennu mewn cwmpniaeth,
Nac ymdynnu â'n Captenni,
Na byw 'n aflan mewn drygioni.

Nâd in dreifio gwraig na morwyn,
Nac anrheithio un dyn addfwyn,
Rhag i'th lîd gyfodi 'n herbyn,
A'n troi bawb tan ddwylo'r gelyn.

Gwna ni bawb yng hanol rhyfel,
Fyw fel pobol yn dy demel,
A fae bôb yr awr yn galw,
Am dy gymmorth idd i cadw.

Lle 'r ym beunydd ym-mhyrth angeu,
Ar flaen peics a geneu r gwnneu,
Pâr in fyw bob awr yn d'ofan,
A throi heibio buchedd aflan.

*Ni wyr un † pwy awr pwy ennyd,* † Pa.
*Y rhy gyfrif am ei fywyd,*
*Gar dy fron o Farnwr cyfion,*
*Pâr in fyw gan hynny 'n vnion.*

Gwna ni 'n barod ddwad attad,
Bôb yr awr O anwyl Geidwad,
Nâd in fyw un awr mewn pechod,
Rhag ein cyrhaedd yn amharod.

Nâd in wneuthur dim drygioni,
Nac vn * herc na allom roddi, *Gwei-thred.
Gownt † oi blegid heb gwilyddio, †Cyfrif.
Ddydd y farn pan doir i * ympyro. *Ymddangos.

Arglwydd achub ni dy weifion,
A gwradwydda ein gelynion,
Cadw ein *Brenin* a'i frenhiniaeth,
A rho iddo 'r fuddugoliaeth.

---

## *Cyngor i'r Porthmon.*

OR 'dwyd *Borthmon* dela 'n oneift,
Tâl yn gywir am y gefaift,
Cadw d' air, na thorr addewid,
*Gwell nag Aur mewn côd yw * credid.* *Coel, cymmeriad.

Na chais ddala 'r tlawd wrth Angen,
Na thrachwanta ormod fargen,
Na fargenna â charn lladron.
Ni ddaw rhâd o ddim y feddon.

Gwachel brynu mawr yn echwyn,
Pawb ar air y werth yn 'fcymmyn :
Prynu 'n echwyn y wna i *Borthmon*,
Ado'r wlâd a mynd i *Werddon*.

1 Thef. 4. 6 Gwachel dwyllo dy fargenwŷr,
*Duw fydd farnwr ar y twyllwyr :*
Pa dihangit tu hwnt i *Werddon*,
Duw fyn ddial twyll y *Porthmon*.

Byth ni roftia un o'r twyllwŷr,
Dihar. 12: 27. 'Rhyn y heliant medd y *Scrythyr* :
Ni ddaw twyll i neb yn ennill,
Fe red ymmaith fel trwy 'r rhidill.

Gwachel feddwi wrth *Borthmonna*,
Gwin hel *Porthmon* i gardotta :
Os y *Porthmon* y fydd meddw,
Fâ'r holl ftoc i brynu 'r Cwrw.

Dela 'n union, * carca d'enaid,
Na † ddifanna â da gwirionaid,
Pa difannyd ir † Low Cwntres,
Dial Duw y fyn d'orddiwes.

* *Bydd ofalus am dy enaid:*
† *Na ddôs ymmaith :*
† *Holand.*

---

## *Cyngor cyn mynd i garu.*

Gen. 24 7. PAn yr elech gynta i garu,
Galw ar Dduw os myn di ffynnu :
Cais ei yfpryd i'th gyfrwyddo,
Hebddo nid oes lŷn it lwyddo.

Rhôdd

Rhôdd arbennig oddiwrth Dduw, Dihar. 19. 14.
Yw gwraig rasol, weddaidd, * wiw, *Addas.
Rhôdd na chaiff Pôb rhai o honi, Preg. 7. 26.
Ond y sawl y fo 'n ei ofni.

Cais gan d' Arglwydd hyn o Rôdd, Dihar. 10. 24.
Di gei * faitsio wrth dy fôdd, *Briodi:
Cais ei nerth, a'i help, a'i gyngor,
Di gei bôb rhai ar dy ochor.

Ymddarostwng i'th Rieni, Col. 3. 20.
Cyn y ceisiech briod itti,
Cais eu hwllys mewn môdd addas, Gen. 27. 46
Felly ffynnia dy briodas.

Fe fyn Duw it ymgynghori, Barn. 14. 2.
A'th Dâd, a'th fam, cyn priodi,
Ac ymfaitsio 'n ôl eu hwllys,
Tro na cheisiont * faits, anweddys. * Priodas.

*Ni fyn Duw i'th Dâd dyfwrw,*
*Lle na byddo Duw'n dy alw,*
*Lle na allo 'r Galon hoffi,*
*Lle na bo cyfaddas itti.*

*Os llawn o râs, os glân o ryw,*
*Os pûr o gorph, a môdd i fyw,*
*Os mwyn, os doeth, os da yw 'r ferch.*
*Lle galwodd Duw di, rho dy serch.*

Mae 'r Tad a'r fam, yn rhwym ith * ffwrddro, *Gynnorthwyo.
Mae'n erbyn Duw, ir rhain dy rwystro: Bar. 14. 4, 5
Cyffroi 'r yspryd y wna hynny, Col. 3. 21.
A themptio 'r cnawd i odinebu. 1 Cor. 7. 9.

Na ddig'a 'th Dad o bydd lle i beidio,
'M-mhôb peth gweddus, gostwng iddo,
Cais ei gyfnerth yn barchedig,
Cais yn fwyn, fe ddyru 'n ddiddig.

Cais

*Gyndynrwydd. Cais wraig dduwiol o'r iawn ffydd,
2 Cor. 6. O grefydd Ghrist, heb nag, heb * nŷdd:
14, 15, 16. Mewn un gwely byth ni chytfydd,
Gŵr a gwraig o amryw grefydd.

*Onest. Cais wraig * ddiwair o Rieni,
Ezek. 16. *Rhyw a ym-lysc i ddrygioni:*
44. *Oni cheidw Duw rhag † Nam,*
†Cwdwn. *Fe * drippia 'r ferch lle trippio'r fam.*
*Gwymp.

Cais wraig hygar, gryno, gruaidd,
*Ymhoffa. Na * phansia forwyn ffiaidd:
Trîst ac oer, a dôf, a diflas,
Y fydd cariad at un atcas.

Cais wraig ddistaw, dda ei nwydeu,
Ddôf ei nattur, bâch ei chweddleu:
Dih 27. 15. *Gwaeth nâ defni, gwaeth nag Arthes,*
Dih. 17. 12 *Gwaeth nâ gwiber yw Scoldies.*

Cais wraig fedrus, ddoeth, rinweddol,
Honno 'th gôd yn Ben i'th bobol,
Dihar. 31. Honno leinw dy gornele,
22, 23. Honno bair i'th galon chware.

Cais wraig hygar, a gwraig fedrus,
Cais un rasol a chyffyrus:
Llom yw'r ford, ac oer ywr gwely,
Lle bo'r wraig heb drefnu 'r lletty.

Cais wraig weddus ar ei gwên,
Nid rhy ieuangc, nid rhy hên:
Dih. 17. 22 'R hên rhy oer a'th lâdd â'i pheswch,
A'r llall a bair it aflonyddwch.

Cais un ufydd megis *Sara*,
Cais un ddiffym fel *Rebecca*,
Cais un Serchog megis *Rachel*,
Cais un fedrus fel Mam *Lemuel*.

*Cais*

*Cais un rasol, hygar, hyfryd,* Dih.11.16
*Suler, Sanctaidd, lân ei bywyd,* Dih. 15 1.
*Araf, weddus, dda ei ymddygiad,*
*Hi dâl mwy nâ chyfoeth tair gwlad.*

*Gwachel goegen falch, ddifeder,*
*Gwachel † Soga Sû-wansuber:* † Vn afrwyog.
*Gwachel un oludog ffrom-ffôl,* Dih.21.19
*Honno'th flina di a'th bobol.* Dih.26.6.

Gwachel wraig rhy wen, rhy gynnes,
Hi fydd neidir yn dy fynwes:
*Odid gweled medd y frân,*
*Wraig rhy wen â chalon lan.*

Na chais wraig â * gwaddol lawer, *Cynnysgaeth.
Ac heb fedru trîn ei phwer:
Mwg, a niwl, a llif yntreio,
Yw gwaddol mawr heb fedru drinio.

*Or bydd ond dwy it gael dy ddewis,*
*Un yn frâs, a'r llall yn fedrus:*
*Gâd i fynd y frâs ddifeder,*
*Cais y fedrus â'th holl bwer.*

Y ddoeth a'r dda, a ddaw i ddigon, Dihar.31. 15,18, 25.
O ddydd i ddydd hi wella ei dynion:
Ni chwsc hi 'r nôs, ni phaid ei byssedd,
Nes cael cyfoeth ac Anrhydedd.

Y ddol a fwrw ei Thŷ i lawr, Dih.14.1
A 'r ddoech a adail Drefydd mawr:
Y ddol a bair i'w gŵr ochneidio,
A'r ddoech a ddwg Anrhydedd iddo.

Y ffôl ei Phen y flina Gawr,
Ac anrheithia 'r gwaddol mawr,
Gan lwyr droi ei * *Phacc* yn *Phardel,* * Gân yrru llawer yn ychydig.
Nes gwr̄dwyddo 'r ffrins a'r genel.

N *Arholl*

*Archoll calon, Baich anesmwyth,*
*Defni dyfal, Gwawd iw thylwyth,*
*Brathu. *Jau yn gwascu, Sarph yn pricco* * ,
*Yw Gwraig ddrwg : Gwae 'r gwr a'i caffo.*

Duw â'i yspryd a'th gyfrwyddo,
I gael 'r ore a'th fodlono,
O ddawn, o dda, o râs, o ryw,
Wrth fôdd dynion, wrth fodd Duw.

---

## *Canmoliaeth Gwraig Dda.*

Preg. 4. 13. GWell Bachgen doeth nâ Brenin ynfyd,
7. 1. Gwell Enw da nag ennaint hyfryd,
Dihar. 16. Gwell pwyll nag Aur, *Gwell grâs nâ grym,*
32. *Gwell Dyn nâ dâ, Gwell Duw nâ dim.*

Gwell Igir ddoeth yn ofni Duw,
Dihar. 15. A 'chydig bach o fôdd i fyw,
16. Nâ 'r ddol ddiddawn o genel grîn,
A thryslor mawr heb fedi y drîn.

Gwraig rinweddol, hygar, hyfryd,
Dihar 31. Sydd gan gwell nâ byd o olud :
10, 14. Gwell nâ *Thir*, nâ *Thai*, nâ *Thryssawr*,
Gwell nâ'r *Perls* a'r *Meini gwerthfawr.*

*Llong* yn llawn o werthfawr dlwsse,
*Perl* a chan-mil o rinwedde,
†*Gemm* na feidir neb ei brissio,
† Maen gwerthfawr. Yw Gwraig dda ir sawl a'i caffo.

*Piler Aur* mewn Morteis Arian,
*Twr* rhag Angeu i Ddŷn egwan,
Dihar. 12. *Coron* hardd, a *Rhan rhagorol,*
4. *Vertuous *Grâs ar râs yw Gwraig* * rinweddol.*

## *Rhybydd a chyngor ir Godinebwr.*

GWrando 'r Godinebwr aflan
Air o Gyngor genni 'n gyngan,
Cyn yr elech di mor ddiriaid,
Yn dy * wûn i ddamnio d'enaid. *Chwant.

Gwel dy fargain front anhwaith,
Cyn y bwrech dy hûn ymmaith,
*Marcca d'ennill, bwrw 'th golled, *Ystyria.
Ystyr ble 'r wyt ti yn myned.

*Rwyt ti'n mynd i dy putteiniaid,*
*I † blessio 'r corph, i ladd yr enaid,* †Rhyngu bodd.
*I ddigio Duw, I nyrddo ei Demel,*
*I 'mado â Christ, i 'm-lynu â chythrel.*

Rwyt ti 'n mynd fel ffôl i werthu
D'enaid anwyl, Pridwerth Jesu,
Ffafar Duw, a'i deyrnas lawen,
Am gael gorwedd gydâ phutten.

O ! na wna mor dôst â'th enaid, Dih. 7. 27
Ai roi rwygo rhwng cythreuliaid,
Yn h in vffern am gael gronyn,
O * drythyllwch ir cnawd melyn. *Plesser.

O ! na werth y nêf gyfoethog,
Ffafar Duw a'th Brynwr serchog,
Gwir Angelion, gwlad goleuni,
Am gael † plesser mewn drygioni. †Difyrrwch.

Pwylla, Aros, nâd dy dwyllo,
Margain hallt yw 'r fargain honno :
Am gael tippyn o drythyllwch,
Na werth nêf, a'i holl ddedwyddwch.

*Gwachel. Cno dy dafod, pig dy lygad,
Am yr ymswyno trwy groesu 'r talcen, nid yw hynny ond papyddiaeth ac oferedd. Tro dy wegil, na fydd anllad:
*Ymswyn rhag ir fall d' ochlygu,
Ac na chyrcam odinebu.

Cenfydd Satan sy'n dy arwain,
Wrth edefyn i dŷ 'r buttain,
(Megis arwain ŷch ir lladdfa)
Dihar. 7. 22, 23. I lâdd d'enaid trwy butteindra.

Clyw 'r 'Postolion a'r Prophwydi,
1 Cor. 6. 18. A'r holl scrythur i'th gynghori,
Wechlyd rhag y cyfryw bechod,
Eph. 5. 5, 6 Rhag dy daflu i uffern isod,

*Boeni. Ai di uffern i'th *dormento?
†Bobi. Ai di'r Brwmstan poeth ith †frwylio?
Datc. 21. 8 Am gael gorwedd megis filain,
Ambell pryd ym maglau puttain.

Ai di orwedd ir tywyllwch?
Ai dî ir carchar di-ddiddanwch?
Ai di drigo at blant Satan?
Am gofleidio menyw aflan.

A droi di ffafar Christ oddiwrthyd,
A'i Angelion hygar, hyfryd?
Heb-gael dim oddiwrth y fargain,
Ond cusanu gweflau Puttain.

Ffei rhag cwilydd, tro yn d'wrthol,
A dôs adref yn ddifeiriol:
Na werth nêf am gariad puttain,
Ni wnai Esau o'r fath fargain.

*Bydd ofalus am. Cymmer gyngor, ofna Dduw,
*Carcca d'enaid tra fech byw,
†Llangces Gwachel wneuthur ti a'th † Riain,
Aelod Christ yn aelod puttain.

*Cadw'ch gorph yn lester Sanctaidd,* 1The. 4.
*Temel Dduw yw * corph carnaidd,* * *Sef corph y duwiol.*]
*Aelod Christ, preswylfa 'r Drindod,* 1Cor. 6.
*Gwachel nyrddo hwn â phechod.* 15, 19.

Gwybydd nâd oes pechod gassach,
Nâ godineb brwnt a lloscach,
Y wnaeth difa da a dynion, Gen. 6.
A'r dwr diluw, tân a brwmston. Gen. 19.

Digio Duw, a *phlessio 'r cythrael, * *Boddhau.*
Gryddfu 'r yspryd, nyrddo ei Demel,
Croeshoelio Christ, halogi aelod,
Y mae 'r rhysyg brwnt yn wastod.

Pydru 'r corph, a damnio 'r enaid, 1Cor. 6. 9, 10.
Llygru 'r enw, nyrddo 'r ddwy-blaid,
Difa 'r cyfoeth, * staino 'r eppil, Dihar. 5. 8, 9, 10, 11.
Mae 'r godineb brwnt yn rhigil. * *Diwyno.*

*Llanw 'r Deyrnas o fastardiaid,*
*Llanw 'r Eglwys o Butteiniaid,*
*Llanw 'r Tai o gam 'tifeddion,*
Mae godineb medd y doethion.

Hela dynion i gardotta, Dih. 6. 26.
Wna godineb a phutteindra;
Ac fel † gwddath o dân prysur, †*Goddaith Flamm, megis mewn eithyn neu grug.*
Difa cyfoeth godinebwyr.

Pan bo pôb rhyw bechod diffaith,
Heb lâdd un ond ûn ar un-waith,
Mae godineb brwnt mor sceler,
Yn lladd dau bob gwaith y gwneler.

Er nad oes un pechod atcas,
Ag all torri rhwym priodas,
Mae godineb câs yn torri,
'R hôll briodaseu mae 'n halogi.

*Llofrudd. Gwaeth nâ lleidyr, gwaeth nâ * mwrddrwr,
Gwaeth nâ neb yw 'r godinebwr,
Sy'n lladd enaid dau ar vn-waith,
Pan bo 'r lleill yn lladd cydymmaith.

Dihar. 6. 30, 31, 32. Nid yw 'r lleidyr, wrth ei ofyd,
Ond lledratta i gadw ei fywyd:
*Mae lledrad yn gystal a godineb yn bechod sy'n damnio, ond bôd godineb yn gwneuthur hynny yn fwy na'r llall. Mae 'r putteiniwr yn ei afraid,
Wrth butteindra 'n * lladd ei enaid.

Er na fynnei 'r pharisaaid,
Lâdd y sawl 'amharchei henafiaid,
Etto mynnent lâdd er hynny,
'R wraig y fyddei 'n godinebu.

Cyfraith Dduw sy'n gaeth yn erchi,
Yn ddi-ffafar lâdd â meini,
Y gŵr a'r wraig a odinebo,
Lev. 20. 10 *Mae 'r godineb yn gâs gantho.*

†Ddiffaith Mae 'r godineb brwnt mor † ffinion,
O flaen Duw a'i holl Angelion,
Ac na fyn i nêb o'r brodyr,
1 Cor. 5. 11. Fwytta 'ng-hyd â'r godinebwyr.

Mae mor ffinion, mae mor ffiaidd,
Ac na fyn y scrythur sanctaidd,
Eph. 5. 3. Un-waith enwi peth mor fydyr,
Chwathach arfer idd i wneuthur.

Mat. 5. 29. *Christ sy'n erchi cadw 'r llygad,*
Job 31. 1. *Rhag y cyfryw bechod anllad:*
*Mynych trwy ffenestri 'r llygaid,*
*Y mae hwn yn llâdd yr enaid.*

Cyn trachwantech vn wraig wenn,
Tynn dy lygad ffwrdd o'th ben:
† Anllad, godinebus. *'Rhwn na ffrwyno lygad † wantan.*
*Llosci. *Yn hân vffern y chaiff * frwylian.*

Y mae 'r pechod hwn mewn calon,
O flaen Duw yn bechod creulon,
Er na ddelo bŷth mewn gweithred, Mat. 5.28.
Mae â'i chwant yn lladd yr enaid.

---

## *Cyngor ir Meddwyn.*

OS meddwyn wyt yn arfer * chwiffo *Tjed.
Gwîn, a chwrw, a Thobacco,
Llêf am râs ar Dduw yn fuan,
I orchfygu meddwdod aflan.

Os cwympaist yn y * wins o feddwdod, *Pwll.
Llêf am gymmorth oddi-vchod,
Ni all dyn na diawl nac Angel,
Godi o'r wins o'r cyfryw nifel.

Nid â'r cythrel meddw o'th growyn,
Mwy nâ'r cythrel mûd o'r plentyn,
Nes dêl Christ â'i nefol yspryd,
I droi 'maes trwy weddi ac ympryd.

*O gweddia dithe 'n wastod,*
*Am gael nerth yn erbyn meddwdod:*
*Ac ymprydia rhag gormoddion,*
*Ac rhag tramwy lle bo'r meddwon.*

*Nid gwell meddwyn er gweddio,*
*Heb wachelyd ac ymprydio :*
*Gweddi ac ympryd sydd yn groyw,*
*Yn gorchfygu 'r cythrael meddw.*

*Os gweddij 'n erbyn meddwdod,*
*Ac heb waglyd Tie 'r ddiod,* 1 Thes. 5.
*Ni thâl gweddi i ti ddimme,* 21.
*Eisieu gwaglyd y Tafarne.*

Dannedd llew yw dannedd meddwdod,
Ni chyll ei ddant o'i grâff o honod,
Nes dêl Christ y llew diofan,
I figo ei fhol, a'th dynnu o'i fafan.

Ni ddaw march o'r ffoes lle foddo,
Nes dêl chwech neu faith i lyfco:
Ni ddaw dŷn o'i feddwdod aflan,
Nes dêl Christ i lyfco allan.

Na chymmell nêb i yfed gormod,
Yfed pawb ei rhaid o'r ddiod;
Os myn ûn feddwi megis ci,
Meddwed ê, na feddwa di.

*Os bydd itti ddyfod. Rho barch i'th well o'r * doi iw plith,
Trwy barchu 'r fol heb yfed rhith:
Os perchi 'r gwr trwy chwiffo 'r cwppan,
Wrth barchu 'r ffrind, di amharchu 'th hunan.

Jechyd trist, ac Jechyd afiach,
Yw yfed Jechyd a'th wna 'n glafach:
*Byth ni pharchaf Jechyd un,*
☞ *A waetho 'm Jechyd i fy hun.*

Rhai fy'n chwerthin am fy mhen,
Am fôd yn fobr heb fawr chwen,
Pfal. 119. 136. Minneu 'n wylo 'r deigreu hallton,
Weld pob rhai o'r rhain yn feddwon.

Y meddw chwarddodd am fy mōd,
Yn cadw 'ngheiniog yn fy 'nghôd,
Y nawr fy'n wylo 'r dwr yn frŵd,
† Geifio. Wrth † feggian ceiniog fâch o'm cŵd.

*Er mwyn Jefu gwachel feddwdod,*
*Gwaeth yw hwn nag un rhyw bechod,*
*Mae 'n troi dyn ar lûn y cythrel,*
*Ugain gwaeth nag un anifel.*

Tynn

*Tynn o'r Tafarn, gwachel feddwdod,*
*Na chais fynd yn drech nâ 'r ddiod:*
*Ni * chas vn o'r trecha arni,* — * Chafodd.
*Ond y gilie 'n ebrwydd rhagddi.*

*Alexander* a † gwngcwerodd, — † Orchfygodd.
Yr holl fŷd y ffordd y cerddodd,
Ond y ddiod yn dra fceler,
A gwngcwerodd *Alexander.*

*Gwell yw diangc nag ymdrechu,*
*Gwell yw cilio nag ymdynnu:*
*Gwell rhoi 'r gore' ir bwrfwn cwrw,*
*Nag ymoftwng iddo 'n feddw.*

*Treiaift feddwyn dy rym ddengwaith, — * Profaist.
Cwympaift dan y ddiod ganwaith,
Oni chymry 'r traed oddiwrthi,
Hi ry etto gwdwm itti.

Rhai fyn maflyd cwymp a'r cwrw,
A mynd yn drech nâ'r ddiod loyw,
Ni bu 'rioed y gas y trecha,
Ond y gilie 'ddiwrthi 'n gynta,

O doi at dân fe lyfc dy grimpe,
O doi at farph hi frath dy fodle,
O doi at bûg, ond cwrdd, fe 'th nyrdda,
O doi at ddiod gref hi 'th feddwa.

Cil rhag farph rhag iddi 'th frathu,
Cil rhag * plâg rhag iddo 'th nafu, — * Cornwyd.
Cil rhag tân rhag iddo 'th lofci,
Cil rhag Gwîn rhag iddo 'th feddwi.

O holl * flafiaid y bŷd ymma, — † Caethwefion.
Caetha flaf yw 'r flaf i fola,
Ni chais hwn tra bywyd gantho,
Ond ei fola 'n feiftir iddo.

F'a

*Tafarndy F'â 'r meddw ir * Inn yn gâll, †yn gwmpli,
† Fel dyn rhesymol. Fe ddaw maes heb gôf, heb gysri,
F'â mewn fel dŷn, f'â maes fel nisel,
Fe chŵd fel ci, fe rôch fel cythrel.

Dihar. 23. 20, 21. F' ollwng meddwyn Duw a'i ddonic,
* Ar bôb fenyw ofer Tai a Thîr i fynd i chware:
Fe geidw ei afel ar bôb * Sini,
Fe gyll ei hun, a'i gôf, a'i gyfri.

Gynt ni feddwei ond bedlemmaid,
A'r rhai gwaetha o'r begeriaid:
'Nawr ni chaiff bedlemmaid tlodion,
Le i feddwi gan fonddigion.

*Brwnt gweld Barnwr mewn anhemper,*
☞ *Neu Bendefig draw 'n y gwtter;*
*Caeth-was. *Brwnt gweld Cawr yn * flâf i'r cwrw,*
*Brwnta gyd gweld ffeiriad meddw.*

Cyfraith dda oedd dodi meddwon,
† Golygwyr. Fel plant bychain dan † drycholion:
Os ni fedrant fwy nâ bechgin,
* Drefnu. † Eu golud * Ordro eu hun, nac ordro eu † lifing,

Nid oes rhefwm na naturiaeth,
* Pwrpas. Gan y meddw drîn ei * arfaeth,
† I arwain, i ofalu trosto Eisieu vn o'r rhain i † arail,
Gwaeth yw 'r meddw nâ 'r anifail,

Blîn na feder vn dyn meddw,
Na'i reoli 'hun yn hoyw,
Och! na gadel i neb arall,
Lwyr reoli 'r meddwyn angall.

Esay 5. 11 Gwae medd Duw y dŷn y gotto,
Y boreu glas-ddydd i gwmpnio,
Ac arhosso gyd â'r ddiod,
Nes y nynnir ê gan feddwdod.

Y mae uffern boeth a Satan, Esa. 5.14.
Yn lledanu ar llêd eu safan,
Ac yn chwennych llyngcu 'r meddw,
Yn ei feddwdod cyn bo marw.

Gwae fo crŷf i chwiffo cwrw, Esay 5.
Ac i gymmysc diod loyw; 22, 24.
Ni âd Duw na gwraidd na himpyn,
Heb ei difa ir fath feddwyn.

Gwae ro ddiod grêf i feddwi,
Ei gymmydog, iw ddinoethi;
Mae Duw 'n digio wrtho 'n llidiog,
Am ladd enaid ei gymmydog.

Tynn ar frŷs o'r gors o feddwdod,
Rhag dy lyngcu yn amharod:
*O hîr aros ar draeth fugyn,*
*Llwyr yth lwngc tra fech yn rofyn.*

Pôb pechadur y gais guddio,
Faint o feiau a fo arno:
Ond y meddw fynn ddinoethi,
A datcuddio ei holl frynti.

*Adda* geisiodd guddio 'n * garccys, *Ofalw.
Ei drofeddeu â dail ffigys:
*Noe* y fynne lwyr ddatguddio,
Yn ei feddwdod faint oedd gantho. Gen. 9. 21

Christ sy'n gwardd i gristion fwytta,
Gydâ 'r meddw, glwth ei fola,
Ac ymgadw rhag dwad atto, 1 Cor 5.11
Fel rhag dyn a'r cowyn arno. 2 Thes. 3.6

Fel y gyrr y mwg o'r llester,
Yr holl wenyn o'i esmwythder:
Felly gyrr y meddwdod aflan,
Râs a dawn o'r galon allan.

Dan.4.32. Ni bu meddant frenin *Babel*,
Ond saith mlynedd ar lûn nifel;
Y mae 'r meddw ar lûn mochyn,
Hwy nâ hwnnw lawer blwyddyn.

Dihar.23. *Einioes fyrr a chylla afiach*,
29,30. *Lletty llwm a drwg gyfeillach*,
☞ *Coppa twnn, a shiacced frattog*,
*Y gaiff meddwyn yn lle cyflog.*

Fe werth meddwyn dref ei Dâd,
Ar maint y fedd o fraint yn rhad,
A phôb nifel sy'n ei helw,
Gwerth ei grŷs i brynu 'r cwrw.

Fe medu 'r meddw â'i holl bethau,
Ai aur ai arian, a'i drysforau,
Ei dai, ei dir, ei blant, ei briod,
Ond ni' medu bŷth â'i feddwdod.

*Gwir Dduw 'r meddw ydyw † Bachws*,
*Tafarn bwdlyd yw ei Eglwys*,
*Gwraig y Tafarn yw ei ffeiriad*,
*Y pott ar bîb yw ei * gyfnessiad.*

Bydd di sobr trech di 'n fachgen,
Nâd ir bola speilio 'r cefen,
*Nâd i afraid ieungctid hala*,
*Bol mewn henaint i gardotta.*

† *Bachws oeddyr hên enlynaddolwyr yn ei gyfri yn Dduw 'r gwîn.*

* *geraint, y rhai mewn cymmundeb ag ef.*

Deut. 21. 18,19,20, 21. Cyfraith Dduw a fynn labyddio,
Pob oferddyn ag a feddwo;
I ddiwreiddio 'r cyfryw frynti,
Ac i rwystro eraill feddwi.

Luc. 21. Fe ddaw Christ yn chwyrn heb wybod,
34, 35. Ar ddyn meddw i ddial meddwdod,
Fe'i gwahana, fe'i rhy orwedd,
Mewn tân poeth i ringcian dannedd.

Duw,

Duw ro grâs i bob rhyw Gristion,
Yfed † deigi yn lai na digon, † *Desfyn.* 1Cor. 6. 9, 10.
Cyn y hyfo fwy nâ'i gyfraid,
I lladd ei gorph, i ddamnio ei enaid.

---

## *Cân yngbylch y Diawl a'r Meddwon.*

Y *Cythrael* twyllodrus sy beunydd heb orphwys, 1 Pet. 5. 8.
 Ond ceisio 'n ofalus ein twyllo,
I wneuthur pechode, pob amryw o feie:
 Duw gatwo 'n heneidie ni rhagddo.

*Fel y bydd cysgod ar ddisclair ddiwrnod,*
 *Ein dilyn yn wastod wrth rodio;*
*Felly mae ynte yn canlyn ein sodle,*
 *Yn gosod ei fagle i'n cwympo.*

Duw gatwo pob Christion rhag Satan anghyfion;
 O 'wllys fyng halon rwi'n ceisio,
Gael dwyn ein eneidie 'ddwrth bob rhyw o feie,
 O † vffern a'i phoene, a'i rwystro. †*Allan o gyflwr o golledigaeth.*

Meddwdod yw'r gore a'r penna o'r heinte,
 O hono mae 'r beie yn himpo;
Tyngu, putteindra, gloddineb, lladratta,
 Ac ymladd yw'r mwya sydd yndo.

Lle bo mwya 'r gynlleidfa, fe gân * y dantara, *Gan y trwmpet, neu ffyst y drwm.*
 Gyfeillion dewch yma i gwmpnio,
I hala hi 'n fuan trwy 'r ffenest ac allan,
 Mi fydda fy hunan yn † campo. †*Chware.*

Ac yno hwy ddawan, fel Sawdwyrs yn fuan,
 I'r man lle bo Satan yn ceisio,
I gymryd eu hafraid, heb * garcco am yr enaid, *Gofalu.*
 A llawer o'r gweiniaid sydd hebddo.

Dechreuan

Dechreuan yn llonydd fel haul-wen foreuddydd,
Nes cwnnu tês glennydd a thwymo;
Y ddau-rydd y gocha, y tafod y floesga,
Y ddwy troed y ffaela a rhodio.

Gwedi darffo iddyn yfed, yn barod i fyned,
Fym *Hostes* am *kened* moes etto:
Llanw di 'r potte, yn llawn o'r vn gore,
Ni awn i ddechre * carowso.

* Ymyfed.

Bellach moes ymma ddalen o'r *India*,
A'i henw hi 'n benna *tybacco*,
Pibell a thewyn, neu ganwyll i nynnyn,
Nad orfod eu gofyn hwy *etto*.

Yscadan moes bellach, neu gig y fo halltach,
Spardyn * cyfeddach y baro,
I hyfed hi 'n † hoyw, nes bo rhai yn feddw,
A darfod y cwrw a'i || spendo.

* Cydyfed. † Lân. || Ddifa.

Yno bydd dwndwr a briwo gŵr llwfwr,
Oni bydd ê gwmpniwr i growso;
Gelwch yn galed, na * speriwch ag yfed,
Na chwrw na chlared lle bytho.

* Arbedwch.

Rhai fydd yn i fwrw, rhai fydd yn i gadw,
A rhai fydd yn arw yn i * fipio;
Rhai yn eu saesneg, a rhai yn ei ffrangeg,
A rhai yng wyddeleg yn † pledio.

* Hyfed. † Ymddadlu.

Rhai fydd yn tyngu, rhai fydd yn cynhennu,
A'r cythrael yn gwenu 'n eu * hawnto;
Atto f'eneidie, ceisiwch eich harfe,
Nid rhaid i chwi odde ddim gantho.

* Mynych gyrchu atynt.

Yno bydd cleisie, ond odid glanastre;
Anhappus yw'r chware lle bytho,
Y cythrael cenfigennus, y bradwr, * hoccedus,
Arghenfil anghenus lle delo.

* Twyllodrus.

Nid

Nid oes neb heb ei feie, yn llawn o bechode,
Nid ydy rhai gore * yn fcapo, *Diangc.
Na bo nhwy'n rhy vfudd yn rhwy feie na'i gilydd,
Yn dilyn llyferydd y † *Cadno.* †Y diafol.

O Arglwydd gorucha, rho ras i ni wella,
A chadw blant *Adda* rhag llithro;
Maddeu 'n pechode, a dwg ein heneidie,
I'r mann lle * bych dithe 'n grophwyfo, *Byddych.

*Cynghor yn rhybuddio dyn i ymgadw, rhag lletena meddylian drwg yn ei galon, ac i droi ei feddylian, bôb amfer i fyfyrio ar ddaioni.*

MAe holl feddwl dŷn yfowaeth, Gen. 6. 5.
Gwedi lygru wrth naturiaeth:
Ni fyfyria ond drygioni,
Nes y darffo ei ail eni.

Nid oes dŷn ag all myfyrio 2 Cor. 3 5
Meddwl da, gwnaed orcu ag allo,
Nes cael gallu Duw a'i radau,
I gyfrwyddo ei feddyliau.

O gweddia 'n daer gan hynny, Psal. 51. 10
Ar ir Arglwydd adnewyddu,
Dy feddyliau a'ch amcanion,
I fyfyrio ar yr vnion.

Felly denfyn Duw ei yfpryd, Luc 11. 13
I oleuo dy feddylfryd,
Ac i newid dy feddyliau,
I fwriadu 'r hyn fydd orau.

*Nâd i feddwl drwg lettena,* Jer. 4. 14.
*Yn dy galon rhag dy ddifa,*
*Gwâs yn ceifio llety i Satan,*
*Bôb yr awr yw'r meddwl aflan.*

Dôd

Col.3.1,2 Dôd dy feddwl a'th fyfyrdod,
Ar y pethau sydd oddivchod,
Lle mae Christ dy Brynwr hygar,
Nid ar bethau s'ar y ddaiar.

*Rho dy fryd ar bethau nefol,*
*Ac na serchа ddim daiarol:*
☞ *Meddwl am y wlad y gorfydd,*
*Aros ynddi yn dragywydd.*

Meddwl am y pethau brynodd,
Christ a'i waed it yn y nefodd,
Heddwch Duw a choron hysryd,
† Tragwy-ddol. Teyrnas hardd, a † didrangc fywyd,

Psal.139. Meddwl dy fôd tra fech byw,
Bôb yr awr yngolwg Duw;
A bôd Duw yn gweld d'ymddygiad,
Ym-mhob mann a chil ei lygad.

Meddwl fôd y gelyn gwaedlyd,
1 Pet.5.8. Ddydd a nôs fell llew newynllyd,
Yn troi daetu ith orweddfa,
Bôb yr awr yn ceisio'ch ddifa.

Meddwl am reoli d'eiriau,
A'th weithredoedd, a'th feddyliau,
Wrth fôdd Duw, rhag iddynt beri,
Gwasgfa ith Enaid ddydd dy gyfri.

Marc.1.7. Meddwl fal y daw dy Brynwr,
Mat.25.10 Yn y cymlau i chwareu'r Barnwr;
Ac yngweiria iw gyfarfod,
Fel priod-ferch gwrdd â'i phriod.

Rhuf.14.12. *Meddwl fal y gorfydd rhoddi,*
*Ddydd y farn mor fanol gyfri,*
Preg.12.14 *Am y meddwl drwg a'r bwriad,*
2Cor.4.5. *Ag y roir am weithred anllad.*

Meddwl

Henry Howard his Booke

Meddwl fal yr awn oddi ymma,
Ir tŷ priddlyd am y cynta,
Mewn Cŵd canfas heb vn * Beni,
Pe bae inni † rent Arglwyddi.

* Geiniog.
† Ardreth.

Meddwl fôd yr Angeu aethlyd;
Ar farch glâs yn gyrru 'n ynfyd,
Fal na ddichon hên nac ifangc,
Rhag ei saeth a'i ddyrnod ddiangc.

Datc. 6. 8.

Meddwl hefyd y daw Ange,
Megis lleidir am ein penne,
Heb vn vdcorn i'n rhybyddio,
Yn ddi-ymgais i'n anrheithio.

Preg. 9. 12.

*Meddwl nad yw bywyd vn dyn,*
*Ond fel † Bwmbwl ar y llyn-wyn;*
*Neu fel Padell bridd neu wydur,*
*'Rhwn yn hawdd y dyrr yn glechdur* *.

Jac. 4. 14.
† *Cloch ar ddwr.*
* *Yn ddrylliau.*

Meddwl fal y rhêd ein heinios,
Megis llong dan hwyl heb aros,
Ac y derfydd am ein hamser,
Cyn inn' dybied dreulio ei hanner.

Job. 7. 6.
Luc. 12. 19, 20.

Meddwl fôd y bŷd yn gado,
Pawb yn llwm i fynd o hano,
Ac fel iâ yn torri danynt,
Pan bo rheita ei gymmorth iddynt.

Meddwl na ddaw aûr nac arian,
Tai na thir or drodfedd fychan,
Gydâ neb i fynd ir frawdle,
I roi cyfrif am eu beie.

Heb. 9. 27.

Meddwl pan y delo Ange,
Gorfydd gado 'r bŷd a'i bethe,
A mynd o flaen Christ yn wisci,
Am y Cwbwl i roi cyfri.

Meddwl fal y bydd dy dlyſſeu,
A'th holl olud, a'th holl ſwyddeu,
Yn ymofyn newydd feiſtri,
Cyn y caffech gwbwl oeri.

*Meddwl doſted y fydd pechod,*
*Yn dolurio dy gydwybod,*
Datc.20. 12. *Pan y tafler yn dy ddannedd,*
*Ddydd y farn dy holl anwiredd.*

Meddwl fal y gorfydd rhoddi,
Preg.12. 14. Ddydd y farn ir Arglwydd gyfri,
Mat.12.36 Am bob gweithred ddrwg y wnelom,
A'r gair ofer ag y ddwetom.

Datc 6. 15,16. *Meddwl fal y bydd gwyr gwychion,*
*Sydd heb ofni Duw na dynion,*
*Ddydd y farn yn crio'n ſcymmyn,*
*Am ir creigidd gwympo arnyn.*

Datc. 7.9. Meddwl fal y bydd y duwiol,
*hyd yr* 16. Yn y nêf mewn braint rhagorol,
Yn clodfori Duw gorucha,
**Vffern.* Pan bo eraill yn *Gehenna.

Meddwl fal y mae'r annuwiol,
Datc.21.8 Yn ymdroi mewn tân vffernol,
Marc.9.44 Ar Prŷf didrangc yn ei bwytta,
Bôb yr awr heb gael ei wala.

1 Joan 2. 15. Meddwl am hyn, a dibriſſia,
Y bŷd hwn a'i wagedd mwya,
A myfyria trwy wîr grefydd,
Ar air Duw a'r bŷd na dderfydd.

Meddwl dŷn a rêd heb orphwys,
Ar y drwg neu 'r da gyrhaeddwys,
Oni chaiff beth da i fyfyrio,
Ar y drwg fe rêd tra ganto.

Meddwl

Meddwl dŷn fel mâen y felin,
Y dreulia ei hun nes mynd yn gilin,
Oni roir rhyw rinwedd dano,
Idd i falu, a'i fyfyrio.

Meddwl weithio 'r gwaith y bwyntiodd,
Dy Greawdwr pan ith greuodd,
Ai wasnaethu â'th holl bwer*, *Nerth.
Yn dy alwad tra cech amser.

Meddwl mae gwell vn diwrnod, Psal.84 10
Yn gwasnaethu 'r sanctaidd Drindod,
Nâ'th holl ddyddiau, a'th holl oesach,
Yn gwasnaethu dim amgenach.

*Meddwl cyn y gwnelech bechod,*
*B'wedd i attebu ddydd dy drallod,*
*A pha fodd y gallu ddiangc,* 1 Thes.5.3
*Ddydd y farn rhag angeu didrangc.*

Dôd dy feddwl ar ddaioni,
Nâd ar wagedd iddo ymborthi:
Hawdd y gallu i gyfrwyddo,
Os mewn pryd y ceisi ffrwyno.

Hawdd yw diffodd y wreichionen,
Cyn y 'mafloi yn y nenbren: Jac.4 7.
Hawdd yw newyd meddwl aflan,
Os gwrthnebyr hwn yn fuan.

*Tro gan hynny 'n ebrwydd heibio,*
*Bôb drwg feddwl pan dechreuo:*
*Rhag ir gelyn mawr ei * hocced,* *Dichell.
*Droi 'r drwg feddwl ir drwg weithred.*

Lladd blant-Babel tra font fechgin,
Sang ar sarph tra foi 'n y plisgin,
Tynn y * gangren cyn ei gwreiddio, *Cancr.
Tor ddrwg feddwl cyn cynyddo.

*Gâd wreichionen fach i gynnu,*
*Yn dy do, hi lysg dy lettu:*
*Gâd i feddwl drwg letteua,*
*Yn dy galon fe'th anrheithia.*

*Mor enbydus yw meddwl annuwiol.* Na letteua feddwl aflan,
Yn dy galon mwy nâ Satan,
Os lletteui rwyt ti 'n derbyn,
* Harbinger o flaen y gelyn.

**Cennad i baratoi lle.*

Rho dy fryd ar gadw 'r gyfraith,
A byw wrthi, yn ddiragraith:
1 Thess. 5. 18. Ac na ollwng Duw o'th feddwl,
Ond bendithia am y cwbwl.

Lev. 19. 17. Na fwriada ddrwg o'th galon,
1 Jo. 3. 15. I anrheithio dy gyd-gristion:
**Lladfa.* * Mwrddwr yw 'r fath feddwl gwaedlyd,
Gwachel rhagddo er dy fywyd.

Na thrachwanta wraig cymmydog,
Mat. 5. 28. Ac na hoffa ei llygaid serchog,
Nâd ith feddwl redeg arni,
Cans godineb yw i hoffi.

Zech. 7. 10 Gwachel roi dy fryd na'th fwriad,
Dihar. 23. 10, 11. Ar anrheithio vn ymddifad;
Trais a blin orth ymder yw,
Y cyfryw fwriad o flaen Duw.

1 Tim 6. 10 Gwachel chwennych Aur nac arian,
Tai na thir, trwy dwyll a choggan,
Nid yw'r cyfryw chwant a bwriad,
Ger bron Duw ddim llai nâ lledrad.

Rhwym dy feddwl, nâ l e'i wibian,
Ar oferedd mawr na bychan,
Nac ar ddim na ellech roddi,
**Cyfrif.* * Count am dano ddydd dy ddidri.

*Cadw'th galon rhag drwg fwriad,* Marc 7.21
*Fel y cedwi'th law rhag lledrad:* Zech.8.17
*Mae 'n rhaid atteb yn cyn gaethed,* Rhuf.2.16
*Am ddrwg fwriad ar ddrwg weithred.* Preg.12.14

## *Cynghor i lywodraethu 'r ymadrodd wrth fôdd Duw.*

BId dy eiriau yn wastadol,
Yn gristnogaidd ac yn rassol,
Yn rhoi grâs ir holl wrandawyr,
Ac adeiliad tra chymmessur. Eph.4.29.

Y mae bywyd, y mae Angau,
Yn y tafod, yn y genau: Dih.13.3.
Gwachel ddywedyd geiriau diraid,
*Cadw d'enau, cedwi d'enaid.*

Dilyn d' Arglwydd yn dy eiriau,
Dywaid fel y dywede yntau, 1 Pet.2.
Ni ddaeth twyll na gair anweddaidd, 22,23.
Erioed y maes o'i enau sanctaidd.

*Traetha 'n bwyllog, gwrando 'n escud,* Jac.1.19.
*Mae dau glust, vn tafod gennyd,* Dih.10.19
*Aml eiriau bair cyfeiliorni,*
*Ni ddaeth drwg i neb o dewi.*

Cyn y dywedych, meddwl ennyd, Mat.5.37.
B'wedd y myn mâb Duw id ddywedyd,
Yno dywaid 'r hyn sydd rassol,
A da i adail rhai an-neddfol.

Na ddoed 'madrodd brwnt o'th enau,
Na gair ffol, na choeg ddigrifau, Eph.5.4.
Senn, na ffrost, na * phrwmp, na chelwydd, Eph.4.25.
Ond bid rassol dy lyferydd. *Gwawd.

 Cadw

Cadw d'enau rhag gair diraid,
Psal. 39.1. Felly gelli gadw d'enaid :
Mat. 12. 37 Oni ffrwyni dafod anwir,
Yn ôl d'eiriau ith gondemnir.

*lleferydd. Arfer iaith ac * Aeg gwlad* Canan,
Ps. 145. 1, 2 Bid am Dduw a'i air d' ymddiddan :
Col. 3. 16. Wrth dy eiriau y cair gwybod,
Jac. 1. 26. O bwy wlad yr wyt yn hanflod.

Jac. 5. 12. Nâd ith dafod arfer tyngu,
Heb. 10. 29. Cig a gwaed yr Arglwydd Iesu,
*Sathru. Rwyt ti 'n * damsing gwaed y cymmod,
Pan arferych gyfryw bechod.

*Am air Duw nid oes id yngan,*
*Heb anrhydedd, parch, ac ofan,*
*Ac or cymru ei enw 'n ofer,*
*Di ae yn euog pan ith farner.*

Dywaid beunydd leia ag allech,
Dywed yn raffol pan y dywedech :
Oni ddywedu eiriau hyfryd,
Gwell it dewi a sôn nâ dywedyd.

*Gwachel fôd yn ddau dafodiog,*
Dihar. 6. 16, 17. *Câs gan Dduw bôb dyn celwyddog :*
*Tâd y celwydd ydyw 'r Cythrel,*
Joan 8. 44 *Gwas ir Diawl yw'r ffalst ei chweddel.*

Arfer draethu 'r gwir o'th galon,
Zech. 8. 16 Hoff yw 'r gwir gan Dduw a dynion,
Psa. 101. 7. *Ni chaiff dyn celwyddog gredu,*
*Gair o'i wir pan bo 'n ei dyngu.*

*Or tu cefn. Na chno vn dŷn * llwyr ei gefen,
†An air. Ac nac arfer gair † drwg-absen,
Psal. 64 3. Gwaeth nâ chleddau llym dau-finiog,
Ydyw enllib dŷn celwyddog,

Na ddwg dafod drwg anhappus, Dih.4.24.
Gwaeth yw hwn nâ gwenwyn lindus, Psa.140. 3
Gwaeth nâ marwor poeth yn llosci, Jac.3.6.
Gwaeth nâ saethau vn or Cewri.

Er fy mendith na lyssenwa, 1 Pet.2.1.
Neb yn rhwyl, neu 'n ffol, neu 'n *rhaca; Mat.5. 22
R'hwn a alwo ei frawd yn lletffol, *dyn gwâg di-dda.
Mae ê 'n haeddu tân vffernol.

*Gwachel adrodd faint y glywech,*
*Gwachel ddywedyd faint y wypech,*
*Dywaid wîr pan gorffo ei draethu,*
*Nes bo rhaid, gwell weithiau ei gelu.*

*Bydd ddeallgar pan ganmolech,* 1 Pet.3.8.
*Bydd * gwrteisol pan gyfarchech,* Lev.19.17
*Bydd gariadus wrth geryddu,* * *Mwyn-aidd.*
*Bydd drugarog wrth gyfrannu.*

## *Gweddi am lywodraethu'r geiriau, a'r genau wrth fôdd Duw.*

ARglwydd agor fy ngwefussedd, Psal.51.15.
I foliannu 'th Dduwiol fawredd,
A chyfrwydda di fy nhafod,
I ddatcanu maes dy fawr-glod.

Llanw ngenau, o'th wir foliant,
Ith fendithio am fy llwyddiant, Psa.40.10
Ath glodfori dâd trugarog,
Yn y dyrfa fawr luosog.

Llunia ngeiriau, * llywia 'n hafod, **Llywodraetha.*
A chyfrwydda fy myfyrdod; Psa.141.3.
Clô a datclo fy nwy wefys,
Nâd fi draethu ond dy wllys.

Arglwydd cadw ddrws fy ngenau,
Nid fi draethu ffiaidd eiriau,
*Gwawd. * Ffrwmp, na ffrost, na senn, na chabledd,
Geiriau ffôl, na dim anwiredd.

Psal. 19. 14 Bid myfyrrod fy holl galon,
Bid fy ngweithred a'm amcanion,
Bid fy ngeiriau oll yn ddiddrwg,
A chymmeradwy yn dy olwg.

*Cyngbor i ddyn fod bob amser o ymddygiad Christnogaidd.*

BId d'ymddygaid yn gristnogaidd,
Phil. 2. 15. Yn * gwrteisol, ac yn gruaidd,
*fwynaidd Ym-mhob tyrfa 'delych iddi,
Megis plentyn ir goleuni.

Bydd fel Seren yn discleirio,
Mat. 5. 16. Bydd fel Canwyll yn goleuo,
Phil. 3. 17. Bydd fel * Patrwn o gristnogaeth,
*Siampl. Ir rhai ddelo i'th gwmpniaeth.

1 Pet. 1. 15 *Bydd dra sanctaidd ir Galluog,*
*Bydd yn vnion i'th gymydog,*
*Bydd yn sobr it ty hunan,*
Tit. 2. 12. *Dyna 'r tri phwynt rheita allan.*

Mat. 10. 16 Bydd mor ddi-ddrwg ag yw 'r glommen,
Luc. 10. 3. Bydd mor gall a'r sarph drachefen,
Mat. 12. 50 Bydd ddioddefgar fal y ddafad,
Hôff gan Ghrist y fath ymddygiad.

* Cymmesurol. Bydd yn * dempraidd megis *Daniel*,
Eph. 5. 18 Cadw 'r cnawd mewn † Diet issel:
† Ag ymborth issel. Gwachel wîn a bwyd rhy foethus,
Rhag dy fynd yn afreolus.

Bydd

Bydd yn * ddiwair, nid yn anllad, *Onest
Bydd fel Joseph yn d'ymddygiad: 1 Thess.4.
*Rwyt ti yngolwg Duw bob amser,* 3,4.
*Bydd gan hynny lân a syber.*

*Dela 'n union wrth fargenna,*
*Na thwyll un dyn wrth farchnatta;* 1 Thess.
*Duw ei hun sydd union farnwr,* 4 6.
*Rhwng y gwirion * plaen a'r twyllwr.* *Symla

Bydd o ffydd a chrefydd union, Tit. 2.2.
Ofna Dduw o ddyfnder calon, Deut.6,13
Na wna ddrwg o flaen ei lygad,
*Ym-mhob mann mae 'n disgwyl arnad.*

*Dilyn gyngor doeth Bregethwyr,*
*Ymddarostwng ith Reolwyr,* Heb.13.17
*Bydd gariadus â'th gymdogion,* 1 Pet.2.17
*Ac heddychol â phob Christion.* Rhuf.12. 18.

Bydd dra grasol yn dy eiriau,
Bydd yn fedrus yn dy chwedlau: Psal.15. 4.
Bydd yn gywir yn dy bromais *, *Addewid
Bydd ym-mhob peth, lân a † llednais. †Gostyngedig, arafaidd.

Bydd di berffaith ym-mhob tyrfa,
Bydd fel Sant ym-mhlith y gwaetha: Mat.5.48.
Er diffeithed y fo 'r cwmpni,
Bydd fel Noe ym-mysc y cewri.

Cyfarch bôb dyn yn dra suriol, Rhuf.16. 16.
Gostwng i'th well yn gwrteisol, Rhuf.13.
Parcha 'r henaint a'r Awdurdod, 1, 7.
A rho 'r blaen ith well yn wastod. Lev.19.32

Bydd ddioddefgar a chymmessur,
Na fydd boeth, na thwym dy nattur: Col. 3.8,
Goddeu gamwedd cyn cynhennu, Dihar,16,
*Y ddioddefodd hwnnw orfu.* 32.

Ym-

*Ith well. Ymddaroſtwng i'th *oreuon,
†Wrthwyneba. Duw ei hun a † wrthladd beilchion:
‖ Diwyd. Ac fe ddyru râs yn ‖ yſtig,
Ir rhai vfydd goſtyngedig.

Dih. 16. 5. *Na falchia am vn rhinwedd,*
1 Theſſ. 5. 18. *Nac am gyfoeth ac * anrhydedd,*
*Ond rhô ddiolch prudd am danynt,*
*Rhag i Dduw dy adel hebddynt.*

1 Tim. 2. 9. Bydd di gryno yn dy ddillad,
Eſay 3. 16, 17. Dôs yn lân yn ôl dy alwad:
Tor dy bais yn ôl dy bwer,
Na fydd goeg na brwnt vn amſer.

*Gwachel bechu er cwmpniaeth,*
Rhuf. 6. 23 *Cyflog pechod yw marwolaeth:*
☞ *Cnifer gwaith y bech yn pechu,*
*Cnifer Angeu wyt yn haeddu.*

Mae cyfathrach er y dechreu,
Rhwng pôb pechod brwnt ac Angeu,
Fal na ddichon vn dyn bechu,
Na bo Angeu yn ei lyngcu.

Eph. 5. 11, 12. Na fydd anllad yn dy chwedleu,
Na fydd aflan mewn corneleu,
Eſa. 29. 15. *Ym-mhob cornel bid d'ymddygiad,*
*Fal pyt faet wrth groes y farchnad.*

Os cais dŷn, na Diawl, nac Angel,
Zech. 4. 10 Gennyd bechu yn y dirgel,
*Cofia fôd Duw â ſaith llygad,*
*Ym-mhob mann yn diſgwyl arnad.*

Jer. 16. 17. *Er nad ydyw dyn yn gweled,*
*Yn y dirgel lawer gweithred,*
*Y mae Duw yn gweld y cwbwl,*
*Pan na bytho dyn yn meddwl.*

Os

Os troſſeddi yn y dirgel, 1 Cor. 4. 5.
Duw ddatguddia dy holl † gwnſel, 2 Sam. 12. 12.
Ac y * ſaneg dy ymddygiad,
Ir byd yng wydd haul a lleuad. †Gyngor. *Ddatguddia.

Gwachel ddilyn drwg gwmpniaeth,
Pobol anwir ddigriſtnogaeth : 1 Theſ. 3. 6
Os ſe † nyrdda rhain d' ymddygiad, †Ddiwyna
Fel y nyrdda 'r * pitch dy ddillad, *Pyg.

Fal y hallta 'r môr y † granffo, †Gyrhaeddo.
O'r dwr croyw ddelo atto,
Felly nyrdda pobol ſcymmyn
* Foeſeu 'r goreu ddelo attyn. *Arferion.

*Gwachel neidir rhag dy frathu,*
*Gwachel * bla rhag dy ddifethu :* †Chwarren.
*Ac o ceri Iechydwriaeth,* Pſal. 26.
*Gwachel ddilyn drwg gwmpniaeth.* 4, 5.

*Câr â'th galon bôb dyn duwiol :*
*Bydd gyfeillgar â'r rhinweddol :* Pſal. 119.
*Dilyn arfer y rhai doethion,* 36.
*A ffieiddia 'r annuwolion.*

---

## *Cynghor ynghylch bwytta ac yfed.*

GWachel eiſte i lawr i fwytta,
Nes bendithio 'r bwyd yn gynta :
Gwachel godi pan eiſteddech,
Nes rhoi diolch am y fwyttech.

Chriſt ni fwyttei fara † barliſh, †Haidd.
Chwaethach bwyd oedd well ei * reliſh, Jo. 6. 9, 11.
Nes yn gyntaf ei fendithio, *Flâs.
A rhoi mawl i Dâd am dano,

Pam

Deut. 28. Pam y cytcam vn-dyn ſwytta
15, 18. Bwyd Sy'ar felldith er cwymp *Adda?*
1 Tim. 4. Nes yn gyntaf ei ſendigo,
4, 5. A Gair Duw â gweddi droſto.

*Tôſt yw gweled mor niſeilaidd,*
*Mor anneddfol, mor anweddaidd,*
*Y rhêd llawer dyn i fwytta*
*Bwyd, fel buwch y rêd ir borfa.*

*Toſtach yw eu gweld yn cwnnu,*
*Odd'ar ford, i fynd i gyſcu,*
*Fel y môch o'r trwc â ir dommen,*
*Heb roi diolch mwy nâ'r Aſſen.*

Nid oes Sôn am râs cyn bwytta,
Nac am fendith Duw gorucha,
Nac am ddiolch gwedi porthi,
Mwy nâ'r môch y fae 'n eu peſci;

Deut. 6. Er bôd Duw yn rhoi gorchymmyn,
11, 12. I bawb yn ol torri newyn,
Deut. 8. 10 Roddi moliant ar yr eitha,
Ir Duw mawr am lanw eu bola.

Gwachel fwytta ond dy ddigon,
Na fydd chwannog i ddainteithion;
*Ymborth. Mwy nâ rhaid o * ffâr llyſſeulyd,
Bair ir cnawd orchfygu 'r yſpryd.

Os rhoi ir cnawd fwy nâ'i gyfraid,
Rwyt ti 'n porthi gelyn diriaid:
Os rhoi iddo lai nâ digon,
Rwyt ti 'n lladd cydymmaith ffyddlon.

Nac ŷf ddiod tuhwnt i feſſur,
*Gronyn bach a wſnaeth nattur:*
Diod gadarn ſydd yn peri,
I wŷr nerthol gwympo deni.

Gwîn

*Gwîn a wnaeth i Noe ymnoethi,* Gen. 9. 21.
*Gwin a yrrodd Lot i ymlosci,* Gen. 19. 33
*Gwin a dorrodd Gwddwg llawer,*
*Gwin orchfygodd* Alexander.

Nâd dy ford yn fagal itti, Psa. 69. 22
Trwy lothineb câs a swrthni: Hos. 13. 6.
Rhag ir Gelyn dû dy hela,
Gablu Duw yn llawn dy fola.

Mae dau lygad yr ychedydd,
Yn eu gwaith wrth fwytta ei fwydydd;
Vn yn gweld ei ymborth hyfryd,
Llall yn gwarchod rhag y barcyd.

Bid dy lygaid ditheu 'n * waetan, **Disgwyl.*
Ddydd a nôs rhag rhwydau Satan,
Rhwn y gais â'th fwyd dy faglu,
Wrth giniawa a swpperu.

Pan bo 'r ceiliog côch yn bwytta,
Bydd ei lygaid hwnt ac ymma,
Rhag ir barcyd llwyd ei * scliffiaid, **Ddryllio.*
Tra fo e'n bwytta heb feddyliaid,

Felly bydded dy ddau lygad,
Dithe vwch dy fwyd yn gwiliad;
Vn yn canfod dy Greawdwr,
Llall yn gwarchod rhag y Temptiwr.

Gwachel fwytta dim a baro,
Ith gyd-gristion gwann dramcwyddo,
Y mae 'r Scrythur lân yn * gwrafyn, **Gwahardd.*
Id trwy fwyd dramcwyddo vn-dyn. 1 Cor 8. 13

Na châr fwytta bwyd dy hunan,
Doro ran ir tlawd a'r truan,
Galw 'r gwann i brofi 'th ginio;
Rhann â'r hwn s'eb damnaid gantho.

Ni

Ni chiniawe hên *Dobias*,
Nes cae e'r gweinaid bâch o'i gwmpas,
*Archwaetheu.* Ac ni * chorffe ddim dainteithion,
Nes rhoi rhan ir bobol dlodion.

Job 31.17 *Job* ni fwyttei fwyd yn felys,
Nes bae ymddifaid wrth ei ystlys;
Ac ni bydde iach ei galon,
Nes rhoi cyfran ir rhai tlodion.

Galw dithe 'r gweinaid tlodion,
Luc. 14. I gael cyfran o'th ddainteithion:
13,14. Felly gelwir dithe ar fyrder,
* *Sef os dyn grassol wyti.* I * gael rhan or nefol swpper.

Gwachel rwgnach ond bydd foddlon,
I beth bynnag fo Duw 'n ddanfon:
Bara a dwr oedd ffar ddigonol,
*Vchel-dadau.* Gynt ir * patriarcheid duwiol.

Dan.1.12. *Daniel* bâch a fydde foddlon,
2Bren.4. Fwytta ffa a ffacpys duon,
42,44. A holl feibion y Prophwydi,
Cymrent fara haidd iw porthi,

Pam na byddwn ninneu foddlon,
1Tim.6.8. I beth bynnag fo Duw 'n ddanfon?
Gen.18.8. Bid ef lawer, bid ef ronyn,
Trwy gael môdd i dorri'n newyn.

† *Crist mewn gwedd Angel oedd un or tri Angelion y wyttaodd gydag Abram, canys fe ai gelwir ef yn farnudd yr olldddaiar*

† Fe fu 'r *Drindod Sanctaidd* foddlon,
Wledda gydag Abram ffyddlon,
Ar gig llo, a llaeth, a menin,
Bara twym, heb fwy o 'mhoethin.

Nawr nid nês gan bob ofer-ddyn,
Er cael bwyd i dorri newyn,
Oni bae cael chwech o feigiau,
Gwin a chan i borthi chwantau,

Rhaid

Rhaid Cael ſaws, a rhaid cael ſineg,
Rhaid cael capers, Sampier, garlleg,
Cyn y gallo llawer fwytta,
Prŷd o fwyd gan ſaint oi traha † †Balchder

Y mae 'r ſaws yn awr yn coſti,
Yr oes hon mewn gwres a gwegi,
Mwy nag oedd y breiſion Seigiau,
Gynt yn coſti i'n hên Dadau.

Gynt ni cheiſie *Alexander*,
Saws un amſer gydâ'i ſwpper,
Ond y ſaws oedd yn ei gylla,
Chwant ir bwyd yn ol rhyſela.

*Cyrus* ynte fyddei foddlon,
I ſwpperu ar lan * ffynnon, *Neu afon
Lle cai ddwr i dorri ſyched,
Ef ai ſilwyr yn eu lludded.

Rhaid y nawr i bobol ofer,
Gael ei gwîn ar ginnio a ſwpper:
Rhaid cael peint neu ddau o glared,
Cyn el tammaid bwyd i wared.

Duw ro bara ir bobol dlodion,
Duw a'n gwnelo ninnau 'n foddlon,
Duw faddeuo 'n traha inni,
Duw fendithier am ein porthi

---

## *Grâs cyn bwyd.*

PORthwr mawr y pum mil gwerin,
A'r pum torth haidd, a'r ddau byſcodyn, Joan. 6.
Portha ninnau dy wael weiſion,
A'r hyn ymborth wyt ti 'n ddanfon,

A bendithia 'r bwyd a'r ddiod,
Rhwn a roddaist ymma i'n gwarchod,
Fel y gwir fendithiaist cyn hyn,
Oen y Pasc, a'r ddau byscodyn.

A rho iddynt rym i'n porthi,
1 Bren. 19. 8. Ich wasnaethu a'th addoli,
Fel y rhoddaist rym o'th wiwras,
Gynt ar deisen i *Elias*.

**Cyssuro.* A phâr iddynt i'n * cymfforddi,
Dan. 1. A'n cryshau, a'n gwir ddigoni,
†*Bwyd.* Fel y peraist ir † ffâr issel,
Ar y ffacpus borthi *Daniel*.

A nâd inni o'th ddainteithion,
Gymryd gronyn mwy nâ digon;
Ond y maint y fo 'n ein helpu,
Yn ein galwad i'th wasnaethu.

Eithr pâr inn roddi moliant,
* *Holl-alluog.* Id bôb amser am ein porthiant,
A chydnabod mae Duw *celi,
Ginio a swpper sy'n ein porthi.

---

## *Gras yn ol bwyd.*

Psal. 145. 15, 16. POrthwr grassol pob creadur,
Gwyllt a dôf, yn ôl ei nattur,
Derbyn foliant am ein porthi,
Mor ddigonol â'th ddaioni.

Er pan ddaethom o'r grôth allan,
Tydi 'n porthaist fawr a bychan:
Am dy swynder yn ein porthi,
Rym ni bawb yn diolch itti.

*Nid*

*Nid oes gennym ddwr i yfed,*
*Bara i fwytta, grym i gerdded;*
*Golen i ganfod, nerth i godi,*
*Ond y roddech Arglwydd inni.*

1 Chron. 29. 11, 12. Mat. 6. 11.

Iti Arglwydd am ein porthiant,
Am ein iechyd, am ein llwyddiant,
Am ein heddwch a'n llawenydd,
Y bo moliant yn dragywydd.

---

## *Grâs cyn bwyd.*

LLygaid pôb creadur bywiol,
Sydd yn edrych Arglwydd grasol,
Ac yn * trusto cael eu porthi,
Gennyd, Rhoddwr pôb daioni.

* *Ymddiried.*

Rwyti 'n agor dy Law rasol,
Ac yn porthi pôb peth bywiol,
Gan roi ymborth wrth ei nattur,
Yn ei brŷd i bôb creadur.

O bendithia ni dy weision,
A'r holl fwydydd, a'r dainteithion,
Y bartoist ti ar ein meder,
I'n digoni ginio a swpper.

A rho inni râs i fedru,
Bawb yn ddyfal i'th glodforu,
Am dy † garc, a'th rôdd, a'th fwynder,
Yn ein porthu ginio a swpper.

† *Gofal.*

## *Gras yn ol bwyd.*

DI lenwaist Christ ein cylla,
Ag ymborth o'r dainteithia,
Llanw eneu bawb o'th blant,
A moliant am ei bara.

Yn foethus iawn di 'n porthaist,
Yn rasol di 'n diwallaist:
Rho ini weithian râs bob cam,
I'th foli am y roddaist.

Di roddaist inni 'n Cinio,
Ac ymborth i'n * maintaenio;
Rym ni 'n rhoddi rôs a dydd,
I't foliant prûdd am dano,

*Cynnal.

Mae dlyed arnom roddi,
It' foliant am ein porthi,
*Oh! rho galon inni a chwant,*
*I roi mawr foliant itti.*

Pob bol ag wyt' yn lanw,
Clodforent byth dy enw,
A bendithient ar bob cam,
Dy fawredd am ei cadw.

---

## *Arall cyn bwyd.*

DUw dôd fendith ar ein hymborth,
Duw rho iddynt rym a chymmorth,
I'n digoni â gwir grysdwr,
I'th wasnaethu di 'n Creawdwr.

Er

*Er bôd llawer bwyd yn * ddainti;*
*Nid oes yndynt rym i'n porthi,*
*Nac i dorri dim o'n newyn,*
*Oni roi dy fendith arnyn.*

*Poethus.

O gan hynny, *Duw* bendithia,
Yr holl fwydydd a roeist ymma,
Fel y byddo † pwer yndyn,
Borthi 'n cyrph a thorri 'n Newyn.

† *Rhinwedd.*

Lle mae llawer *sort o fwydydd,
Yn troi 'n eri yn ein colydd,
Am eu cymryd yn afradlon,
Ac yn magu câs glefydion.

**Math.*

Rho di râs inn' Arglwydd sanctaidd,
Gymryd pôb bwyd yn dymheraidd,
Fel y gwnelont lessiant inni,
Ac na fagont haint na swrthni.

Rho rym ynddynt i'n cyfnerthu,
Yn ein galwad ith wasnaethu,
Ac i foli d'enw 'n wastad,
Er mwyn Jesu Grist ein Ceidwad.

---

## *Gras yn ol bwyd.*

DErbyn Arglwydd loi 'n gwefused,
Am dy ffafar a'th drugaredd,
Yn ein porthi mor ddigonol,
A'r creaduriaid sydd bresennol.

Derbyn Ddiolch ar ein dwylo,
Am roi inni gystal cinio,
Er nad ydym yn ei haeddu,
Mwy nâ'r sawl sydd yn newynu.

Rhoed pob genau ag y borthaist,
Foliant itti am y roddaist,
Ninne roddwn itt' ogoniant,
Yn dragywydd am ein porthiant,

*Grâs cyn bwyd.*

DUw mawr o'r nêf sancteiddia,
Ni oll a'r ymborth ymma,
Wyt ti 'n roddi wrth ein rhaid,
I'th blant a'th ddefaid borfa,

A phâr inni gydnabod,
Fôd pôb daioni 'n dyfod,
Oddi-wrthyd (grassol wyd)
Yn oed y bwyd a'r ddiod,

A dysc inn' bawb foliannu,
Dy enw a'th glodforu,
Am ein porthi 'n well nâ neb,
Bôb amser heb ei haeddu.

Ac er mwyn d'anwyl blentyn,
† Deisys. Yr ym ni 'n daer yn † canlyn,
Arnad roddi bara a dwr,
I'r neb sy heb swccwr ganthyn:

A rhoddi gras i ninne,
D'wsnaethu nôs a bore,
* Chwant. Nes ein dwccer lle mae 'n * blys,
† Neuadd-dy. I'th nefol † lys a'th Artre;

Lle mae gwir fwyd a diod,
Yn para byth heb ddarfod,
Yn dy blâs lle mae dy blant,
Heb arnynt chwant na thrallod.

Gras

## *Gras gwedi bwyd.*

DUw pam yr wyt ein porthi,
  Mor foethus ac mor ddeinti,
Yn wastadol heb ddim trai,
  A gadel rhai mewn tlodi?

*Pa ham yr wyt yn danfon,*
  *I ni dy waelaf weision,*
*Fwy nag sydd raid i ni ym-mhell,*
  *A gado 'n gwell yn llwmon?*

Cans yr ym yn cyffessu,
  Nad ydym neb yn haeddu,
Cael mwy swccwr ar dy law,
  Nâ'r neb sy draw 'n newynu.

Ond dy fôd ti o'th fwynder,
  A'th gariad a'th drugaredd,
Yn rhoi inni fwy ym-mhell,
  Nâ'r sawl sydd well ei buchedd:

Ar hyder y rhoem ninne,
  Fwy ddiolch byth i tithe,
Nâ'r sawl sydd mor llwm ei *ffâr,
  I'th foli ar ei glinie.

*Yn borth.

I ti gan hynny rhodder,
  O'n geneu ni bob amser;
Glôd a moliant tra ynom chwyth,
  Ar ginio byth a swpper.

## *Gras cyn swpper.*

*Wyneb-pryd.* † *Y sydd yn paratoi drosom.*

COdwn bawb ein pen a'n * ffriw,
At Grist 'rhwn yw 'n † proseier,
A chanlynwn arno e'n daer,
Roi fendith âr ein Swpper.

Mae e'n porthi pôb peth byw,
Er maint o'i rhyw a'i nifer,
Ac yn rhoi i'r rhain i gyd,
Eu bwyd mewn prŷd a themper.

*Frys.*

*Nid yw vn o Adar tô*
*Yn descyn na bô 'i swynder,*
*Yn partoi i hwn ar * hast,*
*Ei ginio, brecffast, swpper.*

† *Ofala.* * *Ei lun a'i ddelw.*

*Pa faint mwy na † charcca Duw,*
*Am ddyn rhwn yw ei * bicter,*
*A rhoi iddo' i raid bob tro,*
*Ond bwrw arno ei hyder ?*

Mae e'n rhoddi i ddyn, yn fwyd,
Y grewyd ar ei feder,
Llysse, llafyr, nifail glân,
Pysc, adar mân heb nifer.

Ni wnaeth Duw vn gene 'rioed,
Mewn tir, mewn coed, mewn dysnder,
Nes partoi ei ymborth tyn
I'r geneu cyn ei ganer.

Llawer rhyw o Nifail glân,
A physcod mân ac ader,
Y rows Duw i borthi dyn,
A'i lladd bob vn cyn bwytter.

Pam

Pam nad ystyr dynion hyn ?
  A rhoddi cyn y cymrer,
Glôd a moliant prydd bob tro,
  I'r Arglwydd ginio a swpper.

Duw agoro 'n llygaid dall,
  I weld heb * wall a rodder,
A'n geneue ar bôb cam,
  I soli am ei swynder.

*Esgeulusdra.

Clôd a moliant bôb yr awr,
  I'r Arglwydd mawr y rodder,
Am ddiwallu 'n cylla gwâg,
Ar ginio ag ar swpper.

---

## *ARALL yn ol Swpper.*

RHown foliant prydd bob âmser,
  I'r Arglwydd ginio a Swpper,
Am roi ymborth in'mor hael,
  Heb adel * ffael na phrinder.

*Diffig.

Rhown iddo Ddiolch hyfryd,
  Am dan ein bwyd a'n Jechyd,
A'n llawenydd a'i fawr râs
  In cadw i maes o ofyd.

A cheisiwn gantho'n rasol,
  Er mwyn ei fâb sancteiddiol,
Borthi 'r enaid yn ei brŷd,
  A'i air â'i yspryd nefol :

A thywallt ei fendithion,
  A'i ras yn ddyfal arnon,
Fel y gallom nôs a dydd,
  I soli 'n brydd o'r galon.

## *ARALL.*

GWyr a gwragedd, gweision, plant,
Rhown foliant am ein porthi,
*Sydd. I'r hael Dduw * s'o bryd i bryd
Yn rhoi maeth hyfryd inni.

Mae 'n diwallu pob peth byw,
Bob pryd a rhyw ddaioni,
Ac o'i law, a'i râs, a'i rôdd,
Yn rhoddi môdd i'n peri.

Mae 'n rhoi bara inni o'r ddâr,
*Dôf. A gwyllt a * gwâr i'n pesci,
Pysc o'r môr, a mel o'r graig,
A llawer saig heb enwi.

Mae e'n porthi pob rhyw gnawd,
*Psal. 147. 9 Fel yn dan sawd i costi,
Heb anghofio 'r Adar mân,
Na'r llew, na'r frân sy'n gweiddi.

Mae e'n porthi dyn yn rhin,
*Foethus. A chann a gwin yn * ddeinti,
A bwyd a rhost o lawer rhyw,
Heb neb ond Duw 'n peri.

O rhown ninne foliant prydd,
Bob nôs, bob dydd heb dewi,
*Help. I'r hael Dduw am dan ei borth *,
Sy'n rhoi 'r fath ymborth inni.

### *Gras cyn bwyd.*

DUw nâd inni fwytta o'th ddonie,
Fel y bwytty 'r môch afale,
Heb dderchafu pen na llygad,
I weld o ble maent yn dwad.

Ond

Ond pâr inni godi 'n pennc,
A chydnabod fôd y donie,
Oll yn dwad, sydd i'n porthi,
Oddi-wrthyd, Tâd goleuni.

A phâr inni foli d'enw,
Am dy fwynder yn ein llanw,
A'th fendithio yn dragywydd,
Am ein iechyd a'n llawenydd,

*Cerydd am esceulusso ceisio bendith ar, a rhoi diolch am ymborth.*

FE gwilyddia hên ddŷn bâs *, 	*Brwnt.
Ddechreu 'n henwr ddywedyd grâs,
Rheitach oedd i hwn gwilyddio,
Fôd ê cŷd heb ei † bracteio. 	† Arferid.

Na chwilyddied vn rhyw ddyn, 	Mat. 15. 36
Ddilyn arfer Christ ei hun:
Ond cwilyddied pob ofer-ddyn,
Arfer bwytta ei fwyd fel mochyn.

Fe nebydd ŷch, fe nebydd assen, 	Esay 1. 3.
Pwy yw porthwr, pwy yw perchen:
Ac y roddant ddiolch iddynt,
Yn y meder y so ganthynt.

Llawer dŷn yn waeth nâ nifel,
Ni adwaenant Ghrist eu Bugel,
Rhwn sy'n wastad yn eu porchi, 	Act. 14. 17.
A'i trwm lwytho â daioni.

Y mae 'r adar bach yn canu,
Clôd i Dduw yn ôl swpperu,
Ac yn rhoddi moliant iddo,
Nes bo * llewych i'ni gwrando. 	* Llawenydd.

Mae

Mae 'n hwy bôb vn yn ymdynnu,
Am y goreu allo ganu,
Mawl ir Arglwydd nôs a borau,
Sy'n rhoi bwyd i lanw eu boliau.

Y mae dynion hwyntau 'n tewi,
Gwedi 'r Arglwydd mawr eu porthi,
Heb roi clôd na moliant iddo,
Mwy nâ'r pysc ſ'eb lafar gantho.

*Ond da dlye 'r fâth gan hynny*
*Fôd yn vffern yn newynu,*
*Eiſie nabod Duw ei cymmorth,*
*A rhoi diolch am eu hymborth ?*

O na fydded vn rhyw Griſtion,
Yn gyffelyb ir fâth ddynion ;
*Ddi-ddiſtawrwydd Ac o byddant yn ddigwnſel *
Maent hwy'n waeth nag vn anifel.

---

*Cynghor i gyfrannu ar Anghenus, yn ol ein gallu.*

GWae 'r goludog di-doſturi,
† *Gaeo.* † Stoppo ei glûſt rhag gwrando tlodi ;
Dih. 21. 13 Fe gaiff hwnnw ddyfal grio,
* *Vffern.* Yn y * pwll heb neb i wrando.

† *Ceraint.* Pan bo'i wraig a'i blant a'i † draſſe,
Yn chwdu 'r gwîn yn hai Tafarne,
Ynte fydd mewn carchar caled,
Heb y dwr i dorri ei ſyched.

Jac. 1. 27. *Iaco* ddyweid nad oes crefydd,
Jac. 2. 14, Na chriſtnogaeth yn y cybydd,
15, 16, 17. Na ddiwallo 'r gwragedd-gweddwon,
Yn eu hadfyd, a'r rhai tlodion.

*Ifan* anwyl ynte ddywede, 1 Jo. 3.17.
O gwel carl ei frawd mewn eisie,
Ac heb roddi dim i* fwccro, *Gynnorthwyo.
Nid yw cariad Duw ddim ynddo.

*Christ* y ddywaid yr â'r camel, Mar.10.25
Trwy grau 'r nodwydd yn ddi-drafel,
Cyn yr êl y Carl goludog,
Ir nef, or bydd anrhugarog.

Christ an dodwys yn ftiwardiaid * *Goruchwylwyr.
I gyfrannu rhwng y gweiniaid,
Y da ddodwys dan ein dwylo,
Rhannwn rhyngthynt rhag ei ddigio.

Or bydd marw ûn rhag newyn,
Bydd gwaed hwnnw ar ein cobyn:
Ni all cyfoeth mawr yr holl-fyd,
Wneuthur iawn am dan ei fywyd.

*Rho dy gardod yn ddi attal,*
*Os bydd llawer, doro'n amal:*
*Os bydd 'chydig, doro ronyn,*
*Ond rho'n llawen heb ei wrafyn.*

*Doro'n firiol dy elusen,*
*Hôff gan Dduw bôb rhoddwr llawen :*
*Doro roddech yn gariadus,* 2 Cor.9.7.
*Ni fyn Christ ûn rhôdd wrthnebus,*

Er na roech ir tlawd ond cyfran,
Er mwyn Christ o'i dda ei hunan,
Mae ê 'n addo gwabar ffrwythlon, Luc. 14.
Am gyfrannu hynny i'r tlodion. 13,14.

Na ddihiria hyd y foru, Dihar.3.
Roi 'r peth allech roddi heddu: 27,28.
Rho yn rhwydd, a rho yn hawddgar,
Di-flas y fydd rhôdd ddiweddar,

*Allu. Rhown medd *Paul* tra genym * Bwer,
Gal.6 10. Gwnawn ddaioni tra cawn amser;
*Tywysog. F'all y * Monarch mwya heddu,
† Deisys. Fôd yn † begian dŵr y foru.

Roedd gan *Dises* wrth giniawa,
†Moethusaf. Lawer saig o'r bwyd † dainteithia,
Nid oedd gantho ar ei swpper,
O'r dŵr oer mewn fflam a phoethder.

Wrth frecwasta ar ddainteithion,
Ni chae *Lazar* gantho o'r briwsion,
Wrth swpperu ni chae ynte,
Ddasan dŵr er maint y grie.

Fe roi 'nawr y bŷd am lymmed,
O ddŵr oer i dorri ei syched,
*Dafn. *Pes* rhoe'r nêf ar ddaer am * ddroppyn,
†Ceisio. O'r dwr oer, nis cae er † canlyn.

Nid oes gantho o'i holl olud,
O'r dwr oer yn uffern danllyd;
Ni bydd gan y llawna ei Giste,
Foru o bossib fwy nag ynte.

F'aeth mor noeth, mor llwm oddi ymma,
Ac y daeth ir bŷd o'r cynta:
Pe cae ê'r nêf am hanner floring.
Nid oes gantho 'i phrynu or ffyrlling.

Heddyw gall y gwŷr goludog,
Rannu llawer ir newynog,
F'alle foru trwy ryw ddamwain,
Na bydd ganthynt ddim eu hunain.

Rhown gan hynny tra 'peth genym,
Ir dyn tlawd i dorri newyn;
Foru o bossib ni bydd dimme,
I gyfrannu ir mwya ei eisie.

Torr

Torr dy fara ir newynllyd, Esay. 58.
Fe fendithia Duw dy olud; 7, 8.
Ni bydd llai dy gîg i'th grochon,
Er y roddech ir rhai tlodion.

Ni bu'r weddw o *Sarepta*, 1 Bren 17
Dlottach er y gas *Elia*;
Ni bu llai ei * hoêl na'i thoesyn, *Holew.
Er rhoi teisen iddo o ronyn.

*Gwelais lawer o'r gwyr Mawrion,* Dih. 22.16
*Yn cyrwydro am dreisio 'r tlodion:*
*Ond ni welais gwedi 'm geni,*
*'Ddyn ar fê.h am helpu 'r tlodi.*

*Coegedd, † Syrthni, trawsedd, * traha,* †*Diogi.*
*Helodd lawer i gardotta:* **Gwneuthur cam, balchder.*
*Ond ni helodd rhoddi Cardod,*
*Ddyn erioed i fynd ar anffod.*

Gwyn ei fŷd medd Brenin Dafydd,
Y dyn a dynno 'r tlawd o'i gyftydd:
Duw ei hün mewn amser adfyd,
Ai tynn ynte maes o'i ofyd.

Duw a'i gwared o'i drallodion, Psal. 41.
Duw a'i ceidw rhag gelynion, 1, 2, 3.
Duw ei hûn a gweiria ei welŷ,
Pan bo clâf neb allel cyscy.

Rhowch ir tlawd eu rhaid yn echwyn,
Christ ei hûn â 'n feichie drostyn; Dih. 19. 17
Ac y dal i chwi drachefen,
Maint y roddoch wrth eu hangen.

Pwy ond Iddew brwnt * ni fentre? **Ni fyddei galonnog.*
Roi yn echwyn ir fath feichie,
Rhwn sy'n talu ar ei ganfed, Marc. 10.
I ddyledwyr eu holl ddyled. 29, 30.

Rychi

†Coelio. Rychi 'n † trysto gwaeth meichion,
*Summau, Na mâb Duw am * Swmpau mawrion:
syrnau. Trystwch Grist am grâch dippynne,
Geisio 'r tlawd, ma' ê 'n abal Meichie.

Mae ê 'n talu ar ei ganfed,
I bob Christion ei holl ddyled:
Dwl yw 'r cybydd ni all hepcor,
Dim ir tlawd am gymmaint occor.

Nid oes occor wi 'n ei nabod,
*Ennill. Fwy ei * fael nag occor cardod,
Mae 'n dwad adref ar ei chanfed,
Pan bo rheita cael ei gweled.

† Duw a râd obrwya y rhai y roddant elusennau o gariad atto ef, Mat. 10.42. ond oherwydd bôd ein gweithredoedd goreu ni yn ammherffaith, nid ydynt hwy yn haeddu bywyd tragwyddol. Esa. 64.6. Luc. 17.10 Gal. 2.16. Er hynny ble bo ffydd, y mae gweithredoedd da. Mat. 7. 17. Jac. 2. 18.

Nid oes tryssor ar y ddaeren,
Well nâ chardod ac elusen:
† Hi fydd gwell yn nydd dy ddrallod,
Nag Aur coeth ac Arian parod.

Fe dreulia 'r Aur, fe ryda 'r Arian,
Fe fwytti 'r pryfed lawnd a Sidan,
Fe lwyda 'r bwyd, fe Sura 'r ddiod,
Nid oes dim all gwaethu Cardod.

Pan llosco 'r bŷd yn wen-fflam olau,
A'r Tai, a'r tîr a'r holl dryssorau,
Fe fydd Cardod uwch-law'r † Boban, †llosefa.
Ym Haradwys yn dy * waitan. *ddisgwyl.

Pan dêl Angeu glâs i'th geisio,
Fynd ir Barr, yn noeth i † ympyro, †Ymddangos.
Goreu stôr medd Christ yw Cardod,
Ddydd y farn o flaen y Drindod.

Pan bo'r Tai a'r tîr a'r trasseu,
Gwedi 'ch ado dan law 'r Angeu,
Fe fydd Cardod yn dy ddilyn, Matc. 14. 13
Nes dy ddwyn i Lŷs y Brenin.

Mwy

Mwy o ennill sydd yn dyfod,
Ir dyn sydd yn rhoddi Cardod,
Nag ir tlawyd sydd yn ei derbyn,
Mae 'n cael llawer am y gronyn.

Fe gaiff Manna am y briwsion,
† *Aqua-Vita* am ddwr afon, † *Dwr y bywyd.*
Gwisc ddisclcirwen am hên Gadach,
Ar law Christ, a'i wir gyfeillach.

Gwna gan-hynny ffrins o'r golud, Luc. 16. 9.
Ac o'r Mammon öll sydd genyd,
Fel ith dynner ar ddydd tywyll,
Attynt i'r tragwyddol Bebyll.

Storia lle bydd dy breswylfod,
Gwerth sydd gennit, doro gardod:
Na wanftyddia fel dyn *llanas*,
Werthu tyddyn i gael Teyrnas.

Gyrr o'th flaen yn Nwrnau 'r tlodion
Dryssor, lle na speilia 'r Lladron;
Edrych beth a roddech iddyn,
O law Christ y cei ei dderbyn.

A roech i'th wraig, a'th blant a'th drase,
Dy wraig a'th blant a'th ffrins a'u pie:
Y roech i Grist, a'r tlawd, a'r truan,
† Storio 'r wyt i ti dy hunan. † *Gosod i fynu.*

Tryssora o'th flaen ir nefol Bebyll, Luc. 12. 33, 35.
Dód olew i'th Lamp, mae 'r ffordd yn dywyll,
Gwna bwrs di-draul o'r Da na dderfydd,
Mae Christ ei hun yn rhoi it rybydd.

Haua 'n amal tra cech amser, 2 Cor. 9. 6.
Fel y rhoddo Duw it bwer;
Ar ei ganfed di gei fedi,
Yn ei bryd, oni ddeffygij. Gal. 6. 9.

Torr dy sara ir newynog,
A dillhatta 'r noeth anwydog,
Esa. 58. 7. I'r cyrwydrad doro letty,
Duw ei hun sy'n erchi hynny.

Job 29.12, *Bydd yn llygaid ir rhai deillion,*
13,15,16. *Traed ir cloff, a nerth ir Gweinion,*
*Rhyscwy 'r weddw, câr dieithraid,*
*Mam a Thâd ir plant ymddifaid.*

*Cynghor i bob Penteulu i lywodraethu ei dŷ yn dduwiol.*

OS mynni fôd yn ddyn i Dduw,
Yn Gristion sanctaidd tra fech byw,
Gwna dy dŷ yn Eglwys fychan,
A'th deulu 'n dylwyth Duw ei hunan.

*Cyttûn. Gwna dy dŷ yn Demel *gyssôn,
Gwna dy dylwyth fel Angelion,
Yn eu graddau o bob galwad,
I wasnaethu Duw yn ddiwrad.

Gwna dy dŷ yn Demel sanctaidd,
I addoli Duw yn weddaidd,
Gan bob enaid a fo yndo.
Fore a hwyr yn ddi-ddeffygio.

†Feini. Dewis † fain o bobol rassol,
*Naddu. Gwedi * scwario i gŷd wrth reol,
Yn byw 'n sanctaidd ac yn gymmwys,
I adeilio dy lân Eglwys.

Nâd vn maen anghymmwys ynddi,
Nac vn drwg-ddyn ddwad iddi:
Nid rhai aflan, ond rhai cymmwys,
Y fyn Duw yn fain i Eglwys.

Tro 'r main aflan ôll oddiwrthyd,
Ni fyn Duw 'r fath feini farnllyd:
Tŷ i Grift, nid tŷ i Gythrel,
Y fydd d' Eglwys di a'th Demel.

*Ffittach ydyw pobol aflan,
Fôd yn fâin i gorlan Satan:
Ac yn danwydd vffern drift,
Nag yn fain i Eglwys Grift.

*Cymmwy fach.

Main anghymmwys, main afluniaidd,
Sy'n anffyrfio Temel *gruaidd:
Dŷn anneddfol, dŷn anefmwyth,
A bair anglod ith holl dylwyth.

*Hawdd-gar.

Na ddôd glogfain cas anghymmwys,
Heb ei *fcwario yn dy Eglwys:
Ac na ddeibyn ith dŷ deddfol,
Rai digrefydd at rai grafſol.

*Naddu.

Ni wna meini câs anghymmwys,
Ond diwreiddio † gwelydd d' Eglwys;
Na'r rhai aflan, drwg, di-grefydd,
Ond troi 'th Dŷ ai dor i fynydd.

† Muriau.

Gyrr yr aflan ffwrdd o'th Deulu,
Cyn y ceifiech Grift ith llettu:
*Ni ddaw Chrift ir lle ammherffaith,
Nes troi'n gynta 'r aflan ymmaith.

Byth ni chytfydd mewn vn Demel,
Wir blant Duw a phlant y cythrel,
Mwy na'r gwenyn bach a'r mwg,
Mor yfpryd glân a'r yfpryd drwg.

Ni thrig Brenin lle bo môch,
Brwnt ei buchedd, câs ei rhôch:
Ni thrig Chrift a'i yfpryd gwiwlan,
Yn yr vn tŷ â'r rhai aflan.

* Er bod Chrift yn dyfod at yr anuwiol i troi hwynt pan bont yn ei Hannuwioldeb etto nid yw efe yn dyfod i cyffuro hwynt, nes iddo i fanctteiddio hwynt, Jo. 14. 21. Or Datc. 3 20

Or bydd ith dŷ rai digrefydd,
Meddwon, marllyd, ac anvfydd,
Tro hwy maes, fel Dafad Glafrllyd,
Rhag Clafrio 'r faint fydd gennyd.

Gen. 21. Fel y bwrodd *Abram Ifmael*,
*Gwrthryfelwr. Ffwrdd o'i dŷ, am chwhareu 'r **Rebel* :
Felly bwrw ditheu 'r aflan,
Ffwrdd o fyfc dy Dylwyth allan.

Pfa. 101. 7. Ni adawe *Dafydd* frenin,
Wâs annuwiol yn ei gegin :
Na âd dithe ddrwg weithredwr,
Yn dy blâs nac yn dy barlwr.

Vn gwâs aflan a bair anair,
*Oneft. I lawerodd o rai * diwair :
Nâd gan hynny 'r aflan orphwys,
Yn dy dŷ nac yn dy Eglwys.

Myn rai duwiol ith wafnaethu,
Os dedwyddwch a chwhenychu :
Duw fendithia waith y duwiol,
Pan ddel aflwydd ir anneddfol.

Gwâs fel *Jofeph* Duwiol geirwir,
Y dynn bendith ar dŷ feiftir :
Jof. 7. 25. Ond y drwg-ddyn megis *Achan*,
* Nafu. All * andwyo 'r Tŷ ar Gorlan.

Or bydd gwâs crefyddol gennyd,
Duw fendithia dy hôll olud ;
*Jacob. Fel y gwnaeth ef er mwyn * *Jago*,
Gen. 30. 30. I holl olud *Laban* lwyddo.

† Addfwyn Gwell gwâs duwiol, † llariaidd, llonydd,
A dynn lwyddiant ar dy faefydd,
Nâ 'r digrefydd goreu gaffech,
A dynn aflwydd ar y feddech.

Gwell

Gwell y llwydda gorchwyl gwâs,
Diddrwg, llariaidd, llawn o râs,
Nag y llwydda gwaith anneddfol,
Gwâs digrefydd, grymmus, graddol.

F' all gwasnaethwr doeth, crefyddol,
Droi ei feistir fôd yn ddeddfol, 1Pet. 3.1,2
Fal y dichon gwraig y * Pagan, *Digred.
Droi ei gwr yn Gristion gwiwlan.

Oni cheisii bobol ddeddfol,
Ith wasnaethu yn grefyddol,
Byth ni bydd dy dŷ yn Demel,
Ond yn wâl a * glwth ir Cythrel. *Gwely.

Nid wyd nes er gweision Cryfion,
I gyflawni dy orchwylion,
Oni byddant hefyd (Clyw)
Grŷf i gwpla gorchwyl Duw.

Na fynn vn ith Dŷ a'th Drigfa,
Nes bô o Deulu 'r ffydd yn gynta;
Nac vn gwâs tra fyddech byw,
Nes bo 'n gynta 'n wâs i *Dduw.*

Ni fynn Eglwys Dduw it dderbyn,
Twrc na Phagan itti 'r Cymmun:
Na fyn dithe yn dy Deulu,
Rai digrefydd ith wasnaethu.

Ni bydd gwâs digrefydd cywir,
Nac ir Arglwydd Dduw na'i feistir:
Cans arferol ir fâth ddrwg-was,
Werthu feistir megis *Suddas.*

Cais gan hynny bobol sanctaidd,
Pobol dduwiol, pobol weddaidd,
Ith wasnaethu tra fech byw,
Or gwnei dy Dŷ, yn Eglwys Dduw.

Bydd dy hunan yn oleuni,
†Siampl. Ac yn † batrwn o ddaioni,
Ich holl bobol mewn sancte ddrwydd,
Glendid buchedd, ac oneſtrwydd.

*A rho Siampl dda i dilyn,*
*Yn y neuadd, yn y gegin,*
*Mewn gair gweithred, ac ymddygiad,*
*I bôb rhai fo'n diſgwyl arnad.*

Rhodia gydâ Duw fel *Enoc*,
*Gochel-gar. Bydd bôb amſer yn * wagelog :
Cofia fôd Duw â ſaith llygad,
Ym-mhob mann yn diſgwyl arnad.

*Gwachel ddywedyd dim nai wneuthur,*
* Cym-mwys. *Ond y fytho tra * chymmeſſur,*
*O flaen Duw a chroes y farchnad,*
*A phâr gofio hyn yn waſtad.*

*Bydd mor ſobr, bydd mor ſanctaidd,*
*Bydd mor gynnil, bydd mor weddaidd,*
†Sef, yn byw yn ol y ddeddf, ſef, cyfraith Dduw. *Bydd mor † ddeddfol, bydd mor gymmwys,*
*Yn dy Dŷ ac yn dy Eglwys.*

Y mai dlyed ar Benteulu,
Ddyſgu dylwyth wir grefyddu,
Nabod Duw, a chadw ei ddeddfau,
Credu yn Ghriſt, ai 'ddoli yn ddiau,

Gen. 18. 19. Fel y dyſcei *Abram* ebrwydd,
Bawb oi dŷ, i ofni 'r Arglwydd,
Felly dyſc dy blant ath Deulu,
I nabod Duw, a'i wir waſnaethu.

Jo. 17. 3. Dyſc dy blant, a dyſc dy bobol,
I wir nabod ei Tâd nefol,
A'r Jachawdur a ddanfonwys,
Dyma 'r ffordd ir nef yn gymmwys.

Planna

Planna gyfraith Dduw 'n wastadol,
Yng halonnau pawb o'th bobol,
Sonia am danynt hwyr a bore,
Y mewn, y maes, wrth rodio ac eiste.

Duw sy 'n erchi 'r Tadau ddangos,
Deddfau 'r Arglwydd iw hôll blantos, Deut. 6. 6, 7, 8.
Ai rhoi 'n laesau ar ei dillad,
Er mwyn Cofio gair Duw 'n wastad.

Darllain Bennod or scrythurau,
Ith holl dylwyth nôs a borau,
Pâr i bawb * repeto allont, *Ail-ad-rodd.
A byw 'n ôl y wers y ddyscont. Jac. 1. 22.

Bydd Reolwr,, bydd Offeiriad,
Bydd gynghorwr, bydd yn * ynad, *Barnwr, Jestus.
Ar dy dŷ, ac ar dy bobol,
I reoli pawb wrth reol.

Bydd Offeiriad iw cyf[illegible]yddo,
Bydd gynghorwr iw rhybyddio,
Ac i draethu 'r fengyl iddynt,
Ac i brûdd weddio drostynt.

Bydd Reolwr i * gompelo, *Gymmell.
Ac i gosbi 'r rhai droseddo,
Ac i beri pawb oth bobol,
Fyw 'n gristnogaidd ac yn † foesol. † Ag Arferion da ganthynt.

Bydd di Farnwr i gyfrannu,
Vnion farn, rhwng pawb oth deulu,
I roi tâl ir da a'r duwiol,
A dialau ir anneddfol.

Gwna di gyfraith gyfiawn gymmwys,
I reoli 'th Dŷ a'th Eglwys :
Pâr ith bobol yn ddiragraith,
Fyw yn gymmwys wrth y gyfraith.

*Dysc i bawb yn gynta ei dyled,*
*Dangos b'wedd y dylent fyned:*
*Gwedi dyscu 'r gyfraith groyw,*
*Pâr ir wialen beri ei chadw.*

Bydd â'th law, a bydd â'th lygad,
Yn llwyr ddisgwyl ar eu ymddygiad:
Nâd i neb, ar air na gweithred,
Droi ar draws heb gerydd caled.

Pâr i bawb o'th Dŷ ddiscleirio,
Megis Seren yn goleuo,
*Anrhydedd. Yn rhoi llewyrch, dysc, ac vrddas*,
I bob rhai fo 'n trigo o gwmpas.

Pâr ith Dylwyth di ragori,
Mewn duwioldeb a daioni,
Fel oedd Tylwyth *Nôe* dduwiola,
Yn rhagori 'r holl fŷd cynta.

Pâr ith wraig fôd megis Seren,
Siriol, sanctaidd, lonydd, lawen,
Yn Esampl o Sancteiddrwydd,
Mewn gair, gweithred, ac onestrwydd.

Pâr ith hôll blant fôd yn foesol,
Jer. 35 6. Yn gristnogaidd ac yn rassol,
Yn ymostwng i rhieni,
Fel plant *Rechab* yn y stori.

Pâr ith Dylwyth fôd yn ffyddlon,
Philem. 2. *adnod.* Megis Tylwyth Tŷ *Philemon*,
Rhwn y wnaeth ei Dŷ yn Eglwys,
Gan mor sanctaidd ei rheolwys.

Pâr ith bobol fyw mor gymmwys,
Yn dy Dŷ, ac yn dy Eglwys,
Ac mor sanctaidd ymmhob Cornel,
A pha baent ynghorph y Demel.

Nâd

Nâd hwy ddangos gwaeth cynheddfe,
Nâd hwy wneuthur frwntach gaſte,
Yn y Tŷ nag yn yr Eglwys,
Ond pâr iddynt fyw yn gymmwys.

Nâd hwy dorri vn gorchymmyn,
Or rhai lleia heb ei gwrafyn,
Nâd hwy ddilyn vn drwg arfer,
Heb eu Cyffro wella ar fyrder.

Nad i fawr na bychan dyngu,
Enw 'r Arglwydd mawr na'i gablu,
Na dibriſſio gwaed y Cymmod,
Heb roi dial am ei bechod.

Dih. 26.3. ac 23.13, 14. ac 13. 24.

Nâd hwy dreulio 'r Sabboth ſanctaidd,
Mewn oferedd anghriſtnogaidd,
Nac mewn * gloddeſt a phibiaeth,
Heb roi vnion gosbedigaeth.

* *Cyfeillach ofer yn bwytta ac yn yfed gormoddion.*

Nâd vn wrando 'r gair yn ofer,
Heb ei ddilyn gwedi clywer,
Ai ail gnoi a ſôn am dano,
A byw 'n ôl y wers y ddyſgo.

Nâd vn fynd y nôs i gyſgu,
Nes penlinio wrth ei wely,
Ac addoli Duw yn gynta,
Cyn y rhoddo i gorph eſmwythdra.

Nâd vn fynd y boreu allan,
At vn gorchwyl mawr na bychan,
Nes addoli Duw'n ei ſtafell,
Ar ei ddaulin heb ei gymmell.

Nâd vn daro ei law ar Arad,
Nac ar orchwyl o vn galwad,
Nes y Cotto ei law yn gynta,
Am gael Cymmorth Duw Gorucha.

Nâd vn fyned i ſhiwrneia,
Nac i forio nac i ffeira,
Nes ymbilio 'n daer a'r Arglwydd,
I ddwyn adre, yn ddi-dramcwydd.

Nâd vn arfer megis mochyn,
Fwytta ei fwyd a llanw ei growyn,
Nes bendithio 'r bwyd yn gynta,
A chydnabod Duw gorucha.

Nâd vn godi megis nifel,
Gwedi llanw ei ſola a'i ſottel,
Heb rhoi diolch prûdd a moliant,
Ir Tad nefol am ei borthiant.

Nâd fôd vn o'ch Deulu 'n eiſie,
Ar waſanaeth, nôs na bore :
Wrth waſnaethu Duw bydd * garccus,
Nas gwaſnaetho neb ê'n 'ſceulus.

*Gofalus.

Nad hwy arfer geirie lloerig,
Nac ymadrodd brwnt, llygredig,
Senn, na rheg, na llw, nac enllib,
Efrwmp, na ffroſt, na dim cyffelyb.

Dyſc dy blant, a rhwym dy bobol,
I arferu geiriau graſſol,
Geiriau baro maeth a chyſſur,
Gras ac vrddas ir gwrandawyr.

Nad hwy arfer caſte bryntion,
Nad hwy watwar pobol wirion,
Nad hwy gablu 'rhai anafus,
Na bychanu 'r tlawd goſydus.

Nad hwy * chwiffo yn y Seler,
Nad hwy feddwi ar vn amſer,
*Nad hwy † ſugno mwg y ddalen,*
*Sydd yn ſpeilio 'r bol' ar Gefen.*

* *Yfed.*
† *Pâr idd-ynt waglid gormodded o'r tobacco*

Nad

Nad hwy hoffi * ffashwn anllad,
Ar ei gwallt nac ar ei dillad:
Pâr i bôb vn fynd yn weddaidd,
Fynd yn gryno ac yn gruaidd.

*Ar y Sabboth nad hwy ir Pebill,*
*Lle mae 'r deillion yn ymgynnill,*
*Nac i dramwy ir Tafarne,*
*Lle mae 'r Diawl yn cadw ei wilie.*

Dôs ith † Eglwys blwyf y Sulie,
A'th holl Dylwyth wrth dy Sodle,
I Addoli Duw 'n gyhoeddus,
Gyda 'r dyrfa yn ddi-sceulus.

Nad ith dylwyth drigo gartre,
Amser gosber ar y Sulie,
Nad hwy † loetran ar y Sabboth,
Sawl y cwhario, || cwharien drannoeth.

Na ddôd ormodd waith anesmwyth,
Ddyddie 'r wythnos ar dy dylwyth:
* Llwa ambell awr yn llawen,
Ir deffygiol godi gefen.

Ar y Sabboth nad hwy 'n segur,
Par i bob vn chwilio 'r scrythur,
Ac i weithio gwaith Duw 'n escyd,
O flaen vn gwaith a fo gennyd.

Dysc dy dylwyth ar y Sulie,
Bôb yr vn i ganu Psalme,
Ac * ymbwngcio 'n † llon a'i gilydd,
Am air Duw a phwngciau crefydd.

Ar bôb Cinio, ar bôb Swpper,
Par i ryw vn ddarllain * Chapter,
I roi ymborth i bob Enaid,
Pan bo 'r Corph yn Cael ei gyfraid.

*Gwedd. 1 Cor. 11. 14.



†*Gwel beth a ddywedir yn y chwechedddalen ynghylch gwrando'r gair mewn plwyfe eraill, oni bydd pregeth yn dy plwyf dy hunan.*

†*Segyru, gan esceuluso addoliad Duw.*

|| *Ond gwaglent chwariaethau pechadurus.*

**Caniatâ.*

**Ymresymmu.*

†*Llawen.*

**Pennod.*

Nad

Nâd dy Dŷ, na hwyr na borau,
Heb wasanaeth a gweddiau:
Gwell ith dylwyth fôd heb swpper,
Tra fônt byw nâ bôd heb osper.

Nâd ith Eglwys fôd vn amser,
Heb wasanaeth pryd a gosper,
Nac heb * Aberth hwyr a borau,
Ir Tad nefol am ei ddoniau.

* Sef Aberth o foliant.

Nâd vn Cornel a fo ynddi,
Heb ei ddysgib o bôb brynti,
A'r ddiscybell o ddifeirwch,
Nes cael ffafar Duw a'i heddwch.

Golch ei llawr â hallton ddagrau,
Trwssia ei * gwelydd â rhinweddau:
Nad ei hallor heb dân arni,
Ac arogle mawl a gweddi.

* Muriau.

Cais dy hunan chwareu 'r ffeiriad,
Galw ar Enw Duw yn wastad:
Pâr ith bobol gydfyfyrio,
Gyda thi trech yn gweddio.

Pôb penteulu Carccus, cymmwys,
Ddlye fôd fel gwr o'r Eglwys,
Yn Cynghori, yn rhybyddio
Pawb o'i dŷ, yn orau ac allo.

A'r fath drefen sy 'n yr Eglwys,
Yn rheoli pawb yn gymmwys,
Ddlye fôd yn nhŷ pôb Christion.
I reoli 'r Tŷ a'r dynion.

Gossod vn neu ddau o'th deulu,
Fel wardeniaid ith gyd-helpu,
Gadw 'th bobol ôll wrth drefen,
Ai rheoli yn dy absen.

Rhaid

Rhaid yw disgwyl ar arferion,
Ac ymddygiad pawb o'th ddynion,
Ac ar lwybrau rhai sy'n pechu,
Fel y gallech eu ceryddu.

Nâd vn drwg-ddyn heb ei gosbi,
Yn ol messur ei ddrygioni,
Rhag i arall bechu swy swy,
Am it ffafro 'r anghymradwy.

Dyro rybydd ir Trosseddwr,
Dair gwaith, pedair, wella ei gyflwr,
Cyn ei daflu ffwrdd o'r gorlan,
*Onî wella trô fe allan.*

O bydd meddwon na bydd sobor,
Or bydd * drel na dderbyn gyngor, * *Dyn brwnt anfoesol.*
Vn digred na charo grefydd,
Tro hwy maes yn ol cael rhybydd.

Or bydd morwyn yn scoldies,
Ac heb berchi *Sara* ei meistres,
Bwrw *Hagar* o'r drws allan,
Gâd ir feistres gael ei hamcan. Gen. 16.

Nâd ith ddynion fôd yn segur,
Rho ryw * dasc i bawb i wneuthur : **Orchwyl.*
*Maeth diffrwythder, mammaeth gwradwydd,* Dieg. 10. 18.
*Yw cyd-ddwyn â † segurlydrwydd,* †*Seguryd.*

Myn weld pawb o'th blant ath deulu,
Yn mynd mewn pryd, bob nôs i gysgu :
*Arfer ddrwg yw gadel gweision,*
*Fynd i gysgu pan y mynnon.*

Pân boi 'n amser mynd i gysgu,
Cais gan Ghrist fendithio 'th deulu,
A bod arnynt oll yn geidwad,
Gwedyn cymmer di dy gennad.

A rho rybydd ith holl bobol,
*parchedig Alw ar Dduw yn * ddefosionol,
Fawr a bach, ar ben ei gliniau,
Cyn yr elont iw gwelyau.

*Ac rhag ofon i Dduw gyrchu,*
*Rhai o'u Cwsc i fynd i barnu,*
*Pâr i bôb un lwyr ymgweirio,*
*Fynd o flaen Duw cyn y cysgo.*

Os yn llynn y llywodraethu,
Dy holl dylwyth a'th holl lettu,
Duw fendithia 'th dŷ a'th dylwyth,
Ac ych gwna chwi oll yn esmwyth,

Jo.14. 23. Christ a Bresswyl yn dy demel,
Christ a'th wrendy yn dy drafel,
1Sam.2. Christ a'th dderbyn o'th lan Eglwys,
30. Ar dy ddiwedd i Baradwys.

---

## *Dyled-swydd plant iw rhieni.*

OS plentyn wyt, rho wir anrhydedd,
Ith dad, ith fam, trwy barch a mawredd;
Eph 6.2,3 Duw sy 'n erchi eu hanrhydeddu,
Os gras a hir-oês a chwennychu.

Gwna 'r peth archo dy rieni,
Praw ymmhob peth eu bodloni;
Trwy na cheisiont gennyd bechu,
Gwna bob peth y font yn synnu.

Derbyn gyngor, derbyn gerydd,
Dihar. 4.1 Derbyn gosb dy dad yn vfydd,
Derbyn ddysc pan fo'n dy * shiacço,
*Ceryddu. Derbyn bob athrawiaeth gantho.

Os

Os dwl, os dall, os poeth, os lloerig, *Lleuat-glaf.
Os anioddeſgar a dottiedig,
Y ſydd dy dad, a'th fam mewn henaint,
† Godde ei gwendid trwy ddioddeſaint. †Cyd-ddwg.

O bydd dy dad a'th fam mewn tlodi, 1 Tim. 5. 4
A chennyd tithe fodd iw peri,
Maetha 'n dirion y ddau henddyn,
Fel y maethſont dithe 'n blentyn.

Dilyn ſiampl y † Ciconia, †Mâth o Adar.
Sy 'n porthi ei dad, pan ſo ef gwanna,
Yn cweirio ei nŷth, yn ei adeino
Yn hên yn wann, heb allu cyffro.

Dilyn arfer y * Dolphiniaid, *Mâth ar byſcod.
Sy 'n porthi ei Tad a'i mam yn weinaid,
Gan eu cadw pan ſont gwanna,
Rhag ir Pyſcod mawr eu difa.

Gwradwydd mawr i feibion dynion,
Fod yn waeth na'r Adar gwylltion,
Gwaeth na'r Pyſcod mewn caledi,
Wrth y rhai rows bywyd inni.

Od wyt ŵr mawr o alwad vchel,
Ath dad yn dlawd, a'i radd yn iſſel,
Rho barch ith dad, er cuwch o'th alwad,
Anrhydedda 'th fam yn waſtad.

Er bod *Joſeph* yn rheoli Gen. 45.
Gwlad yr Aipht, a'i dad mewn tlodi,
Fe wnae *Joſeph* fawr anrhydedd,
Idd i dad er maint o'i waeledd.

Er bod *Solomon* yn frenin,
Ar ei orſedd yn gyffredin, 1 Bren. 2.
Fe ddiſcynne oddiar ei orſedd,
I berchi fam â mawr anrhydedd.

Er

Er bod *Christ* yn Dduw, yn ddŷn,
Luc. 2. 51. Yn uwch nâ neb, yn well nag vn,
Fe barche ei fam, fe barche ei dadmaeth,
Fe fydde vfydd iw hathrawiaeth.

Byd faet ti *Duwc*, nid llai dy ddlyed,
I berchi 'th Dâd a'th fam er tlotted,
Ni ry 'chelfraint rydd-did itti,
*Leihau. * Leufy 'th ddlyed ith rieni.

*Mae 'th Dâd yn Dâd, pyt fae ef cobler,*
*A thitheu 'n fâb, pyt faet ti Scwier:*
*Tra fech di 'n fâb, mae Duw 'n dy rwymo,*
*Roi parch ith Dâd, pwy bynna fytho.*

Pan oeddyd wann heb fedru cwnnu,
Heb fwyd i gnoi, heb laeth i Lyngcu,
Heb glwtt ith gylch, dy fam a'th helpodd;
Pa dâl y roi ir hon ath fagodd?

Yn hîr hi'th ddygodd dan ei gwregis,
Ai gwaed hi'th borthodd yno nawmis,
Ai llaeth hi'th olchodd o'th holl frynti,
Pa dâl pwyth y wnai di iddi?

Yn glâf hi geifiodd dy ddiddanu,
Lawer nôs, gan golli ei chyfcu,
Gan dy lwlan rhwng ei breiche,
Pan baet ti ar dorri 'n rhenge.

Rhô anrhydedd prûdd gan hynny,
Ith rieni am dy fagu:
Nâd wâll arnynt hyd dy farw,
Tro gwerth ceiniog yn dy helw.

Y parch, a'r bri, a'r bwyd, a'r trwffiad,
†Blinderus. A roech ith dâd yn henwr ingnad †,
Y ry dy fâb i'titheu 'n henddyn,
Wrth vnion farn, cyn dêl dy derfyn.

Y

Y garthen rawn y fu ar wely,
Dy dâd wrth orwedd yn y beudy,
Y geidw'th fâb i tithe orwedd,
Ar y daflod cyn dy ddiwedd.

Y messur cwtta 'rhwn y roddech, Luc. 6. 38.
A roddir itti pan heneiddiech:
*Yr ŵyr y ddial medd y wlâd,*
*Y messur bach y roech ith dâd.*

Bydd gan hynny hael a serchog,
Rhwydd, a thirion, a thrugarog,
Wrth dy dâd ath fam mewn henaint,
Fel y caffech ditheu 'r cymmaint.

*Na ddôs fel Esau i Briodi,* Gen. 26.
*Heb gael cennad dy rieni:* 34, 35.
*Odid i Dduw 'rioed fendithio,*
*'R fath briodas wyllt, na'i llwyddo.*

Os anweddus yw'th Rieni,
Nid oes itti o'u amherchi,
Na'i bychanu hyd eu diwedd,
Ond gweddio am wella ei buchedd.

Cham am watwar Noah ei dâd, Gen. 9. 25.
Drwm felldithiwyd yn ei hâd;
Ar felldith hon, s'eb fyned etto, *Pobl
O grwyn y * Mŵrs y ddaeth o hano. dduon eu crwyn.

*Absolom* dêg y fu anufydd, 2 Sam. 18. 9
A thraws iw dâd, hen frenin *Dafydd,*
Duw a'i crogodd wrth ei * locsen, *Cydynne gwallt.
Am ei drawsedd wrth frig derwen.

Parcha 'th dâd ath fam gan hynny,
Helpa 'r ddau pan fônt yn ffaely:
Felly hestyn Duw dy ddyddie,
Yn y tir lle bo dy dreigle,

Pa

*Pa bethau a ddlye ddyn fyfyrio arnynt ar y Sabboth wrth fyned ir Eglwys, a pha fôdd y mae iddo ymddwyn ei hun yno.*

CYn dy fynd ir llann, wrth gerdded,
Meddwl i ble rwyt ti 'n myned ?
O flaen pwy ? ac i ba bwrpas?
A dôs gwedyn iddi 'n addas.

Rwyti ti 'n mynd i † Dŷ 'r Gorucha,
O flaen Duw yr Emprwr mwya,
I chwedleua ar dy ddau-lin,
A'th Greawdwr ac a'th Frenin.

Rwyt ti 'n mynd i lys *Jehoſa*,
I gael clywed Duw Gorucha,
Yn ymddiddan a thi 'n hyfryd,
Dêg a thêg o air y bywyd.

Rwyt ti 'n mynd yn brûdd i adde,
O flaen Duw dy holl gamwedde,
Ac i ddeiſyf ei drugaredd,
Gras a grym i wella 'th fuchedd.

Rwyt ti 'n mynd i geiſio * pardwn,
Nawdd, a gras, ac † abſolusion,
Gan dy Ghriſt, trwy enau'r ffeiriad,
Am dy bechod a'th gam'ddygiad,

Rwyt ti 'n mynd i lwyr weddio,
Ar yr Arglwydd mawr ſy'n addo,
Rhoi ini bob peth ſydd anghenrhaid,
At y corph ac at yr enaid. *Pſal.* 34.10.

Rwyt ti 'n myned i fendithio
Duw am bob dawn y geiſt gantho,
Ac i roddi ir gorucha,
Glod a moliant gyda 'r dyrſa, *Pſal.* 95.2,6.

*†Gwir Dy Dduw yw ei bobl.* Heb.3.6. *Ac ni ellir yn nyddiau 'r efengyl alw vn lle wrth yr enw hynny, ond yn vnig trwy 'r phigiwr metonymia trwy ba un y rhoddir enw y peth y gynnwyſir, ir lle ag ſydd yn cynnwys y peth hynny ynddo.*

*Maddeuant.

*†Rhyddhad. Rhan o ſwydd gweinidog yw cyhoeddi maddeuant ir credadyn edifeiriol, ac nid i neb arall.* Luc.24.47 Eſay.55.7 Jo.20.23. Eſa. 57.21

Rwyt

Rwyt ti 'n mynd i wrando 'n hyfryd
Fengyl Ghrist, a gair y bywyd,
Gwllys Duw, a'i gyfraith sanctaidd,
Ith gyfrwyddo fyw'n gristnogaidd.

Rwyt ti'n mynd i geisio cyfran, Num. 6.
O hael fendith Duw ei hunan, 23, &c.
Ich rwyddhau y ffordd y cerddech,
Ac i lwyddo 'r hyn a wnelech.

Dôs gan hynny trwy lawenydd, Psa. 100. 2
I dŷ Dduw â dirfawr awydd,
A hiraetha am fynd yno, Psal. 41. 1.
Fel yr hŷdd am ddyfroedd *Silo*.

Dôs yn llawen, dôs yn siriol,
Dôs yn eon, dôs yn foesol,
Dôs yn fuan, dos yn fore,
Dôs i dŷ Dduw ar dy linie.

Dôs ir eglwys gydâ 'r cynta,
Aros yndi gydâ 'r ola:
Tra fech yno, na fydd segur,
Gweithia waith dy Dduw yn brysur.

Na fydd segur yn nhŷ Dduw, Preg. 9. 10
Gweithia ei waith yn brudd trech byw:
Melldigedig yw'r dyn gwallys, Jer. 48. 10.
A wnel gwaith ei Dduw yn sceulus.

Cwymp yn issel ar dy ddau-lin,
Llef yn eiriol ar dy Frenin,
Prûdd weddia â'ch holl galon, Jer. 29 13.
Na ragrithia or dwyd gristion. Mat. 15. 7, 8.

Gwrando 'r gair yn dra awyddus,
Derbyn hwn ir galon garccus:
Nâd ir brain a'r fall i scliffied, Dih. 5 1.
Nes ei ffrwytho ar ei ganfed. Ps. 119. 11 Mat. 13 23

R Gwachel

 *Gwachel edrych hwnt ac ymma,*
*Gwachel gyscu na chwedleua :*
*Ond gwna naill ai prudd weddio,*
*Gwrando 'r gair, a mynd oddiyno.*

Ni all Duw yr union Farnwr,
Aros edrych ar ragrithiwr,
Y fo 'n cymryd arno 'ddoli,
Ac heb wneuthur hyn o ddifri.

Pan gweddio 'r gŵr eglwysig,
*†Sef yn dy galon.* † Cyd-weddia ag ê 'n * ystig,
Air yng air o'r dechre ir diwedd,
**Yn ddyfal* Mewn cyfundeb a chynghanedd.

*Pan pregethir yr efengyl,*
Rhuf. 1. 16 *Gwachel droi at hon dy wegyl :*
*Gallu Duw yw 'r fengyl helaeth,*
*Sydd yn gweithio 'n iechydwriaeth.*

Luc. 4. 20. Craffa 'n fanol ar y ffeiriad,
Tro 'n pregethu a'th ddau lygad ;
Cadw ei eiriau yn dy galon,
A chais ddilyn ei gynghorion.

Luc. 10. 16 Cymmer bob gair ag y ddywetto,
Megis Cyngor i'th rybyddio,
O bûr † enau Christ ei hunan,
I fyw 'n weddaidd yn ei oian.

*† Mae Christ yn llefaru trwy 'r Gweini-dog; pan mae efe yn llefaru pe-thau cytun â'r scry-thyrau.*

Na ddôs adref heb ystyriaeth,
Nes cael diwedd y gwasanaeth :
Ac na chytcam dan boen melldith,
Fynd y maes nes cael y fendith.

*Bid d'ymddygiad yn yr Eglwys,*
*Yn gristnogaidd ac yn gymmwys,*
Esa. 8. 20. *Megis yng-wydd Duw ei hunan,*
*A'i Angelion fawr a bychan.*

Cynghor

*Cyngbor i ymbaratoi cyn dyfod i addoli 'n gyboeddus.*

TYnn dy 'scidiau, golch dy ddillad,
Ymsancteiddia, cyn dy ddwad,
I dŷ 'r Arglwydd i addoli,
O flaen gorsedd tâd goleuni.

Cyffro d' yspryd, cwyn dy galon,
Dring ir mynydd uwch daerolion,
Gwêl yr hwn sydd anweledig,
Cyn ynganech wrtho orig.

Cyn y delech o flaen Duw,
Meddwl byth mai Brenin yw:
Ac na ddere at dy frenin,
Nes y delech ar dy ddau-lin.

Brenin nefoedd, Tâd Angelion,
Creuwr Daiar, Barnwr dynion,
Duw 'r diale, Tâd goleuni,
Wyt ti ar feder i addoli.

Dere 'n barchus, dere 'n barod,
Dere 'n brûdd o flaen y Drindod,
Dere 'n sanctaidd, dere 'n ffyddlon:
Di gei d' arch wrth fôdd dy galon.

Côd dy olwg, tann dy ddwylo,
Plŷg dy ddau-lin, gostwng iddo,
Cûr dy ddwyfron, bydd edifar,
Addeu 'th bechod, cais ei ffafar.

Galw ar y Tâd yn danllyd,
Yn enw 'r mâb, trwy nerth yr yspryd,
Cais ei deyrnas a'i gyfiawnder,
Di gei 'r cwbwl yn ddi-bringder.

Cais ogoniant Duw yn benna,
Cais nefolion bethau nessa,
Cais ei rás yn dra awyddys,
Cais dy raid os bydd ei 'wllys.

Cyn dy fynd i ddrws yr eglwys,
Preg. 5. 1. Edrych fod dy droed yn gymmwys:
Bwrw heibio draws feddylie,
A gâd fydol fwriad gartre.

Gen. 22. 5. *Abram* ffyddlon cyn addole,
Rwymeu assen yn yr Hendre:
Felly dlye bob dyn rwymo,
Traws feddyliau cyn gweddio.

Exod. 3. 5 *Moesen* hyfryd cyn y dewe,
O flaen Duw fe dynnei scidie:
*O tynn dithe dy fydolrwydd,*
*Cyn y doech o flaen dy Arglwydd.*

Gen. 41. 14 *Joseph* ynte fynne ymgweirio,
Cyn ymddangos o flaen *Pharo*:
† *Yn lân.* Felly ymgweiria dithe 'n syw †,
Cyn ymddangos o flaen Duw.

*Hester* dduwiol hithe ymolchwys,
Cyn mynd o flaen *Ahasuerus*:
Ymolch dithe o'th ddrygioni,
Cyn rhoech o flaen Duw dy weddi.

† *Cynnulleidfa gristnogaidd yw ty Dduw,* Heb. 3. 6.

Pan y delech i † dy Dduw,
Gwêl mor hoff, mor hawddgar yw:
A phan delech, dere 'n chwarian,
Mewn anrhydedd, parch ac ofan.

Cwymp yn issel ar dy ddau-lin,
Yn ei lŷs o flaen dy Frenin:
Ac nac yngan air o'th ene,
Nes ymostwng ar dy linie.

Ni ry neb o'r ſainct *triumphant, *Yn gorfoleddu.
Yn y nêf ir Arglwydd foliant,
Nes y tynnont eu Coronau, Dat.4.10.
Ac ymoſtwng ar eu gliniau.

Pam y cytcam llŵch a llydy,
Ddwad o'i flaen heb ymgrymmu ?
Pan y delont i weddio,
Ac i feggian pardwn gantho.

*Chriſt* ein Meiſtir ſe 'moſtwnge, Mat. 26. 39.
Ar ei wyneb pan gweddie,
Braidd y goſtwng rhai o'r gweiſion,
Un o'i glinie pan gweddion.

*Iago* fwya gynt addole
Griſt mor ddyfal ar ei linie,
Nes caledi yn y demel,
Groen pôb glin fel Carn y camel.

*Moeſen*, *Aaron*, *Joſua*, *Samuel*,
*Dafydd*, *Selef*, *Joas*, *Daniel*,
A'r holl Sainct ſy 'n rhoi goleuni,
Inni ar linie brûdd addoli.

Gwedi cwympech ar dy ddau-lin,
Mewn mawr barch o flaen dy Frenin,
Yſtyr beth trwy brûdd ſyfyrio,
Sy'n dy fryd i ddywedyd wrtho. Pſal.5. 1.

*Daniel* raſſol y ſyfyrie,
O flaen Brenin cyn llefare,
Dithe ddylyd brûdd ſyfyrio,
O flaen Duw cyn yngan wrtho. Dan 4.19.

Yn ol yſtyr beth a ddywedech,
Cûr dy ddwyfron ,cyn gweddiech,
A chydnebydd d' annheilyngdod,
A chais bardwn am dy bechod.

Llef o'i flaen â chalon bryssur,
Duw bydd rassol im bechadur,
Sy 'n annheilwng edrych arnad,
Chwaethach derbyn sy nymuniad.

Hael yw Duw ir sawl a'i ceisiant,
Rhwydd yn rhoi ir rhai ofynnant,
Rhoi i bawb heb ddim dannodiaeth,
Yn rhwydd ei rhaid yn daran helaeth.

Y peth a geisiech, cais trwy ffydd,
Na chymmer ball ond * beggia 'n brŷdd ; *Cais.
Nac amme dderbyn 'rhyn a geisiech,
O ceisii 'n daer di gei ofynnech.

Nac amme 'wllys da dy Dâd,
Na gallu Duw, sy'n rhoi mor rhâd :
Duw galluog, Tâd gwllysgar,
Helpwr rhwydd yw 'n Harglwydd hygar.

*Gweddi 'r hwn sy'n myned i addoli Duw 'n gyhoeddys.*

DUw trugarog, Tâd goleuni,
Rhoddwr grâs a phôb daioni,
Er mwyn Christ clyw weddi † eiriol, †Vn yn ymbil.
Un o'th blant dros bawb o'th bobol.

Rym ni heddyw yn ymgynnyll,
I'th addoli yn dy bebyll :
Duw rho allu in' a meder,
I'th addoli fel y * dirper. *Dylem.

A bendithia di'n cyfarfod,
A chyfrwydda ein myfyrdod :
A dôd † awen yn ein calon, †Awydd.
I'th addoli, bawb yn ffyddlon.

Gwna

Gwna ni 'n addas ac yn weddaidd,
I glodfori d'enw ſanctaidd,
Gwna ni 'n barod, ac yn † garcus, † Goſalus.
Bawb i wrando d'air yn barchus.

Duw paratôa di'n calonnau,
Chriſt ſancteiddia di 'n meddyliau,
Awcha 'n * zêl, chwanega 'n hawydd, * Awydd-fryd.
I'th addoli mewn gwir grefydd.

Cwyn y galon, deffro 'r yſpryd,
Nynn â'th râs ein hawen oerllyd,
*Setla 'r meddwl, dyſc y genau, * Seſydla.
I'th glodfori am dy ddoniau.

Tynn oddi wrthym draws fwriadau,
Nâd i'r rhain ŵyr-droi 'n meddyliau,
Pâr in'wrando d'air yn fuddiol,
A gweddio 'n * ddefoſionol. * Parchus.

O cyfrwdda â'th lân yſpryd,
Ni weddio bawb yn danllyd,
Fal y caffom gennyd wrando,
A rhoi inni ſôm yn geiſio.

Dôd dy fyſſedd yn ein cluſtiau,
Pâr in' wrando d'air yn olau;
A rho feder i bôb calon,
I ddeallu hwn yn union.

Gwedi deall hwn a'i gofio,
Duw rho gymmorth ei * bracteiſio, * Arferid.
A'i wir ddilyn yn awyddus,
Nes y dwcco ffrwyth † toreuthus. † Helaeth.

Duw bendithia di 'n pregethwr,
Rho 'ddo ddeall, grâs a chryfdwr,
I bregethu gair y bywyd, 2 Theſſ. 3. 1.
Inni 'n bûr o'th 'ſengyl hyfryd.

Gole'i feddwl a'i fyfyrdod,
Nynn ei galon, dyfc ei dafod,
*Ddosbarthu. Nertha i * barthu 'r gair yn fedrys,
Inni bawb yn ôl dy 'wllys.

Nertha e'in tynnu o'r tywyllwch,
Act.26.18 I'r goleuni a'r diddanwch,
O gorlannau tywyll Satan,
I wir deyrnas Chrift a'i gorlan.

Gwna ei athrawiaeth inni 'n rymmus,
Gwna ini ddilyn yn awyddus;
Gwna ini bawb i garu ynte,
Heb.13.17 Lle mae 'n gwiliad ein eneidie.

Duw bendithia ef a ninne,
Duw fancteiddia di 'n calonne,
Duw rho râs a meder inni,
Bawb yn bryfiur dy addoli.

---

*Paratoad i'r cymmun.*

POb rhyw Griftion ag y garo,
Ddyfcu 'r môdd y mae ymgweirio,
Mynd yn lân i ford yr Arglwydd,
Dyfced hyn o werfeu 'n ebrwydd.

*Yn byrrbwyll. Cyn yr elych * rhwp ir Cymmun,
Yftyr ble yr wyt ti 'n rofyn,
A pha beth yr wyt ti ar feder,
*Dderbyn. I * recefo yn y fwpper?

†Pennaeth Nid i ford rhyw † Emprwr llidiog,
Ond i ford yr holl-Alluog,
Rwyt ti 'n rofyn mynd i fwytta,
Bwyd fydd gan mil gwell nâ Manna.

Gwell

Gwell nâ Manna os fel Christion, Jo 6. 49,
Y derbynni hwn yn ffyddlon : 50.
Gwaeth nâ gwenwyn os trwy anras, 1 Cor. 11.
Y derbynni hwn fel *Suddas*. 29.

Meddwl ditheu am ei dderbyn,
Yn gristnogaidd fel y perthyn,
Mewn sancteiddrwydd, ffydd, a gobaith,
Glendid pur, a chariad perffaith.

Gwachel redeg yn amharod,
I ford Christ yn llawn o bechod,
Rhag it dderbyn barnedigaeth
Lle caiff eraill Jechydwriaeth.

Cofia 'n garcus, * pwy sancteiddrwydd, * *Pa.*
Pwy ymgweirio, pwy barodrwydd, Exod. 12.
Gynt osododd Duw ar dâsc,
Cyn cae Israel fwytta 'r Pâsc?

Cofia hefyd pwy ymolchi,
Pwy lanhau a phwy syberwi, Joan 13.
Y wnaeth Christ â'i ddwylo tyner, 4, 5.
Ar ei Saint cyn * tasto'i swpper. * Profi.

O na ddere ditheu 'n sarnllyd,
Yn dy rŵd a'th bechod drewllyd,
I ford Christ heb lwyr ymolchi,
O'th holl feiau a'th holl frynti.

Bwrw lefein pob rhyw bechod, 1 Cor. 5.
Llid, cynfigen, malis, meddwdod, 7, 8.
Rhyfig, ffalstedd, ffwrdd o'th galon,
Ni thrig Christ y man lle byddon,

Cofia fel y * hentrodd Satan, * *Aeth i*
Gynt yn *Suddas* fradwr aflan, *mewn.*
Yn ôl iddo fwytta 'r tammaid, Jo. 13 27.
Yn ei bechod brwnt mor embaid.

Gwachel

Gwachel ditheu rhag digwyddo,
Y fath beth yr eilchwaith etto,
Os ti ddoe i ford yr Arglwydd,
Yn d'aflendid heb barodrwydd.

1Cor. 11. Cofia ir Corinthiaid feirw,
30. A nychu 'n hir, o'r gwres a'r gwayw,
O waith mynd yn amharodol,
Llwyr ei pen ir Bwrdd ſancteiddiol.

Gwachel ditheu fynd yn rhwyſcus,
Ir ford hon heb ofan parchus,
Heb yſtyried beth ſydd arni,
Rhag dy farw yn dy frynti.

1 Cor. 11. Hola dy hun a myn wybod,
28,31. Wyt ti 'n difar am dy bechod,
Ac oes gennyd ffydd a gobaith,
Calon lân a chariad perffaith?

Barna dy hun yn ddiweniaith,
Fel na farno Duw di 'r eilwaith;
Ac lle gwelych ddim yn eiſie,
Cais gan Ghriſt ei roi neu faddc.

*Pedwar peth ſydd angenrheidiol,*
*Ir rhai fynn cymmuno 'n ddeddfol,*
(1) *Ffydd griſtnogaidd*, (2) *gwir ddifeirwch*,
(3) *Cariad perffaith*, (4) *diolchgarwch*.

Nid oes llûn bôd heb y lleia,
O'r rhai hyn cyn mynd i fwytta:
A'r neb êl ir ſwpper hebddyn,
Ni chaiff lês oddiwrth y cymmun.

1. *Ffydd*. Ffydd ſydd gynta 'n angenrheidiol,
I gredu i Ghriſt roi hun yn hollol,
Ar y groes i farw droſſom,
Am y pechod ôll y wnaethom.

Ffydd

Ffydd sy'n cyrraedd ffrwyth y pardwn,
Y bwrcasodd Christ trwy * bassiwn, *Ddioddefaint.
Ac yn derbyn ar y swpper,
Grist ei hun a'i holl gyfiawnder.

*Nid yw Christ yn fwyd ir bola,*
*I gnoi â dant ai roi ir cylla:* Jo.6.35.
*Bwyd yw Christ i borthi'r enaid,*
*Yn ysprydol trwy ffydd dambaid.*

Ni all neb fwynhau 'n ysprydol
Christ, a'i waed, a'i gorph sancteiddiol,
Ond yn vnig trwy ffydd rymmus, Eph.3.17.
Ddel o galon edifarus.

Mae 'r Efengyl inni 'n dangos, 1 Pet.3.22
Fôd Christ yn y nêf yn aros; Act.3. 20, 21.
Ac na ddichon vn dyn cnawdol, Jo.6. 63.
Fwytta Christ, ond yn ysprydol.

Ffydd gan hynny sydd anghenrhaid,
I gyrraedd Christ i borthi 'r Enaid,
Ac i † ddercha 'r galon atto, †Dderchafu.
O myn Enaid borthi arno.

Bwyd ir Enaid, bwyd ir galon,
Bwyd yw Christ ir meddwl ffyddlon,
Bwyd i gymryd trwy ffydd fywiol,
Bwyd i fwytta yn ysprydol.

Pan bo 'r corph yn cymryd bara, Luc.22.19
Yn y Cymmun er ei goffa,
Cwyn dy galon y pryd hynny,
A thrwy ffydd mwynhâ Grist Jesu.

*Nessa at ffydd rhaid edifeirwch,* 2 Edifeirwch.
*Am bôb pechod trwy ddyfalwch,*
*A llwyr fwriad gwella beunydd,*
*Troi at Dduw mewn buchedd newydd.*

Edifara

Edifara o ddyfnder calon,
Am bob bai trwy ddagrau hallton,
Ac na ddere i ford yr Arglwydd,
Nes difaru rhag cael tramcwydd.

Golch dy faril, carth dy waddod,
Na ddôd wîn mewn * Casc o bechod,
Rhag ir gwîn mewn llester aflan,
Dorri 'r casc a rhedeg allan.

* *Llester neu faril.*

Ni thrig Duw, na'r Oen, na'r Glommen,
Lle bo pechod a chynfigen:
Golch gan hynny 'n lân dy lester,
Or derbynni Grist na'i swpper.

Chwd dy feddwdod, cladd dy frynti,
Gâd dy faswedd brwnt a'th wegi,
Attal nwyfiant, ffrwyna nattur,
Gwella 'th fuchedd, na fydd segur.

Golch dy ddwylo mewn gwiriondeb,
2 Cor.7.1 Golch dy feddwl mewn duwioldeb,
Golch mewn cariad ben a chynffon,
Os derbynni Grist ith galon.

*Sacramentum requirit Sacram mentem. Sancta, Sancte, Sanctis.*

Câr gyfiawnder, dilyn sobrwydd,
Arfer lendid a sancteiddrwydd,
Gwisc am danad gariad perffaith,
Nâd vn bai dy nyrddo 'r eilwaith.

Nid oes rhoi i Gŵn o'r pethe sanctaidd,
Mat.7.6. Na'r gwerthfawr berls ir moch angrhuaidd,
Na'r Manna gwynn mewn halog grochan,
Na chymmun Christ mewn cylla aflan.

Heb. 9.4. Mewn Pott o aûr y dodir Manna,
Mat. 27. 59. A chelain Christ mewn crûs or meina,
A'r gwîn o'r Grâp * mewn baril † gruaidd,
Ar Cymmun hwn mewn Calon sanctaidd.

* *Grawn.* † *Lân.*

Y trydydd peth sy'n rhaid ei geisio, 3 *Cariad.*
Yw cariad perffaith cyn * recefo, * *Derbyn.*
Heb ddwyn meddwl drwg at vn dyn,
Pell, nac agos, câr na gelyn.

Cariad ydyw 'r † arwms tirion, † *Nodau.*
Sydd gan Grist ar * lifreu weision : * *Wiscia-dau.*
Ac wrth gariad yr adwaenir, Jo. 13.35.
Defaid Christ oddiwrth y geifir.

Nid yw Christ yn derbyn vn-dyn,
I swynhau ef yn y cymmun,
Ond yr hwn y fo 'n ddiragraith,
A phôb dyn mewn cariad perffaith.

Pyt fae gennyd fil o ddoniau, 1 Cor. 13. 1, 2, 3.
A bod cariad i ti 'n eisiau,
Nid wyt deilwng byth i ddwad,
I ford Crist heb berffaith gariad.

*Câr gan hynny dy gymdogion,* Mat. 5.24, 44.
*Maddeu 'n rhwydd i'th holl elynion,*
*Ac or gwnaethost gam ag vndyn,*
*Cymmod cyn bwytteuch y cymmun.*

Gwachel ddwad yn ddigofus,
I ford Christ mewn llid a malis ;
Rhag i Satan fynd i'th gylla,
Gydâ 'r tammaid gwedi fwytta.

Dysc di gan y neidir dorchog,
Chwdu maes dy wenwyn llidiog,
Cyn dy fynd ir ford yn llawen,
Rhag i'th falis ladd ei pherchen.

Y neidir fraith medd rhai a'i gwalas,
Fwrw ei gwenwyn ar y gamlas,
Cyn y hyfoi ddwr o'r afon,
Rhag ir gwenwyn dorri chalon.

Bwrw

Bwrw dithe dy lîd allan,
A'th ddrwg feddwl, a'th draws amcan,
A'th holl falis, a'th genfigen,
*Nasu. Rhag ir rhain * andwyo ei perchen.

Or bydd gennyd y tri ymma,
(1.) *Ffydd*, (2.) *difeirwch*, (3.) cariad: coda,
Dere ir cymmun, mae i ti resso,
Christ ei hun sy'n d' alw atto.

*Myfyrdod wrth fyny-fro 'r cymmum a'i dderbyn.*

Pan y gwelych dorri 'r bara,
A thywalltu 'r gwîn ir cwppa,
Cofia fel y torre 'r wayw-ffon,
Gorph dy Grist nes gwaedu ei galon.

Jo. 19.34.

Pan derbynnech o law 'r ffeiriad,
Fara a gwin yn ol cyssygrad,
Derbyn Ghrist trwy ffydd i'th galon,
Portha d' Enaid arno 'n ffyddlon.

Quid paras dentē et ventrē?

Nid â dannedd y mae bwytta,
Christ yn gnawdol a'i roi 'r bola,
Ond trwy ffydd y mae 'n ysprydol,
Fwytta Christ â'r galon fywiol.

Crede & manducasti. Eph. 3.17. *Nolite parare fauces sed cor*

Côd dy galon, dring ir nefodd,
Edrych ar yr hwn a'th brynodd,
*Cofia faint y wnaeth ef erod,*
*Pan croes-hoeliwyd am dy bechod,*

Sursum corda.

Cred i Ghrist ar groes a'i hoelion,
Offrwm drossod waed ei galon,
A phwrcassu bywyd itti,
Rwyt ti 'n bwytta Christ o ddifri.

**Pa ddaioni y gaer o dderbyn y cymmun yn deilwng.*

Or gofynni * pwy ddaioni,
Ddyru Christ o'r swpper itti,
Pan derbynnech hi 'n gristnogaidd,
Mewn gwir ffydd a chariad perffaidd?

Mae

Mae 'n rhoi itti gyflawn bardwn, Mat.26.28
O'th holl bechod * absoluwsiwn, *Rhydd-
Gwedi 'r Brenin mawr ei selu, had.
A gwaed gwerthfawr calon Jesu.

Mae 'n Rhoi Pardwn, mae 'n rhoi bywyd, Joan 6.51.
Mae 'n rhoi Comffordd, mae'n rhoi iechyd, 1 Cor. 10.
Mae 'n rhoi yspryd glân a'i ddoniau, 16.
Mae 'n rhoi 'hun a'i holl rinweddau.

Mae 'n dy wneuthur di 'n gyfrannog,
Oi holl ddoniau mawr galluog,
Ac mewn yspryd mae ê'n trigo,
Yn dy galon byth † tro ganto. †Trafo ef.

Mae ê'n porthi d' Enaid egwan, Joan 6.
A'i wir gorph â'i waed ei hunan, 55,56.
Ac yn rhoddi nefol yspryd, Eph.1.13,
Itti 'n * ernest o'r gwir fywyd. 14. *Yn wystl.

O bwy ddyled mawr sydd arnad, 4. Diolch:
I foliannu Christ yn wastad,
Am dy wneuthur yn gyfrannog,
Or fâth swpper fawr gyfoethog.

A phwy daliad sy'n dy bwer,
I roi iddo am ei fwynder,
Felly 'n porthi d' Enaid aflan,
Ai wir waed â'i gnawd ei hunan.

Na fydd dithe mor nifeilaidd,
A mynd o'r llan yn anweddaidd,
Nes rhoi clôd a moliant iddo,
Am yr ymborth y gest gantho.

*Christ ni fwyttei fara barlish,*
*Chwaethach bwyd oedd well ei * relish,* *Flas.
*Heb roi moliant mawr am dano,*
*I dâd nefol heb anghofio.*

Pwy

†Pa. *†Pwy faint mwy na ddylyt tithe,*
*Fwytta Christ y penna or seigie,*
*Heb roi diolch i'r Duw cyfion,*
*Am ei fâb o ddyfnder calon.*

A gwawdd nêf a dâer a dynion,
Seraphiniaid ac Angelion,
Ith gyd-helpu foli 'r Arglwydd,
Am ei gariad a'i gredigrwydd.

---

*Gweddi cyn derbyn y cymmun.*

ARglwydd grassol rhwn y roddaist,
Jesu Grist y mwya geraist,
'Fôd yn * ransẃm dros ein beiau, *Brid-werth.
Ac yn ymborth i'n eneidiau;

Dyro râs i minnau 'n sanctaidd,
Ymbartoi fel Cristion gweddaidd,
'Dderbyn Christ trwy ffydd i'm calon,
†Hŷ. I borthi f'enaid arno 'n † eon.

Carth fy meddwl am cydwybod,
Colch fi'n liwyr oddiwrth fy mhechod,
Gwna fi 'n llester glân i dderbyn,
Christ i'm calon yn y cymmun.

Cryfhâ fy ffydd, amlhâ fy ngobaith,
Ennyn ynwi gariad perffaith,
Sancteiddia 'r corph, cyfrwydda 'r enaid,
I dderbyn Christ y bwyd bendigaid.

Côd fy nghalon cuwch a'r nefodd,
Lle mae Christ yr hwn am prynodd:
Pâr i'm henaid borthi arno,
A thrwy ffydd gael grym oddiwrtho.

Pâr

Pâr im gredu fôd im bardwn,
Am fy mai er mwyn ei * bassiwn, *Ddioddefaint.
A rhan hefyd o'i holl ddonie,
Y bwrcassodd trwy loes ange.

Pâr im gredu y daw i drigo,
Yn fy nghalon byth tra ganto,
Ac na 'medy 'sanctaidd yspryd,
Nes fy nwyn ir nefoedd hyfryd.

Nâd gan hynny i mi nyrddo, 1Cor.6.19
Ei demel sanctaidd lle mae'n trigo,
Nac halogi byth om llester,
Ond ei gadw 'n lân bôb amser.

Pâr im hefyd ei glodforu,
Nôs a dydd ar eitha o'm gallu,
A'i fendithio 'n brudd bôb amser,
Am yr ymborth sy 'n ei swpper.

---

*Pennillion neu werseu, ar gynheddfau rhai dynion a phethau, ag y crybwyllyr am danynt yn y Scrythur lân ac yn yr Apocrypha *.* *Scrifeniadau dynol yw 'r Apocrypha

*Adda.*

DYsc fy mâb wrth † gwdwm *Adda*, †Cwymp.
Weld mor brîd yw 'r pechod lleia;
Ac mor enbyd bwytta gronyn,
O'r peth y so Duw yn wrafyn.

*Afal.*

*Or † cas Adda gymmaint ddial;* †Cafodd.
*Am ei waith yn bwytta Afal;*
*Ystyr faint y fydd diale,*
*Rhai sy'n byw a'r gyfryw fale.*

*Efa.*

†*Aflwydd.* *Efa* Hên â'i chwymp â'i † hanffod;
Sy'n rho itti rybydd hynod;
Na chytcamech tra fech byw,
Wrando ar Satan o flaen Duw.

*Afal.*

*Blin yw'r Afal a wnae 'r ddincod,*
*Ar bob Dant o'r Byd heb wybod:*
*Na fydd vn o'r rhai ddymune,*
*Gael eu Maeth ar gyfryw Fale.*

Oni byssei Grist ddiodde,
Ar Bren drosom ddû loes Ange,
Bysse 'r Byd i gŷd mewn attal,
Ym-mhwll vffern am vn Afal.

*Hâd y wraig.*

*Diafol. †Ymddiried.
*Er maint y fo drwg y * Ddraig,*
*Dôd dy † drust yn hâd y wraig:*
*Mae ef gwedi sigo ei Shol,*
*Torri chrib a thynnu chol,*

*Sarph.*

Os Brath Sarph â cholyn pechod,
D'enaid bach heb allu orsod;
Nid oes dim a wna id lês,
Nes mynd at Grist y Sarph o brês.

*Paradwys.*

*Adda gollodd hên Baradwys,*
*Am yr Afal gynt y fwyttwys:*
†*Ynefoedd* *Gwachel dithe golli 'r † llall,*
*Am fâth fale or 'dwyd gall.*

*Cain.*

Y Dyn y wnelo Ddrwg fel Cain;
†*Eglur.* Medd Duw 'n amlwg ac yn † blayn,
Nid ymedi Drwg a'i dŷ,
Nes dêl Dial oddi-frŷ.

Gwachel

*Gwachel dywallt gwaed dyn gwirion,*
*Megis Cain y* Mwrddrwr creulon:*
*Ydywallto gwaed yn ſiccir.*
*Ei waed yntef a dywelltir.*

*Lloſrudd
Gen. 9. 6.

*Abel.*

Na wna lanas yn y dirgel,
Duw ddatguddia † fwrddrad *Abel*:
Yn y dirgel os gwnei fowr-ddrwg,
Duw ai dial yn yr amlwg.

†Lladdiad
Luc. 12. 2.

*Bydd fyw 'n wirion megis Abel,*
*Ofna Dduw, Arfera ei Demel:*
*Offrwm iddo nôs a bore,*
*Aberth brûdd ar ben dy linie.*

*Offrwm.*

Pan offrymmech ddim i Dduw,
Offrwm iddo 'r gore o'i ryw,
Ffiaidd gantho ac nid hôff,
Y gwann a'r gwael, y clâf a'r cloff.

Levit. 22. 21, 22.
Mal. 1. 13, 14.

*Os offrymmu â'th holl galon,*
*Duw y dderbyn dy * anrhegion,*
*Oni offrymmu o'th lwyr fodd,*
*Byth ni dderbyn Duw dy rôdd.*

Gen. 4. 4, 5.
*Offrymmau.

*Enos.*

Pan bo pawb yn mynd yn ddiog,
I waſnaethu 'r Holl-alluog;
Cyffro bawb o'r bŷd fel *Enos*,
I addoli Duw heb aros.

Gen. 4. 26.

*Cais gan bawb waſnaethu Duw,*
*Dlyed pob gwir griſtion yw:*
*Goſſod allan ei ogoniant,*
*Di gae gantho †ffawd a ffyniant.*

† Dedwyddwch.

*Enoch.*

Gen. 5. 24 Rhodia gydâ Duw fel *Enoc*,
Dilyn lwybrau 'r Holl-alluog :
Cofia fôd Duw 'n disgwyl arnad,
Ym-mhob mann â chîl ei lygad.

† *Gafodd.* *Gwel pa ymdal y* † *gas Enoc*,
* *Trwy ffydd yn Ghrist, ac nid am ei weithredoedd ei hun yr aeth* Enoc *i'r nef.* Heb 11. 5. Act. 4. 12. Gal. 2. 16. *Er nad aer ir nef am weithredoedd da: etto nid aer yno hebddynt.*

* *Am wasnaethu 'r Holl-alluog :*
*Mynd ir Nêf cyn gweled ange :*
*Pwy gan hynny nas gwasnaethe?*

Dysc gan Enoc dair gwers rasol ;
1. Fôd dy Enaid yn anfarwol ;
2. A bôd i'th Gorph adgyfodiad ;
3. Ac ir Duwiol Nefol daliad.

*Rhodia gydâ Duw.*

*Na wna frynti yn y Cornel,*
*Mae Duw 'n gweld pob pechod dirgel :*
*Ac am hynny meddwl fyw,*
*Megis vn sy ngolwg Duw.*

Cawri.

Pyt sae itti gryfder Cawr,
Gen. 6. 4, 7. 7. 22. Duw y fyn dy dorri lawr,
A'th roi 'n fwyd i borthi 'r chwilod,
Os ymroi di ddilyn pechod.

† *Diangc.* *Oni alle Gawr* † *ddifannu,*
*Pan daeth Diluw dwr i farnu ;*
* *Dynbychan.* *Bwedd y dichon* * *Gwrangc ddihangyd,*
2 Pet. 3. 7. *Pan y dêl y Diluw tanllyd ?*

*Noah.*

† *Oddiamgylch.* Er cynddrwg y fo 'r Byd o † bobtu,
Er cymmaint y so o rai 'n pechu,
Bydd di berffaith yngwydd Duw,
Dilyn *Noah* tra fyddech byw.

*Gwachel ddilyn Arfer tyrfa,* Exo. 23. 2.
*Y fo'n pechu am y cynta:*
*Gwell nâ hynny yw dilyn ûn,*
*Y ofno Dduw, y barcho ddŷn.*

*Diluw.*

Gwêl mor ddrewllyd yw putteindra,
Gwel mor gâs gan Dduw ddiffeithdra;
Pan na wasnaethe dyfroedd Lai,
Nâ'r Dŵr Diluw i gospi'r bai.

*Noah.*

*Os byw wnai di Megis Nô,*
*Yn ŵr perffaith ar bob trô,*
*Byddi gydâ Noa'n gadwedig,*
*Pan bo eraill yn golledig.*

Gwell it ddilyn *Noah* ei hunan,
Mewn perffeithrwydd, ffydd, ac ofan;
Nag it ddilyn yr holl fŷd,
Mewn drygioni a boddi gŷd.

Arch neu Long.

*Gwna dy long tra'i'n amser grâs,* Esa. 55. 6.
*Cyn y delo'r diluw cás:*
*Mae'n ddiweddar gwneuthur Bâd,*
*Pan bo'r Diluw'n boddi'r wlâd.*

Gwell o lawer, nid ychydig,
Yw bôd gydâ Noa'n gadwedig,
Yn y llong, nâ chydâ llawer,
Yn y Diluw dŭ a'r dyfuder.

Bwa'r glaw neu'r Enfys.

*Pan y gwelech fwa'r Drindod,*
*Cofia farn Duw a'i gyfammod:*
*Abenditha ei ddwiol fawredd,*
*Am ei fwynder a'i drugaredd.* Gen. 9.

Ystyr amryw liwiau 'r Enfys,
Glâs a chôch yw 'r ddwy farn gofys:
Glâs oedd Dŵr y Diluw cynta,
2Pet. 3. 7. Côch yw Tân y farn ddiwetha.

*Lle mae 'rBwa yn gyffredyn,*
*Ai gyrn ir ddaer, heb saeth, heb linyn:*
*Y mae 'n dangos mor heddychlon,*
*Sef y ffyddloniaid. *Yw hi yngh Grist rhwng Duw a * dynion.*

## *Meddwdod Noah.*

Gwachel Satan hên a'i rwyde,
Pan bech tra diofal gartre:
Ef a'th ddilyn megis No,
†Cwymp Nes rhoi itti † ffwyl ryw dro.

*Oni ddichon Satan ddala,*
*Noe â'i rwyde o butteindra,*
*Fe brawf ddala No heb ŵybod,*
Gen. 9. 21. *Yn hên ŵr â rhwyd o feddwdod.*

## *Lot.*

Od ae drigo i Gomorra,
Lle mae meddwdod a phutteindra,
Cadw arnad megis *Lot*,
Rhag d' halogi â'r hŵr â'r pot.

*Or gweld di 'r dre lle bech yn byw,*
*Yn pechu 'n gâs yn erbyn Duw,*
*Tynn fel Lot y maes o Sodom.*
† Y dymmhestl. *Cyn disgynno arni 'r † storom.*

Gen. 19. Gwell bôd gyda *Lot* ei hunan,
Ar y mynydd dan y geulan;
Na bôd gyda holl wŷr Sodom
Yn y Dre yn godde 'r storom.

Meddwdod Lot. *Pwy ymgadwe yn well* nâ *Lot*,
*Yng-hanol Sodom rhag y pot?*

Yn

*Yn yr Ogof pwy y feddwe,*
*Ar y Gwîn yn gynt nag ynte?*

Or dihangaist rhag putteindra, *Lloscach Lot.*
Rhwng y * styw-dai yn Gomorra; **Tai putteiniaid.*
Gwachel wneuthur pechod aflan,
Gartre ymmysc dy ffryns dy hunan.

*Or dihangaist rhag y tân,*
*O ganol Sodom am fyw 'n lân;*
*Gwachel rhag dy losci 'r eilwaith,*
*Yn dy* dŷ *am fyw yn ddiffaith.*

*Gwraig Lot.*

Os gadewaist Sodom vn-waith,
Na ddymchwela i Sodom eilchwaith:
Trowd gwraig *Lot* yn † Bîl o halen, *†Golofn.*
Am droi hwyneb llwyr ei chefen.

*Gomorra.*

*Agor d'olwg, gwêl mor ffyrnig,*
*Y mae Duw yn cospi rhyfig:*
*Pan y llosce â thân a brimston,*
*Dre Gomorra o'i achossion.*

*Llêf Sodom.*

Clyw mor cuwch y gweidda pechod,
Ddydd a nôs yn glustie 'r Drindod, Gen. 18. 20, 21.
Ac na ddichon pechod dewi,
Nes dialo Duw ei frynti.

*Gwlâd Sodom.*

*Och! mor ddrewllyd ac mor embaid,*
*Ydyw lloscach y Sodomiaid:*
*Pan bo'r wlâd yn drewi etto,*
*A'r mwg a'r tarth lle * bunt yn trigo.* ** Buant.*

Cam.

Gwachel haeddu rhê; dy Dâd Gen. 9.
Bych nis gorfu *Cam* na'i Hâd:

 Melldith

Melldith *Noe* sy'n glynu 'n ffinion,
Byth yng-hrwyn y Moyrys duon.

Sem.

*Megis Sem, trwy ddawn a rhâd,*
*Cuddia gwylidd Noe dy Dâd:*
*A phan ddêl mewn gŵth o oedran,*
*Na watwara megis Canaan,*

*Selef neu Solomon.*

Parcha *Bathseba* dy fam,
1 Bren. 2. 19. Anrhydedda hi ar bob cam:
Rho 'r llaw ddehau iddi 'n vfydd,
Fel y roddei Selef Ddafydd.

*Abraham.*

Gen. 13. 18 *Cynta peth y wnel dy ddwylo,*
*Pa le bynna 'r elech iddo,*
*Godi allor gidag Abram,*
*I addoli Duw 'n ddigytcam.*

*Ffydd Abraham.* Gen. 15. 6.
Crêd bôb Gair o enau Duw,
Gwîr, a phûr, a pherffaith yw:
† *Y pwngc lleiaf.* Nêf a Daiar a ddifflanna,
Cyn el † jot o'i Air heb gwpla.

*Vfydd-dod Abraham* * *ddyfal.* Gen. 12. 1, 4.
*Lle harcho Duw itt' fyned, dôs,*
*Y peth orchmynno gwna yn *glôs:*
*Bydd mor ufydd ac oedd Abram,*
*Gwna 'r peth archo yn ddigytcam.*

Gen. 22. pen 17. Offrwm d' *Isaac* os Duw arch,
Ac enwaeda 'r cnawd o barch:
Jos. 24. 2, 3 Gado Ddelwau aur dy Dâd,
Dôs pan harcho maes o'th wlâd.

*Isaac.*

*Dysc gan Isaac fôd yn ufydd,*
* *Siccr.* *Mwyn a llariaidd, dôf a llonydd:*
*Felly byddy * suwr i fyw,*
*Mewn ffafar Dyn, mewn ofan Duw.*

Gwely 'th Briod na haloga,
Ond bydd fodlon i'th *Rebecca*:
Fel y bydde *Isaac* sanctaidd;
O flaen Duw mae hyn yn weddaidd.

*Jacob.*

*Or bydd geiriau Jacob genyd,* Gen. 27.
*Gwachel ddwylo Esau waedlyd:*
*Câs gan Dduw a pheth *digwnt,* *Digyffif.
*Yw 'r geiriau †braf ar gweithred brwnt.* †Gwych.

Pan bwriadech geisio gwraig, Gen. 28.
Bydd i *Jacob* yn Scholhaig:
Dilyn gyngor Mam a Thâd.
O mynny lwyddiant ar dy Hâd.

*Esau:*

*Na fydd lwth i lanw 'th fola,*
*Esau † gas y cwylydd mwya,* †Gasas.
*Am roi i Jacob ei holl afel,* Gen. 25.
** Dros phiolaid o gawl gruel,* *Am.

Ffei ar afrad, ffei ar meddwdod,
Na werth nêf am fwyd a diod:
*Esau* gollodd Ganaan decca,
Am werthu fraint i lanw ei fola.

*Joseph.*

*Os cais Meistres yn y cornel,*
*Genyd orwedd gyda'i 'n ddirgel:*
*Cilia gydâ Joseph allan,* Gen. 39.
*Na ladd d'enaid er ei ehunsan.*

Dôs i garchar, godde gûr,
Gorwedd mewn cadwynau dûr,
Cyn y gwnelech megis filain,
Aelod Christ yn aelod puttain.

*Na châr buttain tra fech byw,*
*Na haloga Demel Dduw:*

*Ni wnai Ioseph beth mor ffinion,*
*Er: O * serch pydru yn y † cyffion·
†Stocs. Margain front fel Margain Esaw,
Margain y bair cnoi ac wylaw,
Dihar.6. Ydyw gwerthu 'r Nefoedd berffaith;
25,32. Am gyfeillach puttain noswaith.

Derchafiad Joseph *Ioseph waith na fynnei orwedd,*
*Gyda'i feistres mewn anwiredd,*
†Dywysog *Y gas mynd yn † Brins arbennig,*
*Attal. *Ar yr Aipht am *stoppi rhyfyg.*

† Onest. Gwell bôd gydâ *Joseph* † ddiwar,
Am Onestrwydd yn y carchar,
Na bôd gyd â *Herod* Frenin,
A *Herodias* rhwng ei ddau-lin.

*Reuben.*

*Os dryngbadu wely 'th Dâd,*
Gen. 49. *Gydâ Reuben hyna o'r gwaed;*
3, 4. *Iuda gaiff yr holl Difeddiaeth,*
*Ni chei dithe ond yr hiraeth.*

*Simeon.*

*Simeon* gwachel werthu 'th frawd,
† fforten. Drwg y gwyddost beth yw 'r † ffawd;
Fe fydd *Joseph* gwedi werthu,
Gen.42.24 Yn troi *Semeon* ir carchardy.

*Moses.*

*Dysc gan Foesen fôd ynfwyn,*
†llariaidd *Araf, †lednais da dy gwŷn,*
Num.12.3 *Hawddgar, ffyddlon, prûdd, di-dwyll,*
*Cefnog, diddig, da dy bwyll,*

*Pharao.*

* Pa.' Gwêl * pwy filwyr fydd gan Dduw,
Exod. 8. Yn plygu 'r Brenin cryfa 'n fyw,
Llau, a llyffaint, ceiliog-rhedyn,
† Arch. Yn troi *Pharo* 'i geisio † canlyn.

*Canaan.*

*Os ceisii fynd or Aipht i Ganaan,*
*Lle mae 'r mêl a'r llaeth yn *dropian,* * Disern.
*Rhaid id fyned trwy 'r môr coch,*
*Er maint ei rym, er cuwch ei roch.*

*Manna.*

Gwachel laru ar y *Manna*,
Claf iawn wyt oni elli fwytta :
Ac or ceisii Bwmps a phannas,
O flaen *Manna*, mae 'ti anras. Num. 11. 4, 5, 6.

*Sofl-ieir.*

*Cyn gadawo Duw ddim eisie,*
*Ar y sawl y gatwo ei ddeddfe,* Num. 11. 31.
*Pair ir nefoedd lawio Manna,*
*A †Chwailes iddynt idd i fwytta.* †Soflieir

*Corah.*

Na wrthneba byth o'r ffeiriad,
*Angel Duw yw wrth ei alwad : *Cennad.
Gwachel rhag ir ddaer dy lyngcu, Num, 16.
Os fel *Corah* y gwrthnebu.

*Offeiriad.*

*Gwachel ‖ fedlo maes o'th alwad,* ‖ Ymmyrredd.
*Bethau berthyn at offeiriad :*
*Ni fyn Duw ond ffeiriaid gweddaidd,* 2 Sam. 6. 6, 7.
*Drin yr Arch a'r pethau Sanctaidd.*

*Sabboth.*

Gwêl mor gaeth y myn Duw inni,
Gadw 'r Sabboth heb ei halogi, Num. 15. 32, 36.
Pan y pare ir holl Gymmanfa,
Labyddio 'r dyn am Sûl-friwedda *. * Cynnytta

*Treulia 'r Sabboth byth yn Sanctaidd,*
*Dere i Demel Dduw yn weddaidd,*
*Ac nac arfer tra fech byw,*
*Waith y Cythrael ar ddydd Duw.*

Gwelwn

*Haul.*

Gwelwn allu Duw bôb vn,
*Attal. Yn * stoppi 'r haul wrth weddi dŷn,
Jos.10. Ac attal hon ddiwrnod cyfan,
Vwch ben ei lû, heb fynd or vn-mann.

*Cofiwn bawb mae 'n cwilydd yw:*
†*Saif.* *Os †stoppa 'r Haul pan barcho Duw,*
*A'n bod ninnau crach fydreddi,*
**Ymattal oddiwrth ddrwg.* *Pan barcho Duw, heb fedru *ymstoppi*

*Josuah.*

Os ceisiir genyd 'ddoli Delwe,
Jos.24.15 Megis Josua atteb dithe,
Nid Addolaf tra fwi byw,
Mi am tylwyth ond fy Nuw.

*Zimri.*

*Zimri, Zimri, gwêl y cledde,*
*S'uwch dy ben gan Dduw 'r diale,*
Num. 25. *A'r ffon wayw sydd gan Phinees,*
*Ith drywanu ti ath Langces.*

*Balaam.*

Balaam, Balaam, agor lygad,
Gwêl yr Angel sy'n dy warchad;
Num. 22. Tro yn d'wrthol, Gwachel * fribri,
**Cymmeryd gwobr.* Gwrando 'r Assen yn d'argoeddi.

*Sampson.*

*Na châr buttain mwy na chythrel:*
†*cyfrinach* *Na ro iddi byth o'th †gwnsel:*
Barn.16. *Hi dyrr gwddwg, hi dynn galon,*
*Gwr pyt fae mor gryf a Sampson.*

*Gibeah.*

**Na chynnal.* Na * synteinia bobol ddrwg,
Ond bydd arnynt byth ar d'ŵg;
Barn.20. *Gibeah* loscwyd a'i holl bobol,
Am ymddiffyn gwŷr anneddfol.

*Benjamin.*

*Benjamin †erdolwg clyw,* †Attolygeſ itti.
*Pam y tynny ddial Duw;* B.rn.20.
*Ar dy dŷ a'th ben dy hunan,*
*Am ymddiffyn plant i Satan?*

*Eli.*

Cymmer rybydd oddiwrth Eli,
Ddyſgu 'th blant a'u dyfal goſpi: 1Sam.2.
Lle na choſpo 'r Tâd a'r wialen,
Duw a'r cledde dyrr eu ceſen.

*Samuel.*

*Dyſc gan Samuel trech yn blentyn,*
*Brûdd waſnaethu Duw ai ganlyn;*
*Ac arferu hyd dy ddiwedd,*
*Fyw yn gyfiawn, yn ddigamwedd.*

Dyſc gan Samuel Farnwr gwŷch, 1Sam. 12. 2,3.
Na chymmerech fuwch nac ŷch;
Ond rhoi barn ym-mhob rhyw * ffatter, *Achos.
I bôb dŷn yn ol cyfiawnder.

*Joel mab Samuel.*

*Beth ennillodd Joel aflan,* † Dderbyn gwobr.
*Wrth gam-farnu, ac wrth † fribian,*
*Colli ſwydd ai etifeddiaeth,* 1Sam.8.
*Ennill cwilydd a * dannodiaeth.* *Edliw.

*Uzzah.*

*Uzzah* gwachel gwrdd a'r Arc,
Gâd ir ffeiriaid hynny o † garc: †Gofal.
Trin dy ſwydd dy hun a'th alwad,
Nid yw 'r Arch yn perthyn attad. 2Sam.6.6. 7.

*Job.*

*Bydd ddioddefgar megis Job,* Job. 1:
*Trech yn glâſ, na leſ ôb* ôb,
*Yn dy golled gwachel gablu;*
*Duw ſy'n rhoi, a Duw ſy'n tynnu.*

Pe dyge Duw ſydd yn dy helw,
Pe'th drawe 'n glaf, nes bae'ti marw;
Dywaid, pyt fae Dduw 'n fy mlingo,
Job.13.15 Etto mi ymddiriedaf ynddo.

*Dafydd.*

*Canol nos fel Brenin Dafydd,*
Pſal. 119. 62. *Cod i lawr, penlinia 'n ufydd,*
*A molianna Dduw 'r pryd hynny,*
*Pan bo eraill yn hwrn gyſcu.*

Pſal.147.1 92.1,2. Hôff o beth a hyfryd yw,
Ganol nôs glodfori Duw;
A rhoi diolch iddo 'r bore,
Am ei râs a'i amal ddonie.

*Edifeirwch.* Dafydd. Pſal. 51. *Bydd mor difar am dy bechod,*
*Ac oedd Dafydd Brophwyd hynod:*
*Ac na orphwys wylo 'n irad,*
*Nes cael ffafar Duw a'i gariad.*

Pſal. 6. 6. 102.9. 32.4 Wyla nes bo'th wely 'n foddſa,
Bwytta ddeigre gydâ 'th ſara,
†*Llwch.* Gwiſc di ſâch, a thro mewn † llethrod,
Nes cael pardwn am dy bechod.

Abſolon.

*Er melyned y fo'th gydyn,*
2Sam.18.9 Pen.14.26 *Gwachel f' enaid, chwareu 'r coegyn;*
*Gydynau. *Ac nac arfer * locſeu hirion,*
*Rhag dy faglu fel Abſalon.*

2Sam.12. 11,12.16. 22. Os aiff *Dafydd* i felina,
Ganol nôs at wraig *Uria*;
Fe ddaw vn ganol-ddydd gole,
I felina i felin ynte.

Amnon a Thamar.

*Gwel mor fyrr yw pleſſer oſlyd,*
*Y wnai Amnon golli fywyd:*

*Gwel mor chwerw yn y diwedd,* 2 Sam 1.
*Yw blas pechod ac anwiredd.*

Na ddôd d'enaid byth mewn * peryg, *Enbyd-rwydd.
I gyflawnu chwant a rhyfyg :
Fe fydd chwerw ac edifar,
Yn y diwedd dreifio *Tamar.*

*Hezekiah.*

Dôd *dy dŷ mewn †ordor addas,* †Trefn.
*Fel y dode Hezekias :* Esay 38.1.
*A bydd barod byth yn gwiliad*
*Ange cyn y delo attad.*

*Ahab a Naboth.*

Gwachel chwennych gwinllan *Naboth,*
Trais y lef am ddial *, boenoth : *Beunydd.
Gwinllan *Naboth* os trachwantu,
Teyrnas *Israel* y † fforffettu. † Golli.
1 Bren. 21.

*Ahab, Ahab, ||dela 'n union,* ||Arfer v-niondeb.
*Na ddwg winllan Naboth wirion :*
*Ac o'r dwgu trwy *udonaeth,* *Llw an-uddon.
*Duw ddifetha dy hiliogaeth.* 1 Bren. 21.

*Daniel.*

Er maint y fo'th boen a'th drafel, Dan 6.10; 22.
Cwymp i addoli Duw fel Daniel,
Dair gwaith yn y dydd o leia,
Dyna 'r unig waith fydd reita.

*Cau dy stafell: plyg dy linie,*
*Côd d'olygon, agor d'ene,*
*Ac addola Dduw yn brûdd,*
*Felly dair gwaith ar bob dydd.*

* Serch dy daflu i fysc y llewod, * Er.
Na 'sceullyssa 'ddoli 'r Drindod :
Y bwystfilod gwaetha eu nattur,
Fedrant † ffafro gwir Addolwyr. †Trugar-hau.

*Sadrach.*

*Nac ymgrymma byth i ddelw,*
* Er. *O * serch gorfod arnad farw,*
Dan. 3. *A mynd gyda Sadrach hyfryd,*
*Ar dy ben i'r ffwrnais danllyd.*

Mat. 4. 10. Duw yn unig sydd iw' addoli,
Psal. 115. Nid yw 'r ddelw ddim ond gwegi,
4. &c. Coed a cherrig, Aur ac Arian,
Bwbach nad all helpu hunan.

*Belsazzar*

*Pan bo'r cwppa wrth dy fîn,*
Dan. 5. *Yn cablu Duw, yn yfed gwîn;*
*Gwachel Angau dig dy daro,*
*Ymysed. *Fel Belsazzar wrth * garowso.*

*Llaw ar y wal.* Pan bech yn carowso yn dal,
†*Pared.* Gwêl y llaw sydd ar y † wal,
Yn scrifennu o flaen d'wyneb,
Dy farn aethlyd a'th lothineb,

*Tobias.*

Tob. 1. 16, 17. *Bydd drugarog fel Tobias'*
*Wrth bob tlawd y fo o'th gwmpas:*
*Ac na fwytta brŷd yn iachus,*
*Nes rhoi rhan ir tlawd anghenus.*

Helpa 'r gwan a chladd y marw,
Swccra 'r noeth, cysrwydda 'r weddw,
Bydd yn Rhyscwy ir ymddifaid,
Na fydd anfwyn wrth ddieithriaid.

*Raphael*

*Pan y bech ar feder gwreicca,*
*Cais gan Dduw dy helpwr hela*
Tob. 6. 10. *Raphael sanctaidd i'th gyfrwyddo,*
†*Briodi.* *Cyn ymlygrech wrth † ymfaitshio.*

*Tobi ieuangc a Sara ei wraig.*

Cyn gorweddech gydâ Sara,
Llaw yn llaw â hi gweddia,
Ar ir Arglwydd roi 'ti lwyddiant,
Help a chymmorth, * ffawd a ffyniant. * Ded-wyddwch.

*Dysc gan Dobi Ifangc berchi* Tob. 14.
*Dy Dad a'th Fam a'u cymfforddi :*
*Pan bont marw, cladd hwy 'n weddaidd*
*Hyn sydd rasol a christnogaidd.*

*Efengyl.*

Bydd fyw 'n gyfiawn ac yn gynnyl,
Fel pyt saet heb vn Efengyl :
A bydd farw 'n gystal d'obaith,
A phyd saet heb weld y gyfraith.

*Or gofynnu anwyl gristion,*
*Pwy wnaeth hyn o werseu byrrion :*
*Gwas i Grist sy'n ceisio d'hwppo *,* *Dy yrru.
*Tua 'r nêf a'i draed a'i ddwylo.*

---

## *At y Darllenydd.*

PAn printiwyd y trydydd llyfr o waith yr Awdwr bendigedig hwn, mi adewais ran o'r Catechism sy'n canlyn heb ei brintio ; oblegid nad oeddwn i ewyllysgar i anfodloni nêb, trwy ddywedyd fy meddwl ynghylch rhyw bethau bychain ynddo, y rhai nid oeddent yn perthynu i iechydwriaeth pobl.

Heb Law hyn, yr oeddwn i yn rhag-weled y byddei ymbleidio, ac ymddadlu, a chynhennau, ac ymryssonau oblegid y pethau hynny : yr hyn beth (sef ymbleidio ac ymddadlu, &c. ynghylch pethau

†profiad. Tit.3.8,9. bychain ) ar wybodaeth ac † ecſperiens cannoedd, ie miloedd o griſtianogion graſſol, ſydd rwyſtyr yn hytrach nâ chymmorth i adeiladaeth yſprydol. Ar hyn, gan fôd fy amcan i wrth ddanfon y llyfrau hynny ir wlâd, nid i roddi achos o ymrafael ym-myſc pobl, ond yn vnic i roddi goleuni ir rhai ſy yn eiſtedd mewn tywyllŵch a chyſgod angau, i gyſeirio eu traed i ffordd tangneddyf; ac i adeiladu 'r gwan yn eu ffydd ſanctaidd, fel yr elent yn y blaen yn ffyrdd yr Arglwydd yn ſwy cyſſurus, fel y gogoneddent Dduw ymma, ac y byddei iddynt feddiannu tragwyddol ogoniant gŷd ag ef ar ôl hyn; Mi ymfodlonais i ddodi allan y pryd hynny, y pethau yn vnic yr ym ni oll yn cyttuno ynddynt; trwy iawn wybodaeth o barai, a'u derbyn i'r galon, a'u credu, a byw yn ddiragrith yn eu hôl, yr oeddwn i yn gwybod yn ddilys, a cyrhaeddwn i fy niben am hamcan, y ſoniais i o'r blaen am dano: A'r pethau hynny ydyw y Gredo, Gweddi 'r Arglwydd, y dêg †ſubſtance Gorchymmyn, a † Sylwedd yr athrawiaeth ynghylch y Sacramentau, a'r *Eſponiad iachus o honynt, y gynhwyſir yn y Catechiſm hwn o Eglwys Loeger; y rhai pethau ydynt oll yn dda; ac trwy fendith Duw, ac iawn arferiad moddion eraill i iechydwriaeth, allent fôd yn † fuddiol i adeiladaeth, ac i beri grâs ir Darllenwyr.

*Eglurhâd

†profitable

Ond o herwydd cymmeryd tramgwydd, a digio, am na ddanfonwyd allan y pryd hynny ond rhan o'r Catechiſm, wele yn awr y cwbwl iti. Nac anfodlona i mi ddywedyd hyn, fôd cadarnach ſeiliau i adeiladu Bedydd plant bychain arno, nag a oſodir i lawr ymma, fel y gŵyr y duwiol dyſcedig yn ddigon da.

Ac

Ac am Dadau a Mammau bedydd, a'u proffes hwy wrth y bedyddfan, eu bôd hwy mor lân ac mor grefyddol, ac y maent yn gwadu 'r Diawl a'i holl weithredoedd &c, A'r rhwym y maent yn gymryd arnynt, ( fel y maent yn feichcon dros y plant,) A'r peth y ddywedir ymma, eu bôd hwy yn cyflawni ffydd ac edifeirwch dros y plant nes y delont i oedran, mi au * passaf hwynt heibio i gŷd, heb gyfodi vn cwestiwn i fynu yn eu cylch ; gan ymroi fy hunan, a chan gynghori eraill i wneuthur yr vn peth, ar ôl profi 'r cwbwl wrth y Scrythyrau, i ddala yn vnic yr hyn sydd dda.

* *Esgeulusaf.*

1 Thess. 5. 21. Esa. 8. 20. Act. 17. 11.

---

## *CATECHISM.*

Holiad. *FY Mhlentyn hygar hoyw,*
*Er Christ beth yw dy enw ?*
*Maneg im' o galon brŷdd,*
*Dy grêd a'th ffydd yn groyw.*

*Atteb.* Fy enw yw *Cynedda.*
y gollwyd gynt yn *Adda* :
Etto † gedwid trwy râs Duw,
ynGrist 'rhwn yw 'r Messia.

† *Y ffyddloniaid, edifeiriol, vfydd, a gedwir trwy Grist ; nid gweithred-wyr anwiredd.* Jo. 3. 16. Act 3. 19. Heb. 5. 9. Mat. 7. 23.

H. *Pwy roes dy enw itti,*
*Lle 'r oeddyd gwedi 'th golli,*
*Gydâ 'r byd trwy Adda gaeth,*
*A'th droes i'r fath drueni ?*

A. Fy Nhadeu a Mammeu bedydd,
Trwy lân ac vnion grefydd :
Pan bedyddiwyd fi â dŵr,
Wrth arch fy Mhrynwr vfydd.

†*Pa.* H. † *Pwy lês sy'n dwad itti,*
*O'th fedydd gwedi 'th olchi,*
*Yn y Dwr gan ffeiriad Duw,*
*Waith cymmaint yw'th drueni ?*

* *Fel y deallocb y pethau hyn yn iawn, ystyriwcb y pethau ganlynant, Sef,*

A. Rwi 'n * Aelod Pûr im Prynwr,
Rwi 'n Blentyn im Creawdwr,
Rwi 'n 'tifedd mawr o deyrnas nêf,
Rwi 'nghrist yn ore 'nghyflwr.

*Luc. 1: 35 †Psa. 51. 5. Joan 3. 6. Job 14. 4. a'r 25. 4. ||Rhuf. 5. 12. 19. *Gen. 8 21 † Rhuf. 7. 18.

Yn Gyntaf, *Eni pawb i'r bŷd hwn* (ond *Christ ei hunan) *yn aflan*, hynny yw, † *yn llawn o bechod gwreiddiol*, sef, *yn llawn o hâd pôb drygioni* : canys heb law cyfrifiad pechod || *Adda* iddynt, y mae hefyd dueddiad a gogwyddiad ym mhôb enaid, at bôb * mâth o ddrygioni, ac ammharodrwydd i bôb † mâth o ddaioni ; yr hyn yn gyffredinol a elwir llygredigaeth naturiaeth.

†*Yr ŷd.*

Megis y mae tywys y † llafur a'i risgle, a'i flode, a'u wellt, i gŷd yn wreiddiol yn yr hâd a hauir : felly y mae pôb mâth o ddrwg feddyliau, a drwg eiriau, a drwg weithredoedd yn wreiddiol ||ynghalon plentyn pan y genir ef ir bŷd.

||Mat. 15. 19.

Oni bae fôd y peth fel hyn, nis gallai sefyll gyd â chyfiawnder Duw, i daro rhai plant bychain â chlefydau, ac i dorri eraill i lawr trwy farwolaeth, o herwydd mai * cyflog pechod yw y pethau hyn, sef clefydau, a phôb mâth o felltithion daiarol eraill, a marwolaeth, sef y cyntaf a'r ail.

*Deut. 28. 15, 21, 22. Rhuf. 6. 23 Datc. 21. 8

Peth rhyfedd fyddei (îe peth nis gellir i gredu) y rhoddei y Duw || cyfiawn gyflog pechod i blant bychain, ac ynteu, sef y cyflog hynny heb fôd yn ddyledus iddynt. A chan fôd y peth felly, ni ellir gwadu, nad yw plant bychain mewn rhyw ffordd

||Psal. 145. 17.

neu

neu gilydd yn bechaduriad; ac o herwydd hynny yn blant digofaint, ac yn euog o ddamnedigaeth tragwyddol.

A chan nad ydynt hwy yn bechaduriad, trwy halogrwydd ac euogrwydd pechod gweithredol o'i heiddo ei hûn, nid oes ffordd arall wedi adel, iddynt fôd ynghyfrif Duw yn bechaduriad, ond yn vnig trwy halogrwydd ac euogrwydd pechod gwreiddiol.

Yn Ail ystyriwch, *Er ein geni ni yn aflan, ac er bod y rhai o honom ac sydd yn euog o bechodau gweithredol, gwedi ein gwneuthur yn fwy aflan trwy halogrwydd y pechodau hynny: Etto y mae ffordd, ac nid oes ond vn, i'n glanhau ni oddiwrthynt ôll.*

Yr vnig ffordd yw * *Iesu Ghrist*; canys efe, o'i anfeidrol gariad at ei Eglwys neu bobl, a † ddygodd eu pechodau hwynt arno ei hun, megis ei || meiche hwynt; Ac ar y groes a offrymmodd ei hun (sef ei enaid a'i gorph) trostynt, yn aberth i Dduw ei Dâd o * arogl peraidd. A thrwy yfed o'r cwppan chwerw o ddigofaint Duw, pan tywalltwyd ei waed ef, efe a roddodd † iawn i gyfiawnder ei Dâd am bechodau ei bobl, ac felly a || bwrcassodd iddynt faddeuant pechodau, a * rhyddhâd rhag y ddamnedigaeth dragwyddol ddyledus am danynt,

*Zech. 13. 1
Datc. 1. 5.
Act. 4. 12.
† 1 Pet. 2. 24.
|| Heb. 7. 22.
* Eph. 5. 2.
† 1 Io. 2. 2.
|| 1 Pet. 1. 18, 19.
Eph. 1. 7.
* Rhuf. 8. 1

A thrwy gadw y gyfraith, gan vfyddhau i holl orchymynnion Duw, fe a † ddygodd i mewn gyfiawnder difrycheulyd idd i gyfrif i'w bobl, ac felly i gwneuthur hwy yn gymmwys i gael bywyd tragwyddol yn y nefoedd.

† Dan 9. 24
Rhuf. 5. 19
1 Cor. 1. 30

Y nawr trwy gymmhwysiad gwaed neu ddioddefaint Christ idd ei bobl, y || glanhauir hwynt oddiwrth euogrwydd eu pechodau, hynny yw oddiwrth

|| Rhuf. 5. 9
Heb. 9. 14.

ddiwrth y rhwymedigaeth y maent tano i ddamnedigaeth tragwyddol am danynt.

A'r rhai y lanhauir oddiwrth euogrwydd eu pechodau, trwy gymmhwysiad Gwaed Christ at eu heneidiau, y lanhauir hefyd oddiwrth eu halogrwydd hwynt ( hynny yw oddiwrth frynti, a grym eu pechodau ) trwy † dywalltiad Yspryd Christ arnynt, i drigo yn eu calonnau hwynt,

†Dihar.1.23. Rhuf. 8.9, 10. Tit.3,5,6.

Yn Drydydd ystyriwch, *fôd rhyw blant* (ie llawer oedd ) *yn gadwedig*, oblegid y mae Duw yn ei Air yn dywedyd, ei fôd ef yn Dduw idd ei bobl ac idd ei † hâd, ac fe garodd Duw **Jacob*, a || *Jeremi*, ac † *Joan fedyddiwr* pan yr oeddent ynghrothau eu Mammau; ac fe gymmerodd Christ blant bychain yn ei freichiau, ac a ddywedodd, mai eiddo y * cyfryw rai yw Teyrnas Dduw.

†Gen.17.7 *Rhuf. 9.10,11,12. || Jer.1.5. †Luc.1.15 *Marc.10.14.

Siccr yw, fôd plant yn aflan trwy nattur, ac nad â nêb o honynt hwy, mwy nâ rhai mewn oedran ir nefoedd, heb eu glanhau a'u sancteiddio, canys *heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd*.

Heb.12.14 Joan.3.3. Dat.21.27

Y nawr, gan fôd glanhâd oddiwrth euogrwydd ac halogrwydd pechod, yn angenrheidiol i blant yn gystal ac i eraill, cyn myned ir nefoedd; a chan nad oes vn ffordd arall i gael glanhâd oddiwrth bechod, nac i ddwyn nêb ir nefoedd, ond yn vnig trwy danelliad gwaed Christ, a sancteiddiad ei yspryd ef: A chan fôd llawer o blant yn cael eu derbyn ir nefoedd; y mae yn eglur, fôd y cyfryw, cyn marwolaeth, ( canys nid oes dim † glanhâd ar ôl marwolaeth ) a chyn eu derbyn ir nefoedd, yn cael eu glanhâu oddiwrth euogrwydd ac halogrwydd ei pechod gwreiddiol; ac eu bôd hwy yn cael hynny, yn vnig trwy danelliad gwaed Christ, a thrwy sancteiddiad ei yspryd ef.

†Preg.9.10 Preg.11.3 Luc.16.26

A phan tywalltir yspryd Christ ar blant bychain, ac y cymmhwysir ei waed ef attynt, y mae grym pechod gwreiddiol yn cael ei dorri, ac y mae hâd pôb grâs wedi hâu ynddynt, ( oblegid nid yw yr * yspryd glân yn segur ble bo ef, ) fel ac y gellir dywedyd fôd yn y Cyfryw rai, ostyngeiddrwydd, ffydd, cariad at Dduw &c yn wreiddiol, er nad ydynt hwy yn † deimladwy o hynny, mwy nag y maent o'u haflendid naturiol. *Rhuf. 8. 9, 10. †Sensible.

Yn Bedwarydd Ystyriwch, fôd y cyfryw ac a lanhauir mewn oedran, yn dyfod i gael eu glanhau ( *yn gyffredinol* ) yn y môdd ymma.

Yn Gyntaf, y mae Duw trwy * bregethiad ei Air, a gweithrediad ei † yspryd gydâ ei Air, yn eu hargyhoeddu hwynt am eu pechodau, ac yn eu goleuo hwy i weled y cyflwr colledig y maent ynddo oi plegid hwynt, megis yr hargyhoeddodd ef y tair mil || Iddewon trwy bregeth *Petr*. Oni bae eu bôd nhwy yn cael eu hargyhoeddu a'u goleuo fel hyn, pa fôdd yr ymgeisient am Iachawdwr ? canys medd Christ, *Nid rhaid ir iach wrth y meddyg, ond y rhai cleifion.* *Rhuf. 1. 16 Mat. 12. 41 Rhuf. 5. 17 †Jo. 16. 8. ||Act. 2. 37. Mar. 2. 17.

Yn Nessaf, yn ôl eu * dychrynu hwynt â golwg eu pechodau, a'r cyflwr damnedig y maent ynddo oi plegid hwynt, y mae Duw, trwy Air yr Efengyl, yn dangos iddynt yr help, a'r ymwared, ar sydd iw chael, trwy ffydd yn Ghrist, megis y dangosodd ef i Geidwad y carchar, trwy bregethiad *Paul* a *Silas*. *Act. 16. 30 Rhuf. 8. 15 Act. 16. 30, 31.

Yn Drydydd, y mae Duw trwy ei yspryd, ar ôl † goleuo pechaduriad, ( yn y môdd y clywsoch) yn eu || tynnu hwynt at ei fâb, ein Iachawdwr *Iesu Ghrist*. †Act. 26. 18 || Jo. 6. 44. Cant. 1. 4.

Ac yno wrth draed ein Harglwydd *Iesu Ghrist*,

*Jo.6 40. Heb.11.27 || Dihar. 28.13. Dih.8.36. Psal.51.4. †Luc.15.21 *Dih.1.23 Zec.12.10 †Iac.4. 8. Psa.57.17 || Luc.7. 37,38. *Luc.18. †Pryssur. || Jo. 14. 13,14. *Jer. 31. 18,19. † 1 Cor. 11. 31. *|| Gen.32. 10. Luc. 15.21. *Esa.64 6 †1 Pet.1,9 || Luc.7.48 Act 16.34 *1 Jo.2. 12,13.

( yr hwn y maent hwy yn ei weled â * llygaid ysprydol, er nad ydynt etto yn ei weled ef â llygaid cnawdol,) y mae y cyfryw bechaduriaid yn || cyfaddef eu pechodau, a'r || cam y maent gwedi wneuthur â Duw, a'u heneidiau eu hunain trwyddynt hwy, fel y dangossir inni yn nammeg y † mâb afradlon.

Ac yn awr, gan fôd * yspryd grâs a gweddiau wedi dywalltu arnynt, y maent â †chalon ddrylliog, alarus am eu pechodau, ( megis y || wraig bechadurus a olchodd draed *Christ* â'i dagre, ac fel y **Publican* edifeiriol)yn deisyf yn†brûdd er ||mwyn Christ, ar i Dduw drugarhau wrthynt, a rhoddi maddeuant iddynt.

Ac heb law hyn, y maent hwy yn cywilyddio, ( megis * *Ephraim* ) am eu ffyrdd ddrygionus, ac yn † barnu eu hunain ( megis || *Jacob* a'r mâb afradlon) yn annheilwng, ( er * mwyn dim y sydd ynddynt eu hunain,) i dderbyn y trugaredd neu 'r ffafor lleiaf oddiwrth yr Arglwydd: ond y maent yn ymddiried ac yn † credu yn Nuw ( megis y || wraig bechadurus a Cheidwad y carchar) rhai â ffydd wann,eraill a ffydd grŷf, y bydd iddo fe yn ôl addewidion yr efengyl, er * mwyn haeddedigaethau Crist, drugarhau wrthynt, maddeu eu pechodau, bôd mewn heddwch a hwynt, a chadw eu heneidiau.

|| Rhuf.8. 9,10,13. *Act.26 18 Eph.2.1,2 †Ps.110.3 || 2Co 5 17 Ps.119.104 112, 113. †Ezec.36. 31.

A thrwy || help yspryd Christ, y sydd y nawr Yn || trigo ynddynt ( ble buassei * Satan o'r blaen, tra oeddent feirw mewn camweddau a phechodau) y maent, nid yn vnig yn † ewyllyscar, ond hefyd yn || alluog, ( megis *Dafydd* a *Zacheus* ) i droi oddiwrth, ac i gasau eu pechodau, mewn meddwl, gair a gweithred, ac i †ffieiddio eu hunain oi plegid

hwynt

hwynt, ac i fyw yn ôl rheol * gorchymynnion Duw. 1 *Ioan* 2. 3. 4. 5. *Jo.10.27.

Ac er bôd y † cnawd, sef yr hên nattur lygredig *yn aros fŷth ynddynt hyd eu marwolaeth, etto y mae e wedi ei || groes-hoelio, a'i farwhâu ynghyd â'i wyniau a'i chwantau, cyn belled, ac nad yw ef yn † teyrnassu neu yn rheoli ynddynt. †Gal. 5.17 *Rh. 7.17. ||Gal. 5.24 †Rhuf. 6. 12.14.

Ac yn lle yr * hên aflendid, a'r annuwioldeb, a'r anghyfiawnder, y mae grasussau yr yspryd glân, a || hauodd efe yn eu calonnau hwynt, megis *gostyngeiddrwydd, aeddfwynder, sobrwydd, cyfiawnder, cariad* at Dduw a'i Air, a'i bobl &c, yn gwreiddio, ac yn tyfu, ac yn † ffrwytho, yn rhai * mwy, yn rhai llai, yn ôl y messur o râs y dderbyniasant. *1 Cor. 6.9 10.11. ||1 Jo. 3.9. †Jo. 15. 5. Gal. 5 22. *Mat. 13. 23.

Ac pan y bônt, naill ai trwy eu * gwendid eu hunain, neu trwy † hocced Satan, neu hudoliaeth y || bŷd, yn cwympo i bechod: Etto y maent (megis *Dafydd* a *Pheder*) trwy *edifeirwch yn cyfodi eilchwaith; Ac yn ymdrechu i ufyddhau, nid i rai o orchymynnion Duw, (megis y gwnaeth † *Saul Jehu, Herod* ac eraill ddynion drwg) ond ir cwbwl (megis *Zacharias*, ac *Elizabeth*,) a hyny nid yn unig oddi faes, (megis y Scrifennyddion a'r pharisæaid ac eraill Ragrithwyr) ond o'r galon (fel † *Paul* a'r Rhufeiniaid duwiol) megis yngŵydd Duw chwiliwr y calonnau. *Gal. 6. 1. †1 Chron. 21. 1. ||Dih. 1.10 *Psal. 51. Mat. 26. †1 Sam. 15 2 Bren. 10. Mar. 6.20 ||Luc. 1. 6. Ps. 119. 5, 6. *Mar. 23. † Rhuf. 6. 17. Act. 24.16

A hyn i gŷd y maent yn eu wneuthur, nid fel y Rhagrithwyr, er mwyn cael * clôd gan ddynion, neu mewn tŷb eu bôd hwy trwy hynny yn haeddu bywyd tragwyddol; canys nhwy ŵyddant na's gallant haeddu hynny, o herwydd bôd eu gweithredoedd goreu yn * ammherffaith; ac oblegid eu bôd hwythau, ar ol gwneuthur y cwbwl oll ac a orchymynnwyd iddynt yn † weision anfuddiol, *Mat. 6. 2. *Esa. 64. 6 Phil. 3. 12. † Luc. 17. 9, 10.

ddiol, o ran haeddu 'r nefoedd a bywyd tragwyddol ar law Dduw.

‖1 Cor. 10. 31. Ond y mae eu hufydd-dod hwy yn ‖ amcanu at ogoniant Duw yn ei ddiwedd, ac yn tarddu allan o wîr * gariad atto, o herwydd iddo fe eu caru nhwy yn † gyntaf, trwy roddi ei vnig anedig a'i anwyl fâb, i ddodi ei fywyd i lawr trostynt i cadw nhwy, pan oeddent ( trwy eu gweithredoedd drwg) yn ‖ elynion iddo, ac yn * haeddu damnedigaeth tragwyddol yn nhân uffern ar ei law ef.

*Gal. 5. 6.

†1 Joan 4. 9, 10, 19.

‖Col. 1. 21

*Rhuf. 6. 23.

Dat. 21. 8. Y nawr y neb ac sydd fel hyn (yn fychain neu 'n fawrion) yn meddiannu yr Arglwydd *Iesu*, i glanhau hwynt â'i waed ac â'i yspryd, ydynt yn *Aelodau i Ghrist, yn Blant i Dduw, ac yn Etifeddion o Deyrnas nefoedd:* Ac nid yw y rhai sydd heb Ghrist, sef y sawl sy'n byw mewn pechodau ac annuwioldeb felly, er eu bedyddio â dwfr, oddi eithr mewn proffes, ac enw, ac yn ei tŷb eu hunain, ac ynghyfrif rhyw ddynion eraill: *Ond y mae 'r cyfryw, er ei bôd yn gristianogion ac yn blant i Dduw mewn proffes ac enw, etto mewn gwirionedd yn Elynion i Dduw, yn Blant ir Diawl, ac ar y ffordd i fôd yn Bentywynion tân vffern.*

Eph. 5. 30

Joan 1. 12

Rhuf. 8. 17

Luc. 19 27

1 Joan 3 8

Joan 8. 44

Datc. 21. 8.

Fe fedyddiwyd *Simon* y Swynwr â Dwfr, ac yr oedd efe yn vn o'r Eglwys weledig: ac etto nid oedd efe na gwîr Aelod i Ghrist, na Phlentyn i Dduw, nac Etifedd o Deyrnas nefoedd; *canys y mae Pedr yn dywedyd, nad oedd ei galon ef yn vniawn ger bron Duw, ac ei fôd ef mewn bustl chwerwedd, ac mewn rhwymedigaeth anwiredd.*

Act. 8. 21, 23.

Os Dwfr y bedydd sydd iw ddeall yn y drydydd o *Ioan* a'r bummed adnod, ( fel y mae rhai yn tybied, er fod eraill ( ar reswm crŷf ) yn cymmeryd y lle hwnnw mewn ystyr arall ) etto y mae

Christ

Chriſt yn dywedyd yno yn blayn ac yn eglur, *oddi eithr geni dyn* ( nid yn vnig ) *o ddwfr*, ( ond hefyd) *ac o'r yſpryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw*. Ac medd yr Apoſtol *Paul, heb ſancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd*; ac *ni chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw: A'r Sawl a arweinir gan yſpryd Duw, y rhai hyn ſydd blant i Dduw, ac od oes neb heb yſpryd Chriſt ganddo, nid yw hwnnw yn eiddo ef*. Ac o herwydd hynny, ni ellir dywedyd ſôd y rhai a fedyddiwyd â Dwfr, yn wîr *Aelodau i Ghriſt*, yn *Blant* i *Dduw*, ac yn *Etifeddion* o Deyrnas nefoedd, oni byddant heb law y bedydd dwfr wedi derbyn bedydd ( hynny yw ſancteidd-iad ) yr yſpryd glân, a chymmhwyſiad o waed *Chriſt* at eu heneidiau. Ac am hynny ( mewn pôb tybygoliaeth ) fe chwanegodd Mr. *Prichard* raſſol y geiriau pwyſig hyn at eiriau 'r Catechiſm, *Rwi yngbriſt yn ore yngbyſtwr*. Heb. 12. 14. 1 Cor. 6. 9. Rhuf. 8. 9, 14.

Os gofyn neb gan hynny, Pa leſâd ſy'n dyfod o fedydd dwfr? Yr wyfi yn atteb.

Yn gyntaf, Fe ddichon y gwîr Griſtion, ac ſydd yn deall ei fedydd, ſiccrhau ei hunan, oddiwrth y rhinwedd ac ſydd (yn y rhan, a'r arwydd gweledig o'r Sacrament hon, ſef ) yn y dwfr, i lanhau y corph oddiwrth frynti oddi faes; ſôd rhinwedd ( yn yr anweledig ran o'r Sacrament, ac a arwy-ddocair wrth y rhan weledig, ſef ) yngwaed ac yſ-pryd Chriſt, i lanhau yr enaid oddiwrth frynti oddi fewn, ſef oddiwrth euogrwydd ac halogrwydd pechod. Zech. 13. 1. Datc. 1. 5. 1 Cor. 6. 11.

Yn ail, Fe ddichon y gwîr griſtion er mawr gyſſur idd ei enaid, edrych ar ei fedydd megis † ſêl o faddeuant ei holl bechodau ef yn neilltuol; canys fe all ſiccrhau ei hunan, fôd gwaed ac yſpryd Chriſt † Rhuf. 4. 11. Act. 22, 16. Eph. 1. 7.

Gal.3. 27. wedi gymmhwyso at ei enaid ef, iw lanhau ef oddiwrth ei bechodau, mor siccr ac mor ddilys, ac y cymmhwyswyd y dwfr at ei gorph ef pan y bedyddiwyd ef.

Yn drydydd, fe ddichon y gwîr gristion gael ei gynhyrfu oddiwrth ei fedydd, (*yr hwn a elwir yn fedydd edifeirwch*) i ymlanhau fwy fwy, trwy gymmorth yspryd Christ, oddiwrth pob halogrwydd cnawd ac yspryd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn ofn yr Arglwydd: canys wrth feddwl am ei fedydd, fe ddichon gofio y rhwym, y ddodir trwy fedydd ar bobl i edifarhau, i farw i bechod ac i fyw i gyfiawnder, gan ddwyn ffrwythau addas i edifeirwch, er gogoniant i Dduw, a chysur iw heneidiau eu hunain; Ac ble bo enaid a dim o wîr gristnogrwydd ynddo, nid all ef lai, pan meddylio am y rhwym y ddodwyd arno nac ymdrechu cyflawni hynny, gan wybod nad oes dim iesto neu gytcam â Duw.

Mar.1.4. 2 Cor.7.1. Mar.1.4. Rhuf. 6. 3. ir 7. Mat.3.8. Joan 15 8. Gal.6.7.

Rhai y fyn arwyddocau y rhwym hyn trwy ddodi 'r holl gorph dan y dwfr, a'i dderchafu ef i fynu o'r dwfr wrth fedyddio; er fôd eraill yn gwybod, megis ac y mae un tammaid o fara, ac un llwyed o wîn yn y Sacrament arall, yn ddigon i arwyddocau y dirgeledigaethau ynddi, felly y mae gostwng y corph i fwrw ychydig o ddwfr arno (megis prîdd ar ddŷn marw) a'i dderchafu ef †gwedyn, yn ddigon o arwydd i arwyddocau y rhwym a osodir mewn bedydd, i farw i bechod, megis y bu Christ yn farw dan y ddaiar am bechod, ac i gyfodi i fynu i gyfiawnder a newydd-deb buchedd megis y cyfododd Christ o'r bêdd.

† *tar ôl hynny.*

Yn Bedwarydd, pe iawn ystyriei pobl y rhwym a ddodwyd arnynt yn eu bedydd, fe allei hynny

trwy

(trwy fendith Duw) daro dychryn ynddynt hwy, am eu bôd yn torri cyfammod a Duw, trwy esceulusso byw yn ôl y rhwym y ddodwyd arnynt y pryd hynny; ac ar y dychryn hynny, hwy allent ddechre troi eu hwynebau tua 'r nefoedd, i geisio grâs a thrugaredd. O herwydd megis y mae drwg weithredwyr (er eu bôd yn gristianogion mewn enw) yn bwytta ac yn yfed barn iddynt eu hunain yn swpper yr Arglwydd, trwy fwytta ac yfed yn annheilwng mewn anwybodaeth a phechod: felly trwy dorri 'r cyfammod a wnaeth Duw â nhwy yn eu bedydd, trwy esceuluso edifarhau am eu pechodau, credu ynghrist, a byw yn ôl gorchymynnion Duw fel y rhwymwyd hwy y pryd hynny; ond byw yn ôl ewyllys Satan, a drwg arfer y Byd, a phechadurus chwantau eu cnawd eu hunain, y rhai y rhwymwyd hwy iw gwrthod pôb yr vn, y maent megis anudon-wyr ar y ffordd i dynnu rhagor o ddialedd Duw ar eu gwartha, nag y mae y rhai na ddodwyd y rhwym hynny erioed arnynt. Mi Gynghorwn gan hynny, ir Sawl sydd *Dyngwyr*, *Rhegwyr*, *Putteinwyr*, *Gwatwarwyr*, *Cynfigenwyr*, *Rhagrithwyr*, *Cynhenwyr*, *Gorthrymwyr*, *Halogwyr*, *Sabboth*, *Esceulusswyr i addoli Duw* (trwy weddi a mawl yn ddirgel, yn eu teuluoedd ac yn gyhoeadus) *Dirmygwyr* Gair Duw a sancteiddrwydd, a phobl gristianogaidd, *Meddwon*, *Beilchion*, Bydolion, Ffeilstion ar rhai Angnhabyddus o bethau rheidiol iw gwybod i iechydwriaeth, &c. Mi gynghorwn meddafi, ir rhain a'r cyfryw, ac ydynt gristianogion yn vnic mewn Enw a phroffes, os mynnant hwy fôd yn wîr *Aelodau i Ghrist*, *yn Blant i Dduw*, ac yn *Etifeddion o Deyrnas nefoedd*, a chael cysur oddi wrth eu *Bedydd*, ar iddynt droi at Dduw trwy * *Iesu Ghrist* â chalon † alarus am eu pechodau,

1 Cor. 11. 29.

Mat. 11. 24

Tit. 1. 16.

* Jo. 14. 6.
† Jac. 4. 9.

‖Luc. 18. pechodau, gan ymroi i ddeisyf ei ‖ drugaredd ai ffa-
*Heb.11.6 far ef, ac i *gredu ynddo, ac i †vfyddhau iddo, trwy
†Heb.5.9. adel eu ‖ ffyrdd ddrygionus, a byw yn dduwiol, yn
‖Esa.55.7 sobr, ac yn * gyfiawn, o ddydd eu troedigaeth hyd
*Tit.3.12. † ddiwedd eu heinios.
†Luc.1.75

Heb.7.25. Y mae Christ yn abl ac yn ewyllysgar i gadw 'r
Mat.11.28 gwaetha o bechaduriad ac a droant atto, ac am
Jo.6. 37. hynny os bydd neb damnedig (fel y mae 'n siccr y
†Mat.7.14 bydd † miloedd) diolchent i neb ond iddynt eu hunain, *Hos.13.9.*

*Matter mawr pwysig yw hwn, ac am hynny ni e-*
† Yn dra *llwn ni lai na'i agoryd e 'n helaeth, gan wybod ar v-*
anhawdd. *gain mlynedd o brofiad, ei fod e'n beth † anodd iawn i wneuthur pethau Duw yn blayn neu 'n eglur ddigon i ddealltwriaeth y cyffredin bobl. Ac o herwydd hynny yr wyfi yn gobeithio, y cymmer y duwiol Dyscedig fy helaethrwydd i mewn part neu ystyr da; yn enwedig os ystyriant hwy, i mi gael fy arwain, i eglurhau y pwngc hwn yn y modd hyn, trwy ofn mawr ac oedd ynnwyf, y byddei ir anwybodus a'r cynddyn annuwiol, wrth ddarllain y man hyn o'r catechism gamsynnied a thybied, (heb feddwl dim am yr edifeirwch a'r ffydd, a'r ymwrthodiad a'r Diawl a'i holl weithredoedd, ynghŷd â gwagedd y Byd hwn, a phechadurus chwantau 'r Cnawd, a rhodio yn ôl gorchymynnion Duw holl ddyddie eu heinioes, ac y mae Eglwys Loeger, yn y Catechism hwn, îe a Christ eu hunan yn ei Air, yn disgwyl am dano, oddiwrth y rhai y fedyddier pan ddelont i oedran) eu bôd hwynt hwy, o herwydd yn vnig eu bedyddio â dwfr yn Aelodau i Ghrist, yn*
Jo. 1.12. *Blant i Dduw, ac yn Etifeddion o Deyrnas nefoedd,*
Gal.5.24. *pan mewn gwirionedd nid ydynt felly, nes y troant at*
1Cor.5.17 *Dduw trwy Ghrist, oddiwrth eu ffyrdd ddrygionus.*

*Ni synnwn ni er yr holl fyd, gan wybod pa mor*

*werthfawr yw eneidiau pechaduriaid, ac pa mor chwerw ac echrydus fydd ymddangos o flaen Duw â gwaed pobl yn gorwedd arnom, ddanfon dim allan yn eu mysc, ac y allei fôd yn achos i twyllo nhwy, ac i beri iddynt fyned yn llawen tuag uffern, gan dybied eu bôd yn Blant i Dduw pan nad ydynt, ac felly ymgaledi eu hunain yn eu drwg, trwy ddywedyd heddwch wrth eu calonnau eu hunain, pan nad yw Duw yn dywedyd mo hynny wrthynt.* Ezek. 33. 8 Deut. 29. 19. Esa. 57. 21.

*Or dwyd ti ( Ddarllenydd anwyl ) yn tybied, nad wyfi gwedi scrifennu ymma ond fy marn fy hûn yn hyn o beth, mi attolygaf arnat ti wneuthur megis y gwnaeth y †Beraaid ag athrawiaeth* Paul, *sef profi'r cwbwl wrth y scrythyrau sanctaidd: canys ni cheisiaf i gennit ti gredu mo honofi, ond cyn belled ac yr ydwyfi yn dywedyd yn gyttun â hwynt hwy.* †Act. 17. 11 1 Thess. 5. 21.

*Ac yr wyfi yn gobeithio fôd dy reswm dy hûn yn dy ddyscu di,* Ei fôd e'n Ddyledswydd yn gorwedd arnat ti, i gredu pôb peth ac y mae Duw yn ei Air yn ei ddatcuddio, pa fôdd bynnag y dodir hynny o'th flaen di. *A thydi y* Cymro *vn-iaith, Deisyf ar ryw un medrus, i gyfiethu i ti y peth sy'n canlyn yn Saesneg, yr hyn y mae Escob duwiol dyscedig, sef* Escob Nicholson *o* Gaerloyw *yn ei ddywedyd yn y matter hwn, wrth agoryd ac ecsponio y Catechism hyn: canys y mae efe yn dangos ( mewn ychydig o eiriau ) pa rai (yn sens neu ystyr y Catechism) ydynt wir* Aelodau *i* Ghrist, Plant *i* Dduw *ac* Etifeddion *o* Deyrnas nefoedd. *Ac felly bydd wych*

*S. H.*

---

The

## The Right Reverend Bishop of *Glocester*, in his Exposition of the Catechism of the Church of *England*, saith thus, Page 15.

### 1. A *Member of Christ.*

'That is, to be reckoned Christians: for Christ 'is the head of the Church, and all Christians the 'body, of which every one that professeth Chri-'stian Religion is a part, and is so to be esteemed. 'But these parts are of two sorts.

Col.1. 18. Eph. 1.22 23. Eph 4.16.

1. 'Either *Æquivocal* parts, so taken and re-'puted by us, such as are a Glass-Eye, or a Wood-'en-Leg to a Man, which are so called, but truly 'are not such: and whosoever profess the super-'natural verities revealed by Christ, and make 'use of the holy Sacraments, may in this sense be 'called the Members of Christ, because they are 'reckoned for parts of his visible Body.

1 Joh. 2. 19 Heb.6.4,5 6. Mat.13.24 25,47.

2. 'Or *Univocal* parts, That in name and na-'ture are true Believers, which are indeed the true 'Members of Christ: and do belong unto his My-'stical Body, and receive from him, as from their 'Head, life, sense and motion. They are united 'to him, live in him, and are informed by his Spi-'rit. They are washed and regenerated by his 'Blood. And they have his Righteousness impu-'ted unto them, By which they are freed from the 'guilt and punishment of Sin. This the Apostle 'teacheth, 1 *Cor.* 1.30. *But of him ye are in Christ* '*Jesus, who of God is made unto us, Wisdom, Righ-*'*teousness, Sanctification, and Redemption.*

John 15.5 1Cor. 12. 12,13. Ephes.4.4 Rom. 8.1. Rev. 1. 5. 1 John 1.7.

And

" And to these last only, the two next Priviledges
" belong: to be, first, *A Child of God:*
" 2dly, *An inheritor of the Kingdom of Heaven.*

---

Hol. *Pa beth yw'r llw a'r Ammod,*
*Y wnaeth dy feiche drossod,*
*Pan derbyniaist hyn o fraint,*
*Ym-mhlith y Sainct trwy gymmod.*

*At.* Addawsant dri pheth drossof,
Nas gadaf byth yn angof,
Ond mi cadwaf hwynt i gyd,
Trwy Dduw tro bywyd ynof.

Hol. *Beth ydyw 'r tri pheth hynny,*
*Addawsant id' gyflawni,*
*Pan yr oeddyt mor ddirym,*
*Mynega im os medru.*

*At.* 1. Yn gynta bôd im wrthod,
Y Diawl, a'i dwyll, a'i gymmod,
A'r bŷd anwir, mawr ei wawd,
A chwanteu 'r cnawd a'i bechod.

2. Yn nessa bôd im gredu,
Holl bwngcie ffydd Christ Iesu,
Y rhai 'n y Gredo, bôb yr vn,
All bôb rhyw ddŷn ei dyscu.

3. Yn drydydd cadw 'n † garccys
orchmynnion Duw a'i 'wllys,
A byw 'n ei hôl yn dda fy moes,
Hôll ddyddie f'oes yn weddys.

H. *Beth ydwyt ti yn dybied?*
*A'th rwymwyd di cyn gaethed;*
*Ae y rhaid itt' gredu hyn,*
*A'i cwpla 'n dynn trwy weithred.*

† Gofalus.

 *At.*

A. Yn wir rwi 'n rhwym i gredu,
Ac hefyd i gyflawni
Hyn i gŷd, a hynny wnâf,
Trwy nerth Duw *Nâf* heb ffaelu.

Ac yr wyf yn ddiolchgar,
Im Duw am gymmaint ffafar,
Am galwodd i ir cyfryw ftâd,
YnGhrift fyng Heidwad hygar.

Ac mi t'olygaf arno,
Roi grâs im byth i drigo,
Yn y cyfryw ftâd trwi byw,
Nes tynno Duw fi atto.

H. *A Drodd immi yn bryssur*
*Holl fannau 'th ffydd yn eglur:*
*A mynega im ar llêd,*
*Beth yw dy Gred ath bydyr.*

A. RWi 'n credu yn *Nuw* galluog,
Tâd *Jesu Grist* drugarog,
Creawdwr nêf a daer a dwr,
A'u pen Rheolwr enwog.

Joan 14. 1. Yr wyfi 'n credu hefyd.
YnGhrift fy Mhrynwr hyfryd
Y wnaed yn Ddŷn o'r wyryf *Fair*,
† *Lân.* Trwy râd ei † ddiwair yfpryd.

Yr hwn a wîr ddioddefwys,
Dros ddŷn dan *Bons Pilatwys:*
Ac a hoelwyd ar y groes,
Nes marw o'r loes a'i lladdwys.

A chwedi marw ar Groef-pren,
Fe gladdwyd yn y ddaeren:
Fe ddifcynnodd er ein mwyn,
Act. 2. 31. I vffern dwym, aflawen.

Ar

Ar trydydd dydd fe gododd, 1Cor.15.3
O farw llei gorweddodd, 4.55.57.
Gwedi Gorfod Angau glâs,
A'r Gelyn câs a'n twyllodd. Heb. 2.14.

Ac yno fe dderchafwys,
Ir drydedd nêf yn gymmwys,
Llei heiste nawr ar law ddê 'r Tâd, Mar.16.19
yn Geidwad idd i Eglwys.

O'r Nêf fe ddaw yn hoyw,
I farnu r byw a'r meirw, Phil 3.20.
Mewn gallu a gogoniant mawr, Act.10.42.
Pan dêl yr awr i'n galw. Mat.24.30

Rwi 'n credu 'n ffyddlon hefyd,
Ir Glân a'r Sanctaidd yspryd, 1Joan5.7.
Sy'n deilliaw oddwrth y Tâd a'r Mâb, Jo.15.26.
Gwîr Roddwr Rhâd a Bywyd.

Rwi 'n credu yn * fuwredig, *Sicer.
Fôd † Eglwys lân || Gatholig, † Cynnu-lleidfa
O bôb * Nasiwn, oes a thîr, || Gyffredi-
Gan *Ghrist* yn wîr gadwedig. nol wedi

Rwi 'n credu bôd yn gyngan, galw allan
I bawb o'r Saint eu cyfran, o bôb *cen-
Yn *Jesu Grist* ein Prynwr drûd, hedl. Eph.
Ai ddoniau' gŷd yn gyfan. 5. 25,26, 27. Act.10 35.

Rwi 'n credu bôd maddeuant,
I bawb a *wir 'ddifarant*, Act.3.19.
Er mwyn Mab Duw a dalodd iawn, Eph.1.7.
Tra chyflawn am ei nwyfiant.

Rwi 'n credu Adgyfodiad, Jo.5.28 29
Im Cnawd pan del yr *Vnad, † Barnwr.
A'i vdcorn mawr i'n codi o'r llywch, 1Thes.4.16
I gyfri cywch ar lleuad. Rhuf.14. 10,12.

Mat. 25. 34, 46. Ac yr wi 'n credu 'n hollol,
Fôd Bywyd mawr tragwyddol,
I holl Blant Duw a'r Saint ynghŷd,
1Cor. 15. 19 Yn ôl y Byd presennol. *Amen.*

*Pa. H. *Pwy * bethau 'n benna ddyscaist,*
*O'th Gredo 'rhon adroddaist ?*
*Cais grynhoi yn fyrr ynghyd*
*Ffrwyth hyn i gyd a draethaist.*

*A.* Rwi 'n dyscu credu 'n gynta,
Yn *Nuw* 'r gwîr Dâd gorucha,
Gen. 1. 27. Rhwn a'm creawdd a'r hôll Fŷd,
Mewn dull a phrŷd o'r glana.

Yn ail yr wyf yn credu,
Yn Nuw 'r Mab f'Arglwydd *Jesu,*
A'm Prynodd i a phôb rhyw ddŷn,
A'i waed ei hun i'n helpu.

Yn drydydd credaf hefyd,
I Dduw 'r Sancteidd-lan yspryd,
1Cor. 6. 11 Am Sancteiddiodd a phob rhyw,
Eph. 1. 4. Etholodd Duw i fywyd.

H. *Di addewaist trwy feicheon,*
*Lwyr gadw 'r holl orchmynnion :*
*Pa sawl vn o'r rhain y sydd,*
*Iw cadw 'n brudd o'r galon ?*

*A.* Mae dêg gorchymmyn croyw,
Y roes Duw inni cadw:
Nid oes torri vn o'r rhain,
Rhag mynd yn gelain farw.

H. *Pa rai er Christ yw rheini ?*
*Moes glywed, praw eu henwi :*
*Cais fyw 'n sanctaidd yn eu hôl,*
*A gwna hwy 'n Rheol itti.*

A. Y rhai ar fynydd *Sina*,
A draethodd Duw goruchaf,
i enau hun o'r tân a'r mwg,
Yng olwg ei gymmanfa.

A'r rhai trwy ddwylo *Moesen*,
Y roes Duw ar ddwy * dablen ; *Llech. Deut. 9.10
Gwedi † printio â'i fys ei hun, † *Scrifennu.*
Yn hawdd i ddŷn i darllen.

Y rhai sydd ddigon eglur,
Iw tynnu maes o'r Scrythur,
O'r ugeinfed bennod dlws,
O *Exodus* gymmessur.

H. *Beth yw 'r Gorchymyn cynta,*
*Ar ail a'r llaill ? mynega :*
*Praw eu traethu cymmain-hûn,*
*Yn oed yr vn diwetha.*

A. 1. MYfi yr holl-alluog,
Yw d' Arglwydd Dduw trugarog:
Na fyn vn Duw ond myfi
Sydd vn a thri galluog.

2. Na wna un Ddelw itti,
Cerfiedig iw haddoli ;
Na llûn dim o'r Nêf na'r Ddaer,
Na'r Dwr, na'r * Aer im † *Siommi.* * *Awyr.* † *Digio.*

Na ostwng i'r fath wagedd,
Na ddola 'r fâth oferedd ;
Pridd, a choed, a cherrig * ŷn, * *Ydynt:*
Gwaith dwylo dŷn a'i fyssedd.

Cans myfi d' Arglwydd grymmus,
A'th * Jôr wyf Dduw eiddigus, * *Arglwydd.*
Sy'n ymweld a phechod cant
O dadau, ar Blant camweddus.

Ac yn rhoi cospedigaeth,
Hyd dair oes a chenhedlaeth,
O'r rhai sydd yn fy nghasau,
Trwy garu gau-addoliaeth.

Gan ddangos trugareddau,
I'r sawl a gatwo 'n neddsau,
Ac idd eu Plant a'u hâd a'u hîl,
Hyd fil o Genhedlaethau.

3. Nac Enwa Dduw vn amser,
Heb ofon, parch a phryder;
Cans nid gwirion yw dy lw,
Os cymru ei Enw 'n ofer.

4. Cofia gadw yn sanctaidd
Y Sabboth wenn yn weddaidd,
A threulio 'r Sûl tra fech di byw,
Yn Addoli Duw 'n gristnogaidd.

Fe rows Duw chwech diwrnod,
Id weithio d'orchwyl * priod:
Y seithfed Dydd rhaid cwympo 'n faith,
I weithio gwaith y *Drindod*.

*Dy hun.

Ar y diwrnod hwnnw,
Na wna ddim gwaith serch marw,
Na'th fâb, na'th ferch, na'th wâs, na'th farch,
A'r dierth arch i gadw.

O achos mewn chwech die,
Y gwnaeth Duw 'r Bŷd a'i bethe,
A'r nêf, a'r Ddaer, a'r môr, a'u llû,
A'r cwbwl sŷ'n-eu * dible.

*Yn y cwrre eithaf o honynt hwy.

A'r seithfed dydd f'orphwysodd;
Gan hynny fe fendithiodd,
Yr Arglwydd Dduw y seithfed dydd,
Ac ef a'i prûdd sanctéiddiodd.

Rho

5. Rho barch a gwîr vfydd-dod,
I'th Dâd a'th fam yn waſtod,
Fel 'hyſtynno Duw yn hir
Dy oes ar dir dy drallod.

6. Gwachel ladd vn Chriſtion,
Na thywallt gwaed y gwirion:
*Gwaed y lêf yn dôſt ei lais:* Gen. 4. 10.
*Duw ddial trais llofruddion.*

7. Na wna odineb aflan, Dihar 5.
Gwna 'n fawr 'oth wraig dy hunan: 15, 18.
Yf dy ddwr o'th * winſh dy hun, *Ffynnon.
Na chwrdd ag vn oddiallan.

8. Na ledratta † ſymryn, †Y gronyn lleiaf.
Trech byw, o olud vn-dyn:
Na thwylla neb: nac arfer drais,
* Serch godde clais a newyn. *Er.

9. Na ſydd di dŷſt celwyddog,
Yn erbyn dy gymmydog:
Dywaid wîr am bob rhyw ddŷn:
Na * ſclawndra vn di-euog. *Na chamgyhudda.

10. Na chwennych dŷ cymmydog,
Na'i wraig, na'i wâs calonnog:
Na'i forwyn wenn, na'i farch, na'i ŷch:
Na dim na bych perchennog.

*O Arglwydd Dduw bydd dirion,* Gweddi.
*wrth bawb o'th Blant, a'th weiſion;*
*Goſtwng di 'n calonne 'n faith,*
*I gadw 'th gyfraith gyſion.*

*O Arglwydd graſol madde*
*Ein pechod a'n troſſedde;*
*A ſcrifenna 'r gyfraith hon,*
*Ar leche ein calonne.*

H. Beth wyt ti 'n ddyscu 'n benna,
O'r gyfraith hon? mynega;
A rho im yn gryno 'nghyd
Ei ffrwyth i gyd yn gwtta.

A. Rwi 'n dyscu dau beth enwog,
Fy nau ryw ddyled serchog,
Vn tuag at fy Arglwydd Dduw,
Llall at pob rhyw gymmydog.

H. *Yn gynta moes im glywed,*
*Yn gyflawn beth yw 'th ddyled,*
*At yr hôll-alluog Dduw,*
*Sy'th rwymo i fyw yn gystled.*

Heb.11.6. Heb.12.28 Mat.22.37. A. Fy nyled at Dduw cyfion,
Yw credu yndo 'n ffyddlon,
A'i ofni 'n fawr trwy barch a ffydd,
A'i garu 'n brûdd o'm calon:

Deut.12.32. *Yno i wîr addoli,* Mat.4.10.
*Fel y mae Air yn erchi:*
Psa.145.2 A'i fendithio bob yr awr,
Am dan ei fawr ddaioni:

A llwyr ymddiried yndo,
A galw 'n gywir arno,
Perchi Air, a'i Enw 'n brûdd,
A bod yn vfydd iddo:

Ac felly ei Anrhydeddu,
Yn gywir ei wasnaethu,
Ddydd a nos tra ynof chwyth,
Ar eitha byth o'm gallu.

H. *Beth yw dy ddlyed enwog*
*Tuag at bob rhyw gymmydog?*
*Moes i glywed immi 'n glur,*
*O galon bur yn rhwyog.*

Fy nyled at gymmydog,
  Yw garu 'n daran serchog, Mat. 22. 39.
Fel y caraf fi fy hun,
  Pyt sae fy ngelyn llidiog: Mat. 5.44.

A gwneuthur i bôb Christion,
  Fel y dymune nghalon, Mat. 7. 12.
Iddynt hwythe wneuthur im,
  Heb ddangos * llym fessuron: *Tôst, caled.

A charu fy *Rhieni*,
  A'u cymmorth hwy a'u Perchi: 1 Tim. 5 4.
A gwneuthur heb ddim nâg, na sôn,
  Bôb *peth a fôn yn erchi: *Sef, pôb peth cyfreithlon.

Ac vfuddhau i'r *Brenin*,
  A'i swyddwyr sy'n f'amddiffyn: 1 Pet. 2. 13, 14.
A'i anrhydeddu trwy fawr barch,
  A gweithio ei Arch yn ddiflin: Act. 4. 19.

A gostwng im dyscawdwyr,
  Athrawon a chynghorwyr, 1 Thess. 5. 12, 13.
Sy'n cyfrwyddo immi fyw,
  Wrth wllys Duw a'r scrythyr:

A pherchi mawr a bychan
  O'm gwell o bôb rhyw oedran, 1 Tim. 6. 1. Lev. 19. 32
Ac ymostwng iddynt hwy,
  Heb wneuthur mwy o dwrddan:

Ac na wnelwyf niwed,
  I nêb ar Air na Gweithred, Mat. 5. 22. Lev. 19. 17
Na dwyn câs at vn rhyw ddŷn;
  Na chlwyfo vn ar aned:

A chadw 'nghorph yn dempraidd,
  Yn sobor ac yn sanctaidd, 1 Thess. 4. 3, 4, 5.
Rhag pôb rhyfyg fel rhag * plag, Mat. 5. 28. *Chwaren.
  Yn † ddiwair ac yn weddaidd: † Dihalog.

A

Eph.4.28. A chadw 'n nwylo 'n benna,
1 Thes.4.6 Rhag whiwo a lledratta,
Ac rhag gwneuthur twyll na cham,
Ond gweithio am eu bara:

Eph.4.25. A chadw 'nhafod beunydd,
Psa.50.19. Rhag cabledd, twyll, a chelwydd,
† *Vn heb broffes gristnogol.* Ac rhag dwedyd drwg am neb,
Fel † ethnic heb ei fedydd:

A chadw nghalon angall,
Rhag chwennych golud arall;
2 Thess. 3. 8, 10. Ond trafaelu wrth fôdd Duw,
I geisio byw yn ddiwall.

Rhuf.7.18 Addysg. *Gwybydd hyn yn eglur,*
*Nad wyt ti 'n abal gwneuthur,*
Rhuf.3.12 *Hyn i gŷd o'th rym dy hun,*
*Lle 'rwyti 'n ddŷn pechadur.*

Ni elli gadw 'r Gyfraith,
Na rhodio yndi 'n berffaith;
Jo.15.5. Na gwasnaethu Duw 'n ddifrâd
† *F'anwylyd.* Heb gael ei Râd ef († f'anrhaith)

Gan hynny rhaid id ddysgu,
Trwy weddi attolygu,
Ar Dduw mawr o hyn i mâs,
Roi nefawl *Râs* i'th helpu.

H. *Moes glywed im gan hynny,*
*A fedru di fynegu,*
*Gweddi 'r Arglwydd yn ddibaid?*
*Ond ê mae 'n rhaid ei dysgu.*

*A.* Ein Tâd o'r drydedd Nefoedd,
Ein Tâd trwy *Grist* a'n prynodd,
Sancteiddier byth dy enw mawr,
Gan bawb (bob awr) o'th lûodd.

Dewed

Dewed dy deyrnas rasol,
I'n plith, dy Blant, dy bobol,
A rheola ni bob pryd,
A'th Air a'th yspryd nefol.

Dy wllys di wnel dynion,
Ar dîr ym-mysg daerolion ;
Fel 'n y Nêf y gwnair heb nâg,
Gan † Thronau ag Angelion.

† *Gorsedd-feingciau, neu Awdurdodau, sef Angelion, ysgatfydd o râdd uchel.*

Rho heddyw inni fwytta,
Bob rhai 'n beunyddawl fara,
A phob peth sydd raid i ni
'th wasnaethu di 'r Gorucha.

A maddeu i ni 'n pechode,
Fel y maddeuom ninne,
I'r sawl a wnaethont lawer gwaith,
I'n herbyn saith drosedde.

Nac arwain ni yn ddirgel,
I brofedigaeth uchel :
Ond gwared ni, rhag pôb drwg † ffawd,
O'r Byd, a'r Cnawd, a'r Cythrel.

† *Damwain, Shawns.*

Cans tydi bie 'r deyrnas,
A'r nerth a'r gallu o gwmpas,
A'r gogoniant ôll i gyd,
Hyd ddiben Byd yn addas. *Amen.*

H. *Beth wyt ti yn ei geisio,*
*Gan d' Arglwydd wrth weddio,*
*Yn y weddi fychan hon,*
*Gan droi d' olygon atto ?*

*A.* Yn gynta 'r wyfi 'n erchi,
Ar f' Arglwydd, Tâd goleuni,
Roi ini râs tra fom ar dîr,
Bob rhai i wîr addoli.

Gwedin

| | | |
|---|---|---|
| † Ar ol hynny. * Dymuno. | Gwedin † 'r wyfi 'n * eiriol,<br>Am bôb peth anghenrheidiol,<br>I'r eneidie a'r cyrph ynghyd,<br>Tra ni 'n y bŷd presennol: | |
| | A madde ein hôll ddrygioni,<br>Ein beiau ôll a'n gwegi,<br>A thrugarhau wrth bawb ar llêd,<br>A wnelont niwed inni: | |
| ‖ Mae pob pechod yn farwol, Rhuf. 6. 23. † Enbydrwydd. * Barnedigaeth. | A'n cadw yn ddihangol,<br>Rhag pob rhyw bechod ‖ marwol,<br>A phob † perig, a phob * plâg<br>Corphorol ag ysprydol. | |
| ‖ Aberth yr annuwiol fyddffiaidd gan yr Arglwydd. † Fy arch. | A hyn yr wi 'n ‖ obeithio,<br>Y wna fy *Nuw* heb beidio,<br>Er mwyn ei fâb fy Mhrynwr gwyn<br>Y gaiff † fy nghanlyn gantho. | Dihar. 15. 8.<br><br><br>Ps. 66. 18. |

H. *Attebaist hyn yn gymmwys,*
*Mynega im cyn gorphwys,*
*Pa sawl Sacrament di-drist,*
*Ordeiniodd Christ iw Eglwys ?*

*A*. F' ordeiniodd ddau 'n ei fywyd,
Tra rheidiol at ein Jechyd:
Y cynta o'r ddau yw bedydd pûr,
Yr Ail yw 'r Swpper hyfryd.

H. *O dwyt ti yn deallu,*
*Dymunwn it hyspyssu,*
*Beth yw Sacrament yn bûr ?*
*Mynega 'n glûr os medru.*

Mae

Mae'n Arwydd * plaen gweledig,
O ddirgel ras † arbennig ;
Trwy 'r hwn y rhoddir Christ ei hun ,
Ai ddonie i ddŷn cadwedig.

* *Eglur.* † *Rhagorol.* 1 Cor. 10. 16. *Yr hwn sydd yn bwytta, ac yn yfed yn annheilwng, sydd yn bwytta, ac yn yfed barnedigaeth iddo ei hun; ac mae efe yn euog o gorph a gwaed Christ.* 1 Cor. 11. 27, 29. *y rhai annuwiol, er eu bedyddio hefyd, nid ydynt gyfranogion o Ghrist ai ddonie mwy nâ* Simon Magus *y fedyddiwyd.* Act. 8. 13, 23.

H. *Pa nifer sydd o rannau,*
*Ym-mhawb o'r Sacramentau?*
*Maneg im ar goedd y plwy,*
*A dangos hwy yn olau.*

*A.* Mae † dwy ran amlwg meddynt,
Ym mhôb yr vn o honynt,
Yr Arwydd amlwg or tu fâs,
A'r dirgel râs sydd ynddynt.

† *Craffwch ar hyn, mae dwy ran mewn Sacrament, sef, yr Arwydd o'r tu fás, a'r Peth y arwyddocair wrtho. Mae'r Papistiaid yn camsynied yn ddirfawr, trwy ddyscu a chredu, fôd y Bara a'r gwîn yn y Swpper sanctaidd, nid yn arwyddion o gorph a gwaed Christ, ond eu bod hwy trwy gyssegriad yr offeiriad, wedi eu troi i fôd yn wîr Gorph ac yn wîr waed iddo. A pha ham hynny* * *ardolwyn? Ond oblegit i Ghrist ddywedyd wrth ordeinio a rhoddi y swpper honno, am y Bara, hwn yw fy nghorph, ac am y Gwîn, hwn yw fy ngwaed.*

* Attolwg. Mat. 26. 28.

I hyn yr wyfi yn Atteb, fôd ein Harglwydd *Jesu Ghrist* yn dywedyd llawer am dano ei hunan, ac sydd iw ddeall, nid yn *llythrennol*, ond yn *ysprydol*, trwy † *Droedigaethau*, hynny yw, dull o ymadroddion, trwy ba rai y mae geiriau yn cael

† *Tropes, as Metaphores, & Metonymis*

eu

eu troi o'u sens neu hystyr *priodol, i nodi ac i ddodi allan pethau eraill.

* Cymmwys.

Felly y mae efe yn dywedyd am dano ei hunan, Mysi yw 'r ffordd, Mysi yw y drŵs, Mysi yw y wir winwydden: Ac y mae *Joan* yn ei alw ef yn *Oen*, *Paul* yn ei alw ef yn *Graig*, Ac arall yn ei alw ef yn *Llew*: *A pha ham hynny?* ond o herwydd bôd rhyw gyffelybiaeth rhwng Christ a'r pethau hyn.

Jo. 14.6.
Jo. 10.9.
Jo. 15. 1.
Jo. 1. 29.
1 Cor. 10 4
Datc. 5. 5.

Yn yr vn môdd, o herwydd bôd yn y *Bara* a'r *Gwîn* rhyw rinwedde, ac (fel yr harferir hwy yn Swpper yr Arglwydd) ryw bethau eraill iw ystyried (megis torriad y *Bara*, a thywalltiad y Gwîn a'u derbyniad &c) ac sydd yn dra chymmwys i ddodi Christ allan, fel y mae efe yn Geidwad iw bobl; fe ryngodd bôdd iddo fe oblegit hynny, i roddi enwau ei Gorph a'i waed bendigedig iddynt hwy

Y mae y *Bara* a'r Gwîn yn Swpper yr Arglwydd yn ei ddodi ef i maes fel hyn.

*Yn Gyntaf*, megis y mae 'r *Bara* a'r *Gwîn* yn ymorth ir *Corph*: Felly y mae *Christ* ir *Enaid*.

*Yn Ail*, megis yr ydys yn torri 'r *Bara*, ac yn tywalltu allan y *Gwîn* i ymborthi 'r Corph: Felly fe dorrwyd Corph *Christ* â'r Goron ddrain, a'r hoelion, ac â'r wayw-ffon, ac fe ddryllîwyd ei enaid ef â digofaint Duw, (pan yr oedd efe yn chwyssu 'r Gwaed, ac yn llefain, *Fy Nuw fy Nuw, pa ham i'm gadewaist?*) ac fe dywalltwyd ei waed ef i fôd yn ymborth i Eneidiau ei bobl.

*Yn Drydydd*, megis y mae 'n rhaid derbyn, a bwytta'r *Bara*, ac yfed o'r *Gwîn*, a'u gadel hwynt i fyned i mewn ir cylla cyn y gallant ymborthi 'r Corph: Felly y mae 'n rhaid, os mynnwn ni gael Christ

i ym-

i ymborthi ein Eneidiau (*nid yn vnig ei broffessu ef â'n Tafodau, gan ddywedyd Arglwydd, Arglwydd, ond hefyd*) ei dderbyn ef trwy ffydd i'n calonnau, gan ymddiried yndo fel ein hunig Offeiriad, y cawn ni er mwyn yr offrwm a offrymmodd efe (sef ei enaid a'i gorph ei hun) yn iawn iw Dâd am ein pechodau, faddeuant am danynt hwy, Heddwch Duw, Rhyddhâd rhag damnedigaeth, a Bywyd tragwyddol yn y nefoedd. Mat.7.21. Eph.3.17. Jo.6.53. 1Tim.2.5 Heb.10 19 hyd y 24. Eph.5.2. Eph.1.7. Rhuf.5.9,10. Rhuf.8.1.

Ac fel y dylem ni dderbyn Christ i fôd ein O-*ffeiriad* a'n Cyfryngwr rhyngom a Duw: felly y dylem ni ei dderbyn ef, i fôd ein || *Prophwyd* ni, i'n dyscu ni â'i * Air ac â'i † yspryd, ac i fod ein || Brenin ni, i gael vfydd-dod o'r galon oddiwrthym idd ei holl orchymynnion ef holl ddyddiau ein bywyd, gan droi oddi wrth, a ffieiddio, a chasâu ein holl ddrwg *feddyliau*, ein holl ddrwg *eiriau*, a'n holl ddrwg weithredoedd. || Act.3.22 * 2Tim.3.16. † 1Jo.2.27. || Psal.2.6. Luc.1.32, 33.

Y nawr pan cymmerir swpper yr Arglwydd, y mae *Christ* trwy y † Gweinidog yn galw ar ei bobl o newydd i gymmeryd ef, i dderbyn ef, i fwytta ei gorph ef, ac i yfed ei waed ef ac y mae y Bara ar Gwîn yn ei arwyddocau. † Luc.10.16. Mat28.20 2Cor.13.3 a'r 5.20.

Ac y mae 'r Derbynwr grasłol, teilwng, trwy † ffydd yn derbyn Christ yn *ysprydol iw galon, pan bo 'n derbyn y Bara a'r Gwîn iw || gorph: Er nad yw y dŷn anrasłol y pryd hynny, yn derbyn dim ond yr arwyddion oddi allan, i wneuthur ei ddamnedigaeth yn † fwy, oblegid nad yw efe yn derbyn Christ iw galon fel y mae Duw yn ei gynnig ef. † Eph.3.17 * Jo 6.52, 53,63. || 1 Cor.10.16. † 1Cor.11.27,29.

Ac fel y dichon y Derbynwyr teilwng edrych ar y Bara a'r Gwîn yn y swpper sanctaidd, fel yn

Arwyddion o Gorph a Gwaed Crist, ac offerynnau i ddwyn ef yn ysprydol iw calonnau hwynt: felly hwy allant edrych arnynt, megis ar sêl i sicrhau hwynt, mai megis ac y mae 'r Gweinidog yn rhoddi iddynt y Bara a'r Gwîn, sef y rhan weledig o'r Sacrament: Felly y mae Duw ar ei ran ef, yn rhoddi iddynt y rhan anweledig o honi, sef Christ a'i ddo-
Mat 26.28 niau, hynny yw *maddeuant pechodau, cyfiawnhâd*
Rhuf. 5. *heddwch Duw, a bywyd tragwyddol* ( y bwrcassodd
9,10,17. efe idd ei bobl trwy ei gyfiawnder a'i ddioddefaint,) gan eu bôd nhwy ar eu rhan hwythau, yn
Datc.22. 17. wîr * ewyllysgar i derbyn hwynt.

Weithian, gan fôd y Bara a'r Gwîn yn swpper
1. yr Arglwydd, yn y môdd ac y clywsoch yn *Arwyddion* i Arwyddocau Corph a Gwaed Christ, yn
2. *Offerynnau* i ddwyn ef ir enaid yn hytrach nag o'r
3. blaen, ac yn *Sêl* i sicrhau ei roddiad a'i dderbyniad ef, au holl ddoniau anghenrheidiol i iechydwriaeth ir credadyn edifeiriol ac vfydd; fe welodd Christ yn dda oblegit hynny, i galw hwynt hwy wrth yr yr enwau o'i Gorph a'i Waed bendigedig ei hun.

Fel hyn mi roddais i chwi sylwedd (neu substance) ein hathrawiaeth ni y Protestantiaid yn y matter ymma, wedi seilio a'r y scrythurau sanctaidd, ac yn ol barn Eglwys *Loeger* yn y catechism
† *Tystion.* hwn; yr hon athrawiaeth y ddarfu i † ferthyron Christ o'r ynys hon ei seilio â'i gwaed, yn erbyn y Papistiaid yn amser y frenhines *Mary.*

Ac yr ydym ni yn cael ein harwain i gredu fel hyn;

Yn gyntaf, o herwydd roddi o Dduw gynt, enw ei gyfammod sanctaidd o râs i arwydd y cyfammod, sef yr enwaediad; canys fel hyn y mae 'r Arglwydd yn dywedyd; yn y ddwyfed ar bymtheg o *Genesis*, 10

10. *Dymma fyng-hyfammod a gedwch rhyngof fi a chwi, a'th hâd ar dy ôl di : enwaedir pôb gwryw o honoch chwi.* 11. *A chwi a enwaedwch gnawd eich dienwaediad : a bydd yn* Arwydd cyfammod *rhyngof fi a chwithau.* 13. *Gan enwaedu enwaeder yr hwn a aner yn dy dŷ di, ac a bryner am dy arian di : a bydd* fyng-hyfammod *yn eich cnawd chwi,* yn gyfammod *tragwyddawl.*

Yr oedd Duw yn arwyddocau ac yn selio trwy 'r enwaediad ddodi ymmaith pechod (neu gyfiawnhâd) trwy ollyngiad gwaed Christ ac oedd i ddyfod : (Canys fe elwir † *arwydd yr enwaediad yn insel cyfiawnder ffydd.)* Ac heb law hynny, yr oedd Duw yn arwyddocau ir rhai enwaededig y rhwym yr ydoedd efe yn ei osod arnynt hwy, sef i * enwaedu ei calonnau trwy ymwrthod a'u pechodau. †Rhuf.4. 11. Col.2. 11. *Jer.4. 1, 4. Rhuf.2.29

Ac ymma chwi glywch alw y *Sacrament* hon, sef yr *Enwaediad,* ac oedd yn vnig yn *Arwydd* a sêl cyfammod Duw ( sef *y cyfammod o râs ag Abraham a'i hâd)* wrth yr enw o'r *Cyfammod* ei hunan.

Pa ryfeddod yw e gan hynny, i'n Iachawdwr Christ Alw y rhan weledig o'r Sacrament hon, sef y Bara ar Gwîn yn y Swpper Sanctaidd, wrth yr enwau o'i *Gorph* a'i *Waed,* ei hun, er nad ydynt ond yn vnig yn arwyddion o hynny, a Sêl yr vn cyfammod o râs, ac yr oedd yr enwaediad yn sel iddo, ac megis y plisgyn i ddwyn y cnywllyn, sef Christ a'i ddoniau yn ysprydol i galonnau ei bobl.

Nid yw e ddim peth newydd a dieithr yn y scrythyrau, i arferid amryw † droedigaethau ar eiriau, ac yn enwedig, i alw yr arwydd wrth enw y peth ymae e yn ei arwyddocau ; megis y mae *Joseph,* wrth ddeongli breuddwyd *Pharao,* yn galw y †*Tropes.*

saith o wartheg têg, a'r saith dywysen dêg (Arwyddion o saith mlynedd o amldra) *wrth yr enw o'r*
Gen: 41. 26, 27. *saith mlynedd hynny ac oeddent yn eu harwyddocau: A'r vn môdd y mae efe yn dywedyd am y saith o dywys teneuon, a'r saith o wartheg culion, mae saith mlynedd oeddent; er mewn gwirionedd ymadrodd, nad oeddent hwy ond Arwyddion o saith mlynedd o newyn, ac oedd i ganlyn y saith mlynedd o amldra.*

Yn yr vn môdd y mae 'r Apostol Paul yn galw *Christ* yn *Graig*, er nad oedd efe felly yn llythe-
1 Cor. 10. 4. renol, ond yn ysprydol, megis y peth a arwyddocawyd wrth y graig honno, o ba vn, ar ol ei tharo
Num. 20. gan *Moses*, y daeth Dwfr allan (*arwydd o ddwfr y bywyd yn dyfod allan o Ghrist, ar ol ei daro a'i gystuddio*) i ddiodi'r gynnulleidfa yn yr anialwch.

Felly y mae Christ yn galw y cwppan wrth yr enw o'r *Testament newydd*, gan ddywedyd, *y cwppan hwn yw 'r Testament newydd yn fy ngwaed i, yr*
Luc. 22. 20 *hwn yr ydys yn ei dywallt trosoch.*

Yn y gair *Cwppan* y mae *Metonymia*, trwy ba droedigaeth ar eiriau, y rhoddir enw y peth cynnwysedig ir peth sydd yn ei gynnwys ef.

Os ystyriwn ni *mai ewyllys neu Destament Christ*
Jo 16. 7. *ar farw oedd, ar iw bobl ef gael tywalltiad o'i ysbryd*
Mat. 26. 28 *ef arnynt, Maddeuant pechodau trwy ei waed ef, He-*
Rhuf. 5. 10 *ddwch Duw, rhyddhâd rhag y ddamnedigaeth vffer-*
Heb. 9. 12. *nol ddyledus iddynt hwy am eu hanwireddau, ac hefyd*
Jo. 17. 24. *bywyd tragwyddol yn y nefoedd*; ni ellwn yn hawdd ddeall, mai nid y cwppan oedd yn llytherenol y Testament newydd: ond bôd y cwppan yn cynnwys y peth hynny ynddi yn ysprydol (sef gwaed Christ ac oedd y gwîn yn ei arwyddocau) ac oedd yn sail neu achos o'r Testament hwnnw.

Ac fel hyn y rhoddir enwau Gwledydd a Thre-

sydd

sydd yn cynnwys pobl, ir bobloedd sydd drigiannol a chynnwysedig ynddynt, fel y dywedir fyned *allan* at Joan fedyddiwr, *Jerusalem*, a *holl Judea*, *a'r holl wlâd o amgylch yr Jorddonen*, *a hwy a fedyddiwyd ganddo ef yn yr Jorddonen.* Mat. 3. 5, 6

Beth † ardolwyn a fedyddiwyd gan *Joan*? Ai Tref Ierusalem, sef *y Tai*, *a'r heolydd*, *a'r pyrth*, *a'r* * *gwelydd* a adeiladwyd, ynghyd? Ai ynte y bobl oedd yn trigo ynddi? A phan bedyddiwyd *Judea*, a'r holl wlâd o amgylch yr *Jorddonen*; Ai 'r glennydd a'r meusydd &c. ai ynte y bobl oedd yn drigiannol, ac yn gynnwysedig yn y wlâd honno a fedyddiwyd y pryd hynny? Yn ddiau y bobloedd ac oedd yn trigo ac yn gynnwysedig yno, ac nid y lleoedd ac oedd yn eu cynnwys hwynt: ac o herwydd hynny y mae e'n eglur, roddi o'r yspryd glân ymma enwau y lleoedd ir bobloedd.

† *Attolwg.*

* *Murian.*

A chan fôd y peth hyn yn arferedig yn y Scrythurau i roddi enw vn peth dros y llall, a hynny ym matter Sacrament, yn gystal ac mewn matterion eraill, ni ellir edrych arno megis yn beth afresymol yn bôd ni fel hyn yn ecsponio, ac yn rhoddi 'r fâth sens neu ystyr ac y glywsoch chwi i eiriau ein Jachawdwr Christ, wrth roddi ei swpper sanctaidd, Pan ddywedodd efe am y Bara, *Hwn yw fy nghorph*, ac am y Gwîn, *Hwn yw fy ngwaed*; yn enwedig os ystyriwch chwi, na ellir mewn vn môdd gymmeryd y geiriau hynny mewn vn sens neu ystyr arall.

Nis gellir cymmeryd y geiriau yn llytherenol, fel y mae 'r *Papistiaid* yn eu cymmeryd hwynt,

*Yn Gyntaf*, o herwydd bôd ein *Harglwydd Jesu Ghrist* pan y dywedodd efe y geiriau hyn am y *Bara*, *Cymmerwch*, *Bwyttewch*, *hwn yw fy nghorph*, *ac*

 *am*

***am y*** Gwîn, ***hwn yw fyngwaed,*** y pryd hynny, yno wrth y ford yn fyw ym myfc ei ddifcyblion, a'i waed heb ei ollwng, a'i gorph heb ei dorri.

Yr oedd *Chrift* meddafi y pryd hynny, wrth y ford yn fyw yn bendithio 'r Bara, ac yn rhoddi diolch wedi cymmeryd y cwppan, ac yn llefaru wrth ei ddifcyblion, ac yn canu † hymn wedi darfod. Ac ar ôl hynny yr aeth efe y maes, ac y bradychwyd ac y barnwyd ef, ac y gollyngwyd ei waed ef, ac y torrwyd ei Gorph ef wrth ei groefhoelio, fel ac y gallwn ni yn ficcr ddywedyd o herwydd hynny, pan yr oedd ei ddifcyblion ef yn bwytta ac yn yfed, yn ôl y gorchymyn, ***Bwyttewch, hwn yw fynghorph,*** ac ***yfwch, hwn yw fyngwaed,*** nad oeddent hwy yn bwytta, y pryd hynny wrth y ford † gyngŵydd Chrift yn rhan o'i wîr gorph ef, (na llaw, na throed, na Phen, nac yftlys) canys yr oedd ei gorph ef hyd yn hyn yno heb ei dorri: Ac nid oeddent hwy yn yfed yn * diferyn o'i wîr waed ef; canys yr oedd ei waed ef etto yn ei ‖ wythienau heb ei ollwng allan.

† *Pfalm.*
† *Ger bron.*
* *Dafn, defnyn.*
‖ *Veines.*

Yn Ail ni ellir cymmeryd mor geiriau yn llythyrenol, oblegit yn fwpper yr Arglwydd, nid ydys ar ol cyffegriad yn gweled dim â llygaid y corph ond Bara a Gwîn; Ac nid ydys yn teimlo dim, nac yn † archwaethu dim yn gorphorol ond Bara a Gwîn; nid oes yno na chîg na Gwaed iw weled â llygaid, iw deimlo â dwylo, iw profi yn y genau, nac iw ollwng ir cylla.

† *Blaffu.*

Ac o herwydd hyn, bydded ir fawl fydd yn credu ac yn dywedyd, eu bôd hwynt hwy yn fwpper yr Arglwydd yn bwytta gwîr gnawd ac yn yfed gwîr waed *Chrift*; bydded meddafi, iddynt hwy yr vn môdd gredu a dywedyd (yn wrthwyneb iw

senses neu synhwyrau ) fôd yr *eira* yn ddû, er eu bôd hwy â'u llygaid yn ei weled ef yn wynn: fôd y *Dwr* yn sych, a'r *Tân* yn oer, er eu bôd hwy â'u dwylo yn teimlo yr vn yn wlŷb, ar llall yn dwym, a bôd bustl yn felys er eu bôd hwy yn eu geneuau yn ei brofi ef yn chwerw.

*Yn Drydydd*, nid gwîr Gorph, a nid gwîr waed *Christ (hynny yw nid y cîg a'r gwaed a gymmerodd efe ynghrôth y forwyn Fair)* a fwyttaodd ac yr yfodd y discyblion, ac ydym ninnau yn ei fwytta ac yn ei yfed yn Swpper yr Arglwydd; oblegit y mae 'r Scrythur yn dywedyd *mewn sens ac ystyr*, mai yr *vn bwyd ysprydol*, a'r *vn ddiod ysprydol* ac ydym ni y *Christianogion* yn awr yn ei fwytta ac yn ei yfed, y fwyttaodd ac yr yfodd yr *Israeliaid* gynt yn yr anialwch, *(canys hwy a yfasant o'r graig ysprydol a oedd yn canlyn, a'r graig oedd Grist.)* 1 Cor. 10. 3, 4.

Pwy y nawr ond dŷn cynddeiriog (neu maes o'i gôf) (ym mhethau Duw) a ddichon gredu, ir Israeliaid yn yr anialwch fwytta gwîr gorph, ac yfed gwîr waed *Christ*, yn gymmaint na chymmerodd efe na chîg na gwaed nes ynghylch dwy fil o flynyddau ar ol hynny.

*A allent hwy fwytta o'i gig ef, ac yfed o'i waed ef, cyn iddo gymmeryd cîg a gwaed?* Yn awr o herwydd mai yr vn peth *(yn ysprydol)* y fwyttasant ac yr yfasant hwy a ninnau,, ac o herwydd nid gwîr gorph Christ y fwyttasant hwy, ac nid ei wîr waed ef yr yfasant hwy; Siccr yw nad ydym ninnau yn bwytta o'r vn, nac yn yfed o'r llall: Ond megis y bwyttaodd ac yr yfodd yr *Israeliaid* gynt, *Ghrist yn ysprydol*, ac *nid yn gnawdol* ac yn llythyrenol: Felly yn yr vn môdd yr ydym ninnau 'r Christianogion yn bwytta ac yn yfed o hono.

Very many of our Proteſtant Authors, (if not all) do in effect expound the afore-mentioned place of Scripture, as it is here expounded in welſh; as *Calvin, Beza, Piſcator, Diodati,* our Engliſh *Aſſembly of Divines,* The *Dutch Annotators,* and eſpecially Dr. *Fulke* upon the Rhemiſh Teſtament (a book of about ten or twelve ſhillings price, dedicated to Queen *Elizabeth,* worthy to be ſeriouſly peruſed and ſtudied by our Proteſtant Miniſters)

Dr. *Fulke* on 1 *Cor.* 10.1, to 5. anſwereth the Popiſh Annotators of *RHEMES*, thus.

*The Red Sea, the Cloud, and Manna, were not onely figures of Baptiſme and the Lords Supper, but baptiſme in deede, and the ſacramentall Communication of the bodie and blood of Chriſt, in deed. Therefore the Apoſtle ſaith, they were all baptiſed, they dranke of the ſpiritual rocke, which was Chriſt. And the argument of the Apoſtle were of no force to prove his purpoſe, if the Iſraelites were not in the Sacraments equal unto us, both in ſignes and in the things ſignified. S. Cyprian Ep. 76. ſaith,* Mare illud &c. that the Sea was the Sacrament of Baptiſme, the Apoſtle declareth, ſaying: I would not, &c. *Where you ſay it is an impudent forgerie of the Calviniſts, to write, that the Jewes received no leſſe the truth and ſubſtance of Chriſt and his benefits in their Sacraments, then we doe in ours, and that they and we eate and drinke of the ſelf ſame meate and drinke, it is impudent malice againſt the truth to denie it: which the Apoſtle doth ſo plainely affirme. For what doe we eat and drinke but Chriſt? ſo did they: for the Apoſtle ſaith, they dranke of the ſpirituall rocke which followed them, and that rocke was Chriſt. But you have*

*The Fathers did eat the body of Chriſt.*

*a*

*a shift to say, they among themselues did feed of one bread, and drinke of one rock, which was a figure of Christ: that is true, and so doe wee, but they did eate the same spirituall meat, and drink the same spirituall cup that we do. And so saith S. Augustine expresly,* Eundem inquit cibum spiritualem, &c. The same spiritual meat (*saith the Apostle*) what meaneth the same? but the same which we doe eat. *Again,* They did eat the same spiritual meat, *saith he.* It had sufficed to have said, they did eat a spiritual meat, but he saith the same, I cannot find how I should understand the same, but the same that we doe eate? *De utilitate Panitent. Cap. 1. Why doe you not say, it is an impudent forgerie of S. Augustine, soe to write? yet he is bold to write it more at large, Cap. 2. of the same booke.* Quicunque &c. Whosoever in Manna understood Christ, did eate the same spirituall meate that we doe. But whosoeuer sought onely to fill their bellies of Manna, which were the fathers of the vnfaithfull, they haue eaten and are dead: so also the same drinke, for the rock was Christ. Therefore they dranke the same drinke that we doe, but spirituall drinke, that is, which was receiued by faith, not which was drawn in with the bodie. *The same iudgment he declareth in Psal. 77. in Joan. Tract. 26.. and in many other places of his workes, by which the grosse manner of eating of the naturall body of Christ, defended by the Papists, is vtterly overthrown: and consequently, the sacrifice for which you fight so stoutly in this Chapter, is declared to be none such as you would have it, but a sacrifice of praise aud thanksgiving.*

*Yn Bedwaredd*, nid ellir dywedyd fod neb yn bwytta gwîr *Gorph Christ*, nac yn yfed ei wîr waed

ef, sef ei gorph cnawdol ef, a'r gwaed yn y corph hwnnw, yn swpper yr Arglwydd : o herwydd *fod yn rhaid ir nefoedd i dderbyn ef* (hynny yw ei gynnwys ef) o ran ei ddynol nattur, hyd *amseroedd adferiad pob peth, hynny yw, nes y delo yr amseroedd o orphwysfa ir edifeiriol, pan anfono Duw Iesu Christ i*

Act. 10.42. *farnu 'r byw a'r meirw*, fel y mae 'r *Apostol Petr* yn

Phil. 3.20, dangos yn y drydydd o'r *Actau*, a'r 19, 20, a'r

21. 21. A'i ddyfodiad ef y pryd hynny a elwir ei ail

Col. 3.4. ddyfodiad ef.

Heb. 9.28.

Yn awr os yw *Christ* i fôd yn y nefoedd fel y mae efe yn ddŷn nes amseroedd adferiad pôb peth ; ac os dyfodiad Christ y pryd hynny sydd ei ail ddyfodiad ef, fel y mae 'r Scrythyrau yn dangos ; pa fôdd a gellir dywedyd, ei fôd ef yn ei ddynol nattur, ar bôb allor a bord, iw gael iw fwytta a'i yfed o ran ei gîg a'i waed, pan yr ydys yn cymmeryd Swpper yr Arglwydd ; yn gymmaint nad yw Duw wedi ei ddanfon ef *etto* o'r nefoedd, ac nad yw amser Adferiad pôb peth *etto* wedi dyfod, nac amser gorphwysfa ir edifeiriol *etto* wedi dyfod? hyd pa amser fel y clywsoch chwi, y mae Christ i fôd yn y nefoedd.

Ac os yw cnawd Christ iw fwytta yn gorphorol, a'i waed ef iw yfed yn yr vn môdd, yna y mae hyn yn canlyn : *mai cynifer gwaith bynnag yr ydys yn cymmuno, cynnifer gwaith y mae Christ yn dyfod o'r nefoedd*, nid yn vnig iw gael ei offrymmu tros ei bobl gan yr offeiriaid, (fel y mae 'r *Papistiaid* yn dala yn wrthwyneb ir Scrythur, ac sydd yn dangos,

Heb. 10.10 *fôd offrymmiad Christ unwaith yn ddigonol i berffei-*

11, 12, 14. *thio ei bobl, a thrwy ganlyniaeth nad yw raid i offrymmu ef eilchwaith )* ond hefyd i roddi ei gîg a'i waed iddynt hwy iw fwytta a'i yfed :

Ac

Ac erbyn hyn pa sawl *mîl*, a *mîl*, â *mîl* o weithie y daeth ac y daw Christ o'r nefoedd, cyn y dydd diweddaf?

A pha fodd y saif hynny gydâ 'r Scrythur, ac sydd yn dala allan *mai pan ddêl Christ o'r nefoedd, ei ail ddyfodiad ef y sydd hynny*. Siccr yw, gan fôd y nefoedd i dderbyn Christ, hynny yw ei gynnwys ef, o ran ei ddynol nattur, nes y danfono Duw fe oddi yno i farnu 'r Byd; nid ellir dywedyd ei fôd ef ym mhôb cymmun ar y ddaiar iw fwytta a'i yfed yn gorphorol gan y cymmunwyr. Heb. 9. 28.

Yn Bummed y mae yn erbyn rheswm naturiol i ddywedyd, fod yr vn corph mewn amryw leoedd ar vnwaith.

Nid oes vn dŷn, ar yr vn pryd, yn *Ffrainge*, yn *Lloeger*, *ynGhymru* ac yn *Iwerddon*

Gwîr yw y mae *Christ* fel y mae efe yn *Dduw* ym *mhôb mann*: ond fel y mae efe yn *Ddŷn*, nid yw efe ond yn *vn mann*, (sef yn y *Nefoedd*;) ac o herwydd hynny, nid yw efe, ac nis gall efe fod ar y *Ddaiar*, yn y Modd ac y mae 'r papistiaid yn credu ac yn dyscu ei fod ef, sef ymmhob cymmun mewn *mîl* a *mîl* o leoedd ar vnwaith.

Yn *Chweched ac yn Ddiweddaf*, nid all yr Athrawiaeth ynghylch bwytta Gwîr *Gorph* Christ, ac ynghylch yfed ei wîr *waed* ef yn gorphorol, (wrth gymmeryd Swpper yr Arglwydd) fod yn wirionedd, *o herwydd y mae 'n Iachawdwr yn y chweched o Ioan* (ble y mae efe yn crybwyll am yr angenrheidrwydd i fwytta ei *Gnawd* ef, ac i yfed i *Waed* ef, cyn gellir cael bywyd tragwyddol, ) *yn dyscu 'r Capernaaid ac eraill ac oeddent yn cymmeryd ei athrawiaeth ef yn llythyrennol*; Nad oedd ei *Gnawd* ef (*wedi ei fwytta, na thrwy ganlyniaeth ei waed ef* Jo. 6 52.

*wedi*

*wedi ei yfed yn ei sens neu hystyr hwy*, sef yn gorpho-
† Jo.6.63. rol yn † llesau dim. Yr yspryd (*eb efe* yw yr hyn sydd yn bywhau, y cnawd nid yw yn llesau dim: y Geiriau (*eb efe*) yr ydwyfi yn eu llefaru wrthych, yspryd ydynt, a bywyd ydynt; *hynny yw* sel pe dywedasai, *y pethau ac a ddywedais i, ynghylch bwytta fy nghawd ac yfed fy ngwaed* (yr hyn beth sydd ryfedd gennych chwi fy ngwrandawyr, ac yr ydych yn tramgwyddo wrthynt) *yr ydwyf yn awr yn dywedyd wrthych*, mai yn ysprydol y mae hwynt hwy iw hystyried a'u deall; ac yn ysprydol y mae i bobl fwytta fy *ngnhawd* i, ac yfed fy *ngwaed* i: Ac os cymmerwch chwi fy ngeiriau i felly, hwy a allant fywhau eich eneidiau chwi.

Y Sawl y fwyttao *Gîg* a *Gwaed* Christ yn ysprydol (*hynny yw a ymddiriedo neu a gredo ynddo, ddarfod iddo fe, sef Offeiriad mawr ei bobl, trwy ddioddef yn ei enaid ai Gorph am eu pechodau hwynt, roddi iawn i Dduw am danynt; a bôd o herwydd hynny ac o herwydd ei gyfiawnder ef, faddeuant iddynt, Heddwch Duw, Rhyddhâd rhag damnedigaeth, a Bywyd tragwyddol iw cael; ac heb law ymddiried a chredu yn y môdd hyn ynddo, yn ei gymmeryd ef iw calonnau yn lle ei Prophwyd i dyscu hwynt, a'i Brenin i reoli ynddynt ac arnynt, gan obeithio, yn ôl addewidion yr Efengyl, cael er ei fwyn ef iechydwriaeth tragwyddol*); Y Sawl meddafi a fwyttao o *Gorph Christ*, ac a yfo o'i *Waed* ef yn y môdd hyn, yn *ysprydol*, a gaiff fywyd tragwyddol trwyddo.

Yn y chweched o *Ioan* a'r ddeugeinfed adnod, y mae Christ yn addaw bywyd tragwyddol ir sawl sydd yn ei *weled* ef, ac yn *credu* ynddo ef: ac yn yr adnodau 51, 54. y mae efe yn addaw yr vn peth ir sawl sydd yn *bwytta* ei *gnawd* ef, ac yn *yfed* ei *waed* ef.

Yn

Yn yr adnod 53 o'r vn bennod, y mae *Christ* yn dangos nad oes bywyd yn y Sawl nad ydynt yn *bwytta* ei *gnawd* ef, nac yn *yfed* ei, *waed* ef: ac fe a ddywedir yn y drydydd o Ioan a'r 36 am yr *hwn sydd heb gredu ir mâb, ni wel fywyd, eithr y mae digofaint Duw yn aros arno.*

Heb law hyn * cystadlwch y lleoedd hyn o'r Scrythyr ynghyd. *Cwmparwch.

| Ioan 3. 36. | Ioan 6. 54. |
| --- | --- |
| *Yr hwn sydd yn credu yn y Mâb y mae ganddo fywyd tragwyddol.* *A'r 6. 47. yr hwn sydd yn credu ynofi, sydd ganddo fywydd tragwyddol.* | *Yr hwn sydd yn bwytta fynghnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd ganddo fywyd tragwyddol.* |

Ac yn awr bernwch chwi, ond yr vn peth yw *Gweled Christ*, a *chredu* yn *Ghrist*, a *Bwytta ei gnawd ef* ac *yfed ei waed ef*; fel nad oes lle yn y bŷd wedi adel i fwytta Christ yn gorphorol â dannedd, canys *Trwy ffydd* (mewn môdd ysprydol) y *mae efe yn dyfod i drigo ynghalonnau ei bobl.* Eph. 3. 17

Ac fel hyn chwi a glywsoch, er bôd y Derbynwyr teilwng yn Swpper yr Arglwydd yn Derbyn *Christ yn ysprydol, trwy ffydd iw calonnau*, pan y maent yn derbyn y Bara a'r Gwîn: etto er hynny i gyd, *fôd y Bara a'r Gwîn yn y Swpper honno, yn parhau i fôd yr vn peth or ran sylwedd, ac yr oeddent hwy cyn eu cyssegru: Ac nad ydynt hwy wedi eu troi trwy gyssegriad yr offeiriaid, i fod yn wîr ac yn sylweddol* Gorph, *ac yn wîr ac yn sylweddol* Waed Jesu Ghrist *fel y mae'r* Papistiaid yn breuddwydio.

Yr wyfi yn dymuno ar y dyscedig i escuso fy helaethrwydd i, trwy arferid yr vn geiriau a phethau eilchwaith ac eilchwaith; canys yr wyfi

wedi gwneuthur hynny er mwyn y gyffredin bobl; I ddyscu pa rai fel y deallont hwy y pethau a †anhawdd ddyscir sydd beth †anodd iawn, fel y gŵyr rhai ar ôl hîr brofiad.

Ond os gofyn y dyscedig, *Pa ham yr wyfi yn cymmeryd y papistiaid yn llaw, ac felly tynnu bên Dŷ am fymbên?*

Juven. Sat.1.

*Cur tamen hoc libeat potius decurrere Campo;*
*Per quem magnus equos Aurunca flexit alumnus;*
*Si vacat, & placidi rationem admittitis, edam.*

Ir cyfryw yr wyfi yn atteb, fôd tybygoliaeth y dichon rhai pobl anwybodus, o'r cyffredin *Gymru*, gael ei twyllo i droi yn *Bapistiaid*, trwy ddarllen Lyfrau (ac a elwir *Agoriad* i *Baradwys*) ac y mae rhai or ffordd a'r grefydd honno, wedi eu gwascaru mewn rhyw leoedd yn y wlâd, fel y clywais i, er nas gwelais i etto yr vn o honynt hwy.

Ac o herwydd fy môd i yn gwybod fôd eulynaddoliaeth yn ffordd y *Papistiaid*, ac yn enwedig 1Cor.6.9. yn ei gwaith hwy yn addoli 'r *Bara* a'r *Gwîn* yn swpper yr Arglwydd; Ac nad â vn eulyn-addolwr i Deyrnas nefoedd, ond y bydd *yn dragwyddol mewn tân a brwmstan* i'r cyfryw rai *yfed o wîn digofaint Duw, yr hwn yn ddi-gymmysc a dywalltwyd yn phiol ei lîd ef*, yn ôl y 14 o'r Datcuddiad, 9, 10, 11: yr hyn le o'r scrythur, y mae y rhan fwyaf o'n Athrawon pennaf ni y protestantiaid, yn ei gymhwyso ar resymau mawrion at y *Papistiaid*; Ni ellwn ni lai oblegit hyn, o dra cariad at eneidiau fy nghydwlâdwyr, rhag iddynt fyned ar gyfeiliorni, a bôd yn golledig trwy gredu celwyddau, a throi i fôd yn eulyn-addolwyr; ni ellwn ni lai meddafi oblegit hyn nâ danfon y†gronyn ymma i maes yn bresenol (er mewn *hast rhag ir press sefyll) nes caffo rhai

† *Trychydig.*
* *ar frys.*

amser

amser cyfaddas i atteb llyfr y *Papistiaid*, os ydyw e deilwng neu gymmwys i dderbyn atteb.

Os Gofyn neb, *pa fodd y mae hyn yn digwyddo, fôd pobl ddyscedig yn eu mysc hwy, yn credu troad y* Bara *a'r* Gwîn *yn y cymmun*, i fôd yn gîg *ac yn* waed Christ *yn sylweddol, gan fôd yr athrawiaeth hon, fel y prwfiwyd o'r blaen yn erbyn* y Scrythur, *yn erbyn ein senses neu 'n* Synhwyrau, *yn erbyn* Rheswm *naturiol, Ac yn erbyn* Barn *llaweroedd o wîr duwiol mor ddyscedig â hwyntau.*

Yr wyf i yn atteb: Im tŷb i y mae hyn wedi digwyddo, oblegit *nas derbyniasant Gariad y Gwirionedd fel y byddent gadwedig:* Ac am hynny fe ddanfonodd *Duw* iddynt hwy (*mewn cyfiawn farn*) amryfusedd cadarn, fel y credont gelwydd; fel y barner yr holl rai nid oeddynt yn credu ir gwirionedd, ond yn ymfodloni mewn anghyfiawnder. *A'r lle hyn hefyd o'r Scrythur y mae Athrawon enwog o ran grâs a dysc, yn ein mysc ni y Protestantiaid, oblegit resymmau* mawr *pwysig nad ellir eu atteb, yn ei gymmwyso at y Pâb a'r* Papistiaid. 2 Thess. 2. 10, 11, 12.

Y mae Escob *Caerloyw* yn rhoddi rheswm arall yn ei lyfr a elwir, *A plain and full exposition of the Catechism of the Church of England*. page 194.

This fiction of Transubstantiation, besides that it contradicts the confessed Rules of Arts and Reason, clearly takes away the Relation, and the Essence of a Sacrament. For upon this corporal change, what becomes of the sign? for if this were true, it were the very thing signified, and then the *Signum* and *Signatum* would be all one; which overthrows the definition.

I am of opinion, that it was the hard hap of the Church of *Rome* to rise up in the defence of this errour

errour: Should the protestants have done it, they would have hissed them out of the Schools; and now their learned Jesuits are obstinate in it, to maintain their Churches infallibility. And the ground of my conjecture is that counsel, which Cardinal *Carpi* gave the Pope, enclining to have granted what was then desired by some Princes and States, as Service in the vulgar tongue, the marriages of Priests, and the Communion in both kinds: The sum whereof was, though these things desired, were in themselves matters of no great moment, yet upon the concession of them the Hereticks would infer, that the Chair had erred in her injunctions and constitutions, and then all was gone.

*Conc. Trident.*

It is not Religion then, but Policy that upholds it, together with the child that is descended from it, the *Chimara* of *Thomas* brain, Concomitancy: upon which fancy they mutilate this Sacrament, and deny the cup to the people. Against which Sacriledge, our Catechism protests, *&c.*

---

H. *Beth ydyw 'r nôd gweledig,*
*A'r arwydd digon tebyg,*
*Sy 'n y Bedydd or tu fâs,*
*Yn selu 'r grâs arbennig?*

*A.* Y Dwr yn y bedyddfan,
Lle trochir y dŷn bychan,
Yn Enw 'r Tad a'r Mâb (dri phrŷd)
A'r sanctaidd ysprŷd purlan.

H. *Beth ydyw 'r grâs ysprydol,*
*Nas cenfydd llygad cnawdol,*
*Y mae 'r Dwr yn arddycau,*
*Sy 'n golchi brychau 'r bobl?*

*A.* Gwaed *Christ* mâb Duw ei hunan,
Sy'n golchi 'r enaid aflan,
Oddiwrth bôb rhyw bechod câs,
Lle 'roedd e'n wâs i Satan:

Ac hefyd yn ei † wneuthur,
Yn gristion o bechadur;
Ac yn Blentyn Duw trwy râs,
O Elyn câs trwy nattur.

† *Gwaed Christ sy'n gwneuthur hynny.* Col. 1. 21. Gal. 3. 26.

H. *Beth ydys yn ei geisio,*
*Gan rai ddel i bedyddio,*
*Beth sydd raid ? mynega 'n * brês,*
*Ir rhai gais || llês oddiwrtho.*

* *Yn groyw*

|| *sef cyssur*

*A.* † Difeirwch a ffydd fywiol
Sydd ddau beth anghenrheidiol,
I bob dyn y ddêl yn brûdd
I geisio bedydd grasol:

Difeirwch i ymwrthod,
A phôb rhyw * sort o bechod:
Ffydd i gredu tra fo byw
Addewid Duw a'i Ammod.

* *Fâth*

† *mae ffydd ac edifeirwch yn anghenrheidiol i fôd (ar y lleia mewn proffes) yn y rhai y fedyddiir mewn oedran, sef y sawl na fedyddiwyd erioed o'r blaen,* Act. 2. 38. *ar* 8. 36. 37. *Ond am blant y ffyddloniaid yr ydys yn eu bedyddio hwynt, am eu bod yn y cyfammod gydâ eu rhieni,* Gen. 17. 7. Gal. 3. 24. *am hynny yr ydys yn rhoi iddynt sêl ac arwydd y cyfammod.*

H. *Pa ham i rhwydd fedyddiir,*
*Plant bychain pan eu genir ?*
*Pan na allant yn ddifeth*
*Gyflawni 'r peth a geisiir.*

*A.* Y maent hwy trwy meicheon,
Yn cwpla eu promeision,
Nes y delont hwy mewn maint
I dalu faint addawson.

H. *Mynega pam ordeiniwyd*
*Y swpper pan dechreuwyd,*
*Pam yr ys yn arfer hon*
*Trwy ddefod 'r hon ni † lyswyd?*

*† Wrthodwyd.*

*A.* Er mwyn tragwyddol goffa,
Am Angeu Christ a'i laddfa,
A'r holl Lesâd y ddaw'i ddŷn,
Oddiwrth ei wŷn a'i boenfa.

H. *Beth ydyw 'r rhan a weler,*
*Tu allan yn y Swpper,*
*A'r nod a'r arwydd ortu fâs,*
*Sy'n selu 'r grâs addawer?*

*A.* Y Bara ar Gwîn o'r cymmyn,
Orchmynnodd Christ i dderbyn,
Er cofio ei Gorph a'i waed ei hun,
Syn cadw dyn rhag * newyn.

1 Co. 11. 24, 25.
** Newyn ysprydol.*

H. *Beth ydyw 'r rhan ni welwn,*
*A'r grâs sydd o'r Comuniwn,*
*Rhwn arddycair wrth fara a gwîn?*
*Mynega 'n † rhin er dolwyn.*

*† Yn eglur attolwg.*

*A.* Corph Christ a'i waed sancteiddiol,
Offrymmwys dros ei bobol,
I Brynu dŷn, i dalu Duw,
A'n porthi i fyw 'n dragwyddol.

Eph. 5. 2.
Eph. 1. 7.
Jo. 6. 50.

H. *Pa lês a gaiff Cristnogion,*
*Y gymro o * wllys calon,*
*Y Sacrament sancteiddiol hyn*
*O'r Swpper, pyn derbynion?*

** A chalon edifeiriol, ffyddlon, sanctaidd.*

*A.* Cael porthi eu heneidie,
Ar Grist ei hun a'i ddonie,
A chadarnhau eu hegwan ffydd,
A madde 'n brûdd eu beie.

Mat. 26. 26, 27, 28.

Fel

Fel y bydd bara ffrwythlon,
A Gwîn yn porthi 'r galon;
Felly Christ â'i waed wrth raid,
Sy'n porthi 'r enaid ffyddlon.

H. *Pa beth sydd raid o bryssur,*
*I bob rhyw Gristion wneuthur,*
*Y ddel i Swpper Christ yn* * *llon,* *Llawen.
*O cais yn hon gael cyssur.*

*A.* Rhaid iddo holi 'n sanol,
A so ef wîr, difeiriol, 1Cor. 11. 28.
Am ei bechod o bôb rhyw,
Yn erbyn Duw a'r bobol:

A holi 'n nessa at hynny,
A so e'n llwyr fwriadu,
Gwella ei fuchedd wrth fôdd Duw,
A chwedyn byw heb bechu:

Ac hefyd mynny gwybod, 2Cor. 13. 5
Oes gantho ffydd dan ammod,
Am drugaredd Duw trwy *Ghrist*,
I fadde ei athrist bechod:

A chredu i'r Arglwydd Jesu,
A'i werthfawr waed ei brynu,
Pan na alle neb ond *Christ*,
Trwy Angau trist ei helpu.

Rhaid hefyd holi eilchwaith, Mat. 5 23, 24.
A so e mewn cariad perffaith, Luc 17. 3, 4
A phob dŷn, gan fadde 'n brûdd
I bawb, bob dydd, eu † drwg-waith. † *Y cam y wnaethont*

*Pethau iw hystyried, ac iw harferu pan ddêl y nôs.*

GWel fel y mae d'oes yn darfod,
Mae 'n llai beunydd o ddiwrnod:
Rwyt ti 'n nes y leni i'th ddiwedd,
O vn flwyddyn nag y llynedd.

Gwachel fynd vn nôs i gysgu,
Yn dy bechod nes difaru,
A chymmodi a'r Duw cyfion,
Cyn y cayech dy olygon.

Eph. 4. 26. Nâd vn nôs ir haul fachludo,
Ar dy lîd yn ôl it ddigio;
Gwell it gysgu gydag Arthes,
Nag â malis yn dy fynwes.

☞ *Llawer dyn sy'n mynd iw wely,*
*Heb ddibuno mwy ond hynny,*
*Nes y galwo 'r vdcorn aethlyd,*
*Hwynt ir farn i ddwyn ei penyd.*

Yn ôl dy boen a'th waith y dydd,
Pan delo 'r nôs ymro yn brûdd,
I roi i Dduw brydnhawnol Aberth,
O galon bûr â geiriau prydferth.

Diwedda 'r dydd fel y dechreuaist,
Cau dy ddrysau fel agoraist:
Gad i weddi brûdd bob dïe,
Gloi bôb hwyr a datgloi 'r bore.

☞ *Duw fyn offrwm bêr brydnhawnol,*
Num. 28. 4. *Fel yr aberth bêr foreuol,*
*Mawl y nos fel mawl y bore,*
*Nâd vn pryd dy fawl yn eisie.*

Galw

Galw 'nghyd dy blant a'th bobol, Gen.18.19
Dywaid osber yn dra deddfol: Jos 24.15.
Gwna dy dŷ yn demel fychan, Eph.6. 4.
Chwareu 'r ffeiriad doeth dy hunan.

*Prûdd weddia ar dy linie*
*Darllain bennod o'r Scrythure:*
*Dysc dy blant mewn pwyntiau crefydd,* Deut.6.
*Duw 'th fendithia yn dragywydd.* 6, 7.

*Cofia 'r nôs dy waith y dydd,*
*O gwnaethost gam, gwna iawn yn brûdd,* Luc.19.8.
*Or digiaist Dduw, cais bardwn gantho,* Hos.14.2.
*Os cefaist râs, rho foliant iddo.* Psal.42.8.

Na ddôs i gysgu yn dy bechod,
Rhag mynd o'ch gwsc ger bron y Drindod:
Ac na * ſlwmbred dy ddau amrant, * *Huned.*
Nes ymbilio am faddeuant.

Y dŷn y † fentro fynd i gysgu, † *Feiddo, y ryfyga.*
Yn ei bechod cyn difaru,
Mae e'n mentro mwy o lawer,
Na phe cysgei gydâ gwiber.

*Rhag dy fynd ir * barr i'th farnu,* * *O flaen gorsedd-faingc Christ.*
*Genol nôs tra fech yn cysgu,*
*Gwachel fynd fel dŷn diwybod,*
*Byth i'th wely yn ambarod.* Mat 24.44

Pan edrychech ar dy wely,
Cofia 'r bedd lle 'r ae i'th gaddu:
*A chyn rhoi dy gorph i orwedd,*
*Dyfal feddwl am dy ddiwedd.* Psa.90.12.

*Pan y tynnech dy hall ddillad,*
*Ond dy grûs oddi am danad,*
*Cofia fel y gorfydd gado,* 1 Tim.6,7.
*Ymma 'r cwbwl ond yr † amdo.* † *Amwise.*

Pan y cano Ceiliog *Peder*,
1 Cor. 15. 52. Nes dihunech o'th esmwythder,
*Meddwl f'enaid fel y deffru,*
Jo. 5. 28. *Y'dcorn Christ di gwedi'th gladdu.*

---

*Hymn iw chanu i Dduw cyn mynd i gysgu.*

Psal. 121. 4. Fanwyl Dâd a'm carcus Geidwad,
Rhwn wyt nôs a dydd im gwiliad,
Bendigedig y fo d'enw,
Nôs a dydd am dan fy nghadw.

Psa. 34. 7. Di 'm castellaist i 'r dydd heddu,
A'th Angelion bach o dautu,
* Cynnal. Ac orchmynnaist iddynt * fatteg,
Rhag im daro 'n rhoed wrth garreg.

Dithau 'm cedwaist yn ddihangol,
Rhag holl rwydau'r Sarph uffernol,
Rhwn sydd nôs a dydd heb gyscu,
Yn ceisio nifa am bachellu.

Porthaist finne heddyw 'n ddiwith,
A mêl o'r graig, â brasder gwenith,
Ac di roddaist immi yfed,
Phiol llawn i dorri 'm syched.

*Ditho am cedwaist rhag pob tramgwydd,*
*Cwilydd, colled, anap, aflwydd,*
*Nychdod, niwed; ac am hynny,*
*Rwi o'm calon i'th glodfori.*

† Gofal. Cymraist gymmaint † garc am danaf,
Y dydd heddyw Dâd goruchaf,
A phyt fassyt heb un plentyn,
Ond mysi i garcu drostyn.

Bendigedig

Bendigedig yn dragywydd,
Y fo ngheidwad am dyrchafydd,
Rhwn ſy'n carcu cymmaint droſwyſ,
Ddydd a nôs ple bynna 'r elwyf. *Amen.*

---

## *Diolch am dân a chynnbeſſrwydd.*

PEn * profiwr pôb anghenrhaid,
Gwîr ymgleddwr corph ac enaid,
Rwi 'n bendithio d'enw hyfryd,
Am roi tân i dorri f' anwyd.

*Duw mor raſſol yr ordeinieſt,*
*Tân rhag anwyd, tŷ rhag temeſt,*
*Bwyd rhag newyn, Dwr rhag ſyched,*
*I ymgleddu dŷn pengaled.*

Oni byſſe itti greu,
Tân in * gweiniſ an cynheſſi,
Bwedd y gallſei ddŷn ymdaro,
Heb y tân, pa baſſem hebddo ?

*Er bôd tân yn beth anhebcor,*
*Etto 'ſowaeth nid oes nemmor,*
*Ym-mhlith miloedd y rônt itti,*
*Am ei tân o'r * godemerſi.*

Arglwydd agor ein golygon,
I gydnabod maint dy roddion,
An geneuau i'th glodfori
Am ein tŷ, an tân, an gwely.

*Y mae 'n gwell yn gorwedd allan,*
*Yn yr oerfel tôſt yn griddfan,*
*Duw cynnheſſa rhain â'th ffafar,*
*A gwna ninne yn ddiolchgar.*

*Paratowr Pſa. 145. 15

*Fe wnaeth yr [illegible]wdwr y gân hon ar ôl dyfod iw lettu ar ddiwrnod garw*

**Gwaſanaethu.*

**Diolch.*

## *Gweddi wrth fynd ir gwely.*

Ceidwad *Israel* a'i Achubwr,
Castell cryf pôb gwann diswccwr,
Er mwyn d'anwyl fâb Christ Jesu,
Gwrando 'ngwaedd wrth fynd i ngwely.

Arglwydd mawr 'r wi ar fy nglinie,
Wrth fy ngwely yn cyfadde,
Nad wyf deilwng edrych arnad,
Chwaethach dwad yn nes attad.

Etto er hyn yr wi 'n hyderu,
1 Joan. 5. 14, 15. A caf er mwyn dy fâb Christ Jesu,
Joan 16. 23. Nid yn vnig gennyd wrando,
Ond rhoi immi 'r peth wi 'n geisio:

A bôd immi byth yn gryfdwr,
Ac yn Geidwad, ac yn Swccwr,
Rhag pob niwed y ddigwyddo,
Yn enwedig immi heno.

Arglwydd 'rwyfi 'n mynd i orwedd,
Heb wybodaeth am fy niwedd:
*Os ni wyr un dyn pan cysco,*
*P'un a wna ai codi ai peidio.*

☞ *Achos da i ddyn gan hynny,*
*Cyn yr elo 'r nos i gysgu,*
*Lwyr ymgweirio fynd at Dduw,*
*Rhag na chotto mwy yn fyw.*

O herwydd hyn 'rwyfi yn dwad,
Attad ti fy Nuw am Ceidwad,
Ar fy naulin heno i'mhwedd,
Am dy gymmorth a'th drugaredd.

Bydd

Bydd di gastell, bydd di Geidwad,
Bydd di graig a lloches ddifrad,
Im castellu yn ddibryder,
Heno rhag pôb anesmwythder.

*Y mae 'r llew sy erioed heb gyscu,*
*Ddydd a nos â chwant i'm llyngcu,*
*Ac ni wela'i lûn i rwystro,* 1Pet. 5.8.
*Oni chedwi di fi rhagddo.*

Derbyn fi gan hynny i'th fynwes,
Dôd fi rhwng dy ddwy-fron gynnes,
Fel y gallwi 'n esmwyth orwedd,
Heno 'm mreichiau dy drugaredd.

Arglwydd tanna drosswi d'adain, Psal.17.8.
Cadw fi rhag bradeu 'r filain,
Fel y gallwi yn ddibryder,
Gyscu deni mewn esmwythder.

Gosod * wersyll o'th Angelion, *Llu.
I'm castellu rhag pôb ofon, Psal. 34.7.
Pâr ir rhain fy llwyr ddiwallu,
Yn dy goel tra fyddwi 'n cyscu.

Bydd dy hun â'th rasol lygad, Psal.34.15.
Goruwch y rhain yn fy 'ngwiliad,
Nâd i neb rhyw ddrwg fy nrygu,
Na thramwyo lle bwi 'n cyscu.

Rho lonyddwch ac esmwythder,
Immi heno a phôb amser,
Rho i'm henaid wîr ddiddanwch,
Rho i'm corph ei hûn a'i heddwch.

*Ac rhag immi fynd im barnu,*
*Gar dy fron pan byddwi 'n cysgu,*
*Nad im fyned yn ddiwybod,*
*Byth im gwely yn ambarod.*

Nâd im roddi cwsc im llygaid,
Nes ymbilio a thi 'n dambaid,
*Maddeuant.* Am gael * pardwn am y cwbwl,
Ar y wnaethoi maes o'th feddwl.

*Gydag addef pechod, cyn cael trugaredd, rhaid credu yn Iesu Grist, ac ymadel a phechod.* Act. 13. 38. 39. Dih. 28. 13 Jac. 4. 9.

Pâr im adde fy holl gamwedd,
Am holl wendid am hanwiredd,
Fel y gallwi gwedi hadde,
Gael maddeuant gennyd tithe.

Pâr im wylo ac alaru,
Am fy 'ngwaith mor rhwydd yn pechu,
A 'mosydio 'n dôst gan gynddrwg,
Y fu muchedd yn dy olwg.

*Par im fyned mor ddifeiriol,*
*Heno im gwely ac mor ddeddfol,*
☞ *A pha gwypwn na chawn noswaith,*
*Mwy i edifaru 'r eilchwaith.*

Pâr im grio 'n daer am bardwn,
*Ddioddefaint.* Er mwyn Christ a'i waedlyd * bassiwn,
Am y wnaethoi erioed o feie,
Fel na byddo un heb fadde.

Golch fi 'ddwrth fy meiau 'n llwyr-ddwys,
Psal. 51. 2. Yngwaed Christ yr Oen am prynwys;
†*Archollion.* Clâdd fy mhechod yn ei †weli,
Nâd ef eilchwaith adgyfodi.

Nâd fôd un om ffiaidd frynti,
Yn dy lyfyr heb ei groesi,
Rhag i hwnnw fy ngwradwyddo,
*Ymddangos.* Gar dy fron pan ddelwi * ympyro.

Pâr im fôd âr wysc briodas,
Mat. 22. 12 13. Ddydd a nôs bôb awr o'm cwmpas,
Ac olew im lamp, a hwnnw 'n llosci,
Mat. 25. 4. Yn disgwyl Christ, im galw i gyfri.

Diogela 'nghalon egwan,
Fôd yn ſiccr immi gyfran,
O'r dedwyddwch y bwrcaſſodd,
Chriſt iw frodyr yn y nefoedd.

*Weithian Arglwydd mi orweddaf,*
*Ac mewn heddwch myſi gyſgaf;*
*Cans tydi o Dduw 'r diddanwch,*
*Am cyſlëi mewn diogelwch.*

---

## *Myſyrdod pan dihuner o gyſgu ganol nôs.*

MOr hyfryd ac mor weddus,
Yw canu i Dduw yn rymmus,
Ganol nôs pan bo pôb dŷn,
Yn cyſgu hûn yn ſelus.

Mor dda, mor ddwys, mor ddeheu,
Yw moli ei Enw 'r boreu! Pſ. 92. 1, 2.
A myſyrio yn ddi-ddal,
Am dan ei amal ddonieu:

A deffro 'r corph cyſcadur,
A chalon barod bryſur,
I glodforu enw Duw,
Peth hyfryd yw i wneuthur:

A chwnnu lawr o'r gwelŷ,
Fel *Dafydd* iw foliannu, Pſ. 119. 62.
Ar ein dau-lin ganol nôs,
Yn ddi-flin dros ein helpu:

A chofio ei drugaredd,
Ei gymmorth a'i ymgeledd,
I blant dynion bôb rhyw brŷd,
O ddechreu bŷd i ddiwedd.

A rhoi ar bwys y gwely,
  Pan byddo 'r bŷd yn chwrnu,
Glôd a moliant prûdd, di-nam,
  Ir hael Dduw am ein helpu.

Clôd a gallu, Diolch moliant,
  Gwîr anrhydedd a gogoniant,
Y fo nôs a dydd ir Drindod,
  Sydd bob amser yn ein gwarchod.

---

*Psalm.* 23.

FY Mugail yw 'r Goruchaf.
  Pa fôdd gan hynny ffaelaf
Trwi 'n ymddiried ynddo fe,
Ni edy eisie arnaf.

Y mae ef im castellu,
  A'i râs, a'i rym o doetu,
Fel na ddichon gŵr na gwraig,
  Na Diawl, na draig fy nrygu.

Y mae ef im porfela,
  Mewn dolydd o'r † areilia, † *Hyfryda*.
Lle mae dyfroedd tawel iawn,
  A Thîr yn llawn o borfa.

Pan elw'i dros ei lwybre,
  Fe'm cyrch ei eilchwaith adre,
Ac er mwyn ei enw ei hun,
  Fe'm try ir vn sydd ore.

Ac or digwydda weithie,
  Im rodio yng hysgod Ange,
*Nid rhaid immi ofni vn,*
  *Cans Duw ei hun am cadwe.*

Y mae ef yn bresennol,
  Im hachub yn wastadol :
Ai wialen wenn, a'i fâch, a'i ffonn,
  Am gwna i yn * llon anianol. *Llawen iawn.

Er cymffordd im a chyssur,
  O Anfodd fy ngwrthnebwyr,
Rhows im ford gysoethog iawn,
  A Seigie 'n llawn o suwgur.

Eneiniodd f'Arglwydd hefyd,
  Fy mhen ag || oyl yn hyfryd : ||Olew.
Ac fe wnaeth fy mwttri 'n llawn,
  A'i radlawn ddawn a'i olud.

Ei fwynder a'i drugaredd,
  Am dilyn hyd y diwedd,
Yn ei Demel tro ynwi chwyth,
  Y bydd fy nyth am † hannedd. †Trigfa.

*Ir Tâd, ir Mâb, ir yspryd,*
  *Ir Drindod, vndod hyfryd,*
*Y bo clôd a moliant mawr,*
  *Bob dydd, bob awr, bob ennyd.*

---

*Y môdd y dlye ddyn grasol ddeffro ei gorph ai enaid genol nôs i glodfori Duw.*

DIhûn, dihûn o gysgu, Psal. 103. 1,2.
  Fy enaid bâch prawf ganu
Clôd a mawl â chalon brûdd,
  Ir Arglwydd sydd ith helpu ;

Dihûn, dihûn, mae achos,
  Id wiliad fel yr Eos,
I glodfori d' Arglwydd mawr,
  Heb gysgu awr or hîr nos,

Dihûn

Dihûn, Dihûn a chofia,
  Drugaredd y gorucha,
* Cynnorthwyodd. A'r môdd ith * helpodd Prynwr crêd,
  Er pan ith aned gynta.

Efe yw d' vnig helpŵr,
  Dy nawdd, dy nerth, dy fwccwr,
*Arglwydd. Dy Chrift, dy graig, dy gadarn * Ior,
  A'th dynnodd o'r cyfyngdwr.

Fe'th greawdd cyn berffeithied,
Joan 8.36. Fe'th dynnodd o gathiwed,
Fe'th adgenhedlodd o'th ddrwg rân,
  Ai yfpryd glân bendiged.

Fe'th alwodd o blith deillion,
  I gredu 'r fengyl dirion,
Fe'th gyfiawnhâodd yn rhâd trwy ffydd,
  Yn Ghrift d'Achubydd ffyddlon.

Dihun gan hynny a chofia,
  Drugaredd y gorucha,
Ar modd ith helpodd prynwr cred,
  Er pan ith aned gynta.

Yn foethus iawn fe'th borthodd,
  Yn drefnus fe'th ddilladodd,
Fe'th dderchafodd i fawr fraint,
  Rhag cwrp a haint fe'th gadwodd.

Esay. 56.5 Fe rows id enw hyfryd,
*Cymmeriad. A * chredit a fyberwyd,
Heddwch, llwyddiant, grâs, a dawn,
1Cor.3.21 22.23. A llawer iawn o olud.

Fe wnaeth id fyw mewn cariad,
  Hawddgarwch a chymmeriad,
*Fâth. Gydâ phob glân * fort o ddŷn,
  Heb gâs gan vn or teir-gwlad,

Dihun

Dihun gan hynny a chofia,
Drugaredd y gorucha,
Ar môdd ith helpodd prynwr crêd,
Er pan ith aned gynta.

*Ni phallodd erioed, etto,*
*O'r peth y faet ti'n geisio,*
*Er na haeddyt feger taer,*
*O'r briwsion ar ei ddwylo.* Gen. 32. 10

Nid oes vn dŷn ag 'aned,
Sydd arno fwy o ddyled,
I glodfori 'r vn Duw tri,
Nag f' arnat ti * or parthred. *Oiplegid.

Dihûn gan hynny a chofia,
Garedigrwydd y gorucha,
Ar modd i'th helpodd prynwr cred,
Er pan ith aned gynta.

A thra fo id ben a thafod, Psal. 146. 2
Mynega byth ei fawrglod,
Ai ddaioni yn ddi-ddal,
Tra chwyth ac anal ynod.

*Ir Tâd, ir Mâb, ir Yspryd,*
*Ir Drindod vndod hyfryd,*
*Y bo clod a moliant mawr,*
*Bob dydd, bob awr, bob ennyd.*

---

*Diolch am etholedigaeth ac am amryw ddoniau ysprydol.*

O Arglwydd Dduw goruchaf,
Pa ddull, pa fodd y gallaf,
Roi it ddiolch llawn ar llêd,
Fel y mae 'r dyled arnaf?

*Nid yw 'r doniau a grybwyllir am danynt yn y gân hon yn perthyn i bawb, canys er bod llawer gwedi ei galw, etto ychydig a ddewiswyd.*

Cyn

Cyn gwneuthur nêf a daiar,
O'th ras yn Ghrist a'th ffafar,
Di 'm detholaist fod yn un,
O'th blant dy hun yn gynnar.

Di 'm creaist inne o'r priddyn,
Oedd frwnt a gwael ei eulyn,
Ar dy lûn a'th wêdd dy hun,
Yn lana dŷn o'r weryn.

Di 'm tynnaist yn dra lluniadd,
O grôth fy mam yn berffaidd,
Lle gallassyd fy'n rhoi maes,
Yn grippil câs angrhuaidd.

Di 'm gwnaethost inne 'n Gristion,
Ym mhlith dy bobol ffyddlon,
Lle gallassyd heb ddim dysc,
Fy'n rhoi ym-mysc Iddewon.

A chwedi *Adda* ngwerthu,
I Satan gynt wrth bechu,
Di am prynaist o'i law 'n rhâd,
A gwerthfawr waed y *Iesu*,

†Arbedaist Ni † Speriaist roddi i farw,
Dy unig fâb i'm cadw,
*Grogi. Ac i * hongian ar y groes,
Dan lawer loes oedd chwerw.

Tit.3.3 4, 5,6,7. Di'm adgenhedlaist gwedyn,
I fod yn anwyl blentyn,
It trwy fabwys prûdd a grâs,
Pan oeddwn wâs a gelyn.

Di aethost yn Dâd im-mi,
Ioan 1.12. A minnau 'n blentyn itti,
Di'm ail wnaethost ar dy wedd,
Eph.2.10. Yn tifedd i'r goleuni.

Di'm

Di'm gelwaist innau hefyd, Jac. 1. 18.
A'th air, â'th nefol ysppryd,
O blith miloedd o rai câs,
I gaffel grâs a Iechyd.

O blith y bobol feddwon,
A'r mûd, a'r dwl, a'r deillion,
Di am gelwaist â'th air * dwys, *Pwysfawr
I sonwes d'eglwys dirion.

A gwaed dy fâb di'm golchaist,
A'th yspryd di'm sancteiddiaist;
Rhan o'th nattur rhoist i mi, 2Pet. 1.4.
Am pechod ti dirymmaist. Rhuf. 6.4.

Ac er fy môd yn sarnllyd, Rhuf. 3.24 25 26.
Am gweithred yn frycheulyd,
Di'm cyfiawnhâist o'th râs yn rhâd,
Trwy ffydd yngwaed d'anwylyd.

A rhoist i'm gadarn obaith, 1Thes. 4. 13. 16, 17.
Er immi farw unwaith,
O ran y cnawd, pan del y cri,
Y câf gyfodi 'r ei'waith:

A derbyn yn † ddiffuant, †Ddidwyll
Gan f'Arglwydd wîr ogoniant, Col. 3.4.
(Er mwyn Christ) a nefol fraint,
Ym-mhlith y saint † triwmphant: †Ag sydd yn gorfoleddu yn y nef.

Lle caf fi wir lawenydd
A heddwch yn dragywydd, Psal. 16. 11
Parch, anrhydedd, tra 'no 'i chwyth,
A gwynfyd byth na ddersydd.

Am hyn o ddoniau 'sprydol,
Fy nhâd am Harglwydd nefol,
Rwi'n rhwymedig ar fy llw,
Glodfori d'enw grassol:

A

A thro dim deall genni,
Yn ddyfal dy addoli,
A'th foliannu bob yr awr,
Am dan dy fawr ddaioni.

Ir hael *Dad* rhwn a'n creodd,
Ir *Jesu* rhwn a'n prynodd,
Y byddo clod a mawl bob cam,
A'r Yspryd a'm sancteiddiodd.

---

## *Gweddi mewn Cyfyngder rhag Gorthymder.*

DIhun Dihun, pa ham y cyscaist?
Erioed hyd hyn fy Nuw ni heppiaist:
*†cymmorth* Nid Baal wyt: o danfon † swccwr,
Tynn dy wâs o dost gyfyngdwr.

Sŷch fy neigreu, Torr fy Magal,
Gwared F'enaid, llaesa 'ngofal,
Gwêl fy nghystydd, clyw fy nghwynfan,
** Achwyn.* Barn fy * hawl, rhyddhâ fi weithian.

Fy nghraig i wyt, o nâd fi syrthio!
*†Twr:* Fy † nhwr cadarn; nad f'anrheithio,
*‖ Arglwydd.* Fy Nuw, fy ‖ Ner, o dere im helpu!
Fy Nefawl Dâd, Nad fy ngorthrymmu.

Galluog wyt, di allu helpu,
Vnig ddoeth, y modd di medru,
Trugarog Dâd, oh dere a swccwr!
Psal. 46. 1. Hawdd yw'th gael mewn tost gyfyngdwr.

Gwradwydda fwriad fy ngelynion,
** Attal.* * Tola falchder fy nghaseion:
Gwascar gyngor tyrfa waedlyd,
Er mwyn Christ Rhyddhâ fi o'm penyd.

ARALL

## ARALL.

DUw fy ngrhaig, am Twr, am † Nodded, † Amddiffynfa.
Duw fy Jechyd am ymddiried,
Gostwng glust a gwrando 'ngweddi,
Mewn cyfyngder a gofydi.

Duw rhoist gennad i'm gelynion,
Fy ngorthrymmu heb achosion,
Am difethu 'n llwyr gan mwya,
Os tydi ar frys ni'm helpa.

Di roist gennad i estroniaid,
Lwyr amcanu difa f'enaid,
A'r sawl nad wi 'n nabod etto,
Lwyr amcanu fy anrheithio.

Rhai na wn o ble y henyn,
Rhai na wnaetho'i ddim iw herbyn,
Rhai na chanfu erioed fy llygaid,
Sydd yn ceisio speilio f'enaid

Arglwydd maent hwy gwedi'm maglu,
Ac yn barod im difethu,
Oni ddoi di ym-inrhyd â swccwr,
Im gwaredu om cyfyngdwr.

Deffro o gysgu f'unig Geidwad,
Mae fy llong mewn trallod irad;
O cyrydda 'r gwynt a'r tonneu,
Rhag im soddi yn ei rhwydeu.

Nad im llong am * taccal dorri, * Rhaffau llong.
Bydd di borth ac Angor immi: † Tywydd garw.
Lleisa 'r † storom sy'n fy mlino,
Moes dy Law, a nad fi * singco. * Boddi.

Psal. 50. 15 Erchaist immi ddwad attad,
Yn fy nhrallod, anwyl Geidwad,
*Dysod Attad ti fy Nuw 'rwi 'n * trottan,
Danfon im ymwared weithian.

Di Addewaist wrando yng-weddi,
Yn fy nhrallod ond im' weiddi;
Gweiddi arnad yr wi 'n wastod;
Arglwydd weithian tynn fi o'm trallod.

Di wrandawaist weddi *Jonas*,
Gynt o fola 'r morfil atgas,
Di achubaist o'i flindereu;
Gwrando ngwaedd, ac achub finneu.

Psal. 18. Di waredaist *Dafydd* frenin,
Oddiwrth *Saul* oedd yn ei ddilyn:
Gwared finne o'm trallodion,
Ac o ddwylo fy ngelynion.

1 Bren. 19. Di waredaist hên *Elias*,
O law waedlyd gwreigin ddiras;
Gwared finne yn fy nolyr,
O law waedlyd fy ngwrthnebwyr.

Mat. 17. 15 Di dosturiaist yn dra diddig,
*Gwallgofus. Gynt wrth Dâd y plentyn * lloerig;
O tosturia wrthyf finne,
Sy'n dy ganlyn megis ynte.

Mat. 15. Di roist help i'r wraig o *Ganaan*,
Y fu'n daerllyd yn ei feggian;
O rho help a nerth i minne,
Sydd am cais mor daer a hithe.

Er nad oes ym-hwer vn-dyn,
*Cythrael Rwymo 'r * Ddraig sy'n codi im herbyn:
Etto Arglwydd mawr di allu
Rwymo hon a'i llwyr ddirymmu.

Gymmer

Cymmer yn dy law dy waywffon,
Cyfod, ymladd â'm gelynion;
Torr hwy ymmaith yn ei gwegi,
Nad hwy wneuthur trallod immi.

Gyrr dy Angel i wascaru,
Sawl sy'n chwennych fy ngorthrymmu:
Gyrr dy saethau, a difetha
Sawl sy â'i bwriad ar fy nifa.

Duw di elli'r modd y mynnech,
Fy'm rhyddhau y maes o ortrech;
Er dy fawredd dere a chomfforde,
A gwir rydd-dyd im yn rhyw-ffordd.

Nâd im Gelyn gael fy llyngcu,
Na'm gwradwyddo, na'm gorthrymmu;
Nâd i'r Byd ychwaith gael dwedyd
Iddo gaffel arnai ei wynfyd.

Dangos immi eglur arwydd,
O'th ddaioni a'th gredigrwydd,
Fel y gwelo 'r byd o bobtu,
Mae tydi sydd yn fy ngharu.

Nid wi'n ceisio help Gwyr Mawrion,
Na Phennaethiaid, na Thwssogion:
Ond yn unig cymmorth difrad,
Gennit ti fy *Nuw* am Ceidwad.

Nâd i minne gael fy nhwyllo,
Lle rwi 'n hollol iti 'n † trusto; † *Ymddiried*
* Dere weithian ag ymwared; * *Tyred.*
Ynot ti mae f' holl ymddiried.

Mae fy llygaid o'r dechreuad;
Ddydd a nos yn disgwyl arnad;
Dere weithian im diddanu,
Arglwydd nâd im llygaid ballu.

Dere Arglwydd, dere, bryssia,
Gwared f' enaid o gyfyngdra,
Fel y gallwyf dy foliannu,
Trwy lawenydd am fy helpu.

*Diolch am ymwared o ddwylo Gelynion.*

ANgelion *Duw* a meibion Dynion,
Nef a Daiar a'u Trigolion,
Molwch *Dduw* ar eitha'ch gallu,
Ddydd a nos am fy ngwaredu.

*Caledfyd — Mewn * Ing, trallod, a chyfyngdwr,
Y gweddiais ar fy mhrynwr,
Ac o'r Nêf o blith Angelion,
Clybu lêf fy nghwyn hiraethlon.

Sarph offododd fagal embaid,
A chroglathe i ddala f'enaid;
Rhwyd a chroglaeth Duw a'u torrwys,
F'enaid inne fei gwaredwys.

Helodd Angel im dad-dryssu,
Rhows ei yspryd im diddanu,
Tannodd drosswi Adain hyfryd,
Ac fe'm tynnodd o'm holl ofyd.

Duw a glybu ngwaedd iradus,
† Ymbiliodd. — Christ † eiriolodd drosswi 'n rymmus;
A'r glân yspryd a'm diddanodd,
Ac o'm trallod fe'm gwaredodd.

O molianned pob creadur,
F' Arglwydd mawr yn ôl ei nattur,
Am ei gymmorth a'i dosturi,
Yn fy ngwared o'm gofydi

Teirw

Teirw Basan a'm cylchynodd,
Nadredd tanllyd a'm herlidiodd:
Bleiddiaid blin ac vnicorniaid,
Amcanassant ddifa f'enaid.

Duw a barodd i'r rhain darfu,
Pan oedd mwya eu chwant i'm llyngcu:
Duw a dorrodd gyrn a dannedd
Y Bwystfilod hyn o'r diwedd.

O molianned pob creadur
F' Arglwydd mawr â chalon bryssur,
Am ei * garc yn achub f'enaid, *Gofal.
O rhwng cyrn yr vnicorniaid.

Gŵyr digrefydd, gwragedd gwaedlyd,
Y gynllwynodd am fy mywyd,
Ac amcansont fy * andwyo, *Nafu.
Difa f' enaid a'm anrheithio.

Duw ddatguddiodd eu dichellion,
Duw ddiddymmodd eu hamcanion,
Duw a ddryssodd eu bwriade,
Duw waredodd f' enaid inne.

O molianned pob creadur
Dduw fy nghraig â chalon bryssur,
Am ddwyn f'enaid o drallodion,
A gwradwyddo fy ngelynion.

Clôd a gallu, Diolch, Moliant,
Gwîr Anrhydedd a Gogoniant,
Y fo nôs a dydd i'r Drindod,
Am fy 'nhynnu maes o drallod. Amen.

## *Arall byrrach.*

MEgis *Daniel* rhwng y llewod,
Megis *Jonas* rhwng Morfilod,
Y gweddiais ar yr Arglwydd,
Ac o'r nef fe'm clybu 'n ebrwydd.

*Caeodd. †Morbysg mawr.

* Stoppodd safneu 'r llewod rheipus,
Ffrwynodd ên y † whâl afradus,
Torrodd awch y Sarph am llyngceu,
Tynnodd f'enaid o'u crafangau.

Nefoedd, Daiar, Dwr ac Awyr,
Tân, a gwynt, a phob creadyr,
Molwch f'Arglwydd mawr yn wastod,
Am fy'nhynnu maes o drallod.

## *Psalm cwynfannus.*

Psal. 69.

DUw achub f'enaid gwirion,
O'r llif a'r dyfroedd mawrion,
Sydd om hamgylch bob yr awr;
Im rhoi mewn dirfawr ofon.

Mi soddais mewn gofydi,
Nid oes sefyllfa immi:
Y ffrwd a lifodd dros fy Mhen,
Yr wyf ar * haychen boddi.

*Agos.

Mi griais nes im flino,
Fy nghêg sydd gryg gan grio;
Hir ddisgwilais am dy râs,
Nes imi lâs ddeffygio.

Amlach

Amlach yw 'ngelynion,
Na'm gwallt, neu 'r grô o'r afon:
A'r rhai s'eb achos im casau,
Ynt ffel, a chlai, a chryfion.

Cedyrn yw 'ngwyrthnebwyr
Sy'n ceisio 'm lládd heb ystyr:
Telais iddynt fwy nâ'u rhan,
A minne yn wann difeffur.

Di 'dwaenost fy ffolineb,
Am gwendid am gwirionded:
A'm höll feie sydd mor † blaen,
Bob awr o flaen dy wyneb.

Duw nâd gwilyddio o'm plegyd
Y rhai † arhoffant wrthyd;
Na gwradwyddo yn o'th Blant,
A'th geisiant yn eu gofyd.

Mi ddwgais lawer gwradwydd,
Do er dy fwyn di Arglwydd,
A gwrthwyneb llawer pryd,
Gan *Blant y Byd* trwy aflwydd.

Mi aethym yn ddieithriol,
Oddiwrth fy Mrodyr cnawdol,
Ac fel estron ar bôb cam,
Gan Blant fy Mam natturiol.

Cans zêl dy dŷ am * hyffodd,
A gwawd y rhai'th wradwyddodd
A syrthiodd arnaf er dy fwyn;
Duw clyw fyng-hwyn o'r Nefoedd.

Mi wylais ddeigre hallton,
Mi ymprydiais ddyddie hirion,
Gan gystyddio f'enaid prydd,
O ddydd i ddydd yn greulon.

† Eglur.

† Ddisgwyliant.

* Bwyttaodd.

Mi wiſcais ſâch a llydw,
Fel vn a ſae mron marw,
A chalon driſt, ag wyneb tlawd,
Nes mynd yn wawd i'r meddw.

Ond mi weddiaſ arnad,
Mewn prŷd o Dduw ſyng Heidwad;
Tâd trugaredd gwrando fi,
A dwg fy ngweddi attad.

Duw tynn fi o'r pydew tomlyd,
A nâd fi gwympo oddiwrthyd:
Gwared fi oddiwrth fy nghâs,
A dwg fi maes o'm gofid.

Duw nâd i'r llif fy moddi,
Na'r pydew mawr fy llyngcu;
Nad i'r ffoes fy llimpro 'n fyw,
Duw graſſol clyw fy ngweddi.

Duw gwrando nghwyn iradys,
Dy fwynder ſydd gynfforddys;
Tro ar fyrder at dy wâs,
Dy help a'th râs ſydd ſelys.

Na thro dy wyneb graſſol,
Oddiwrth dy wâs cyſtyddiol:
Rwi mewn trallod, dere ar frys,
A thynn fi o'r llys anweddol.

Neſſa at f'enaid gwirion,
A thynn fi o'm trallodion:
Gwared fi oddiwrth fy mraw,
A thynn fi o Law ngelynion.

Di wyddoſt beth yw f'ofan,
*Anglod. Am cwilydd maith a'm * gogan;
*Mae 'ngwrthnebwyr ger dy fron,*
*Duw tro eu amcan aſian.*

Mae

Mae 'nghalon ymron torri,
Gan gymmaint yw ngofydi:
Ac ni feddai nêb o rym,
A ddengys im dofturi.

Duw dere ar frys im helpu,
Im cymmorth a'm diddanu;
Tynn fi o'm trallod er mwyn Christ,
Gwna nghalon drist † grechwennu. † Chwerthin.

O dere Farnwr cyfion,
A Barna di f'achofion;
Gwêl y camwedd wi 'n i gael,
Ar ddwylo gwael elynion.

Mâb Duw bydd di Ddadleuwr,
I * bledo dros dy wfnaethwr; * Ddywedyd.
Nâd i'r Gelyn ddwyn fy rhan,
Lle rwyfi 'n wann difwccwr.

A thithe Tâd diddanwch,
Cymfforddda fi'n fy nrhistwch:
Cwyn fy nghalon drist heb ffael,
A phâr im gael llonyddwch. Psal. 51. 8, 12.

Dwg gymmorth im drachefen,
O'th Jechydwriaeth lawen;
A'th hael yfpryd cynnal fi:
Nâd drallod dorri 'nghefen.

Pâr immi glywed beunydd
Orfoledd a llawenydd:
Fel y chwarddo 'nghalon wann,
Y ddrylliwyd gan dy gerydd.

---

Psalm

*Psalm o ddiolchgarwch am ymwared o gystydd.*

Psal. 30. O'R Dwst, o'r dom, o'r dyrfa,
Or Llywch, o'r Llaid, o'r Llacca,
Di 'm derchefaist vn Duw Tri,
Gan hynny mi 'th folianna.

Di nadaist im Gelynion,
Gael arnai wyn eu calon,
Pan yr oeddwn glâf a gwann,
Yn gorwedd dan drallodion:

Mi lefais arnad Arglwydd,
Rhag mynd i'r bêdd trwy wradwydd:
Di wrandawaist ar fy llêf,
Rhoist help o'r nêf yn ebrwydd.

Gwaredaist f'enaid hyfryd,
Rhag mynd i uffern danllyd;
Am corph egwan, trist ei wedd,
Rhag mynd i'r bedd llydylyd.

Gan hynny meibion dynion,
A'r Sainct, a'r hôll Angelion,
Cenwch foliant un Duw Tri,
*Wneuthur Am * ddelo â mi mor dirion.

Ni pheru ei lid ond ennyd,
†Heddwch Ei † hedd fydd well nâ bywyd:
*Digofaint Dy * fâr a erys dros brydnawn,
A'r boreu cawn lawenfyd.

Tra fum i yn llwyddiannus,
Mi ddywedais yn rhyfygus,
Na'm fymydyd tra fawn byw,
Ond y cawn fyw 'n fin-felus.

Os Arglwydd o'th ddaioni,
Di fuost gryfder imi;
Nes itt ddigio wrth dy wâs,
Am troi i † gâs anigri. † Gyflwr.

Pan troesost ti dy wyneb,
O achos f'annuwioldeb,
Yno y syrthiais bob yr awr,
I drallod mawr dierch.

Ac yno y llefais Arnad,
Yn daer, yn dost, yn irad,
Am dosturio wrthi ym-mhryd, * Arbed.
A * spario mywyd † anllad. † Diriad.

Pa lês o Arglwydd hyfryd,
Y gae oddiwrth fy mywyd?
Pan descynnwi 'n dost fyng wedd,
I'r pwll a'r bedd llydylyd.

A fydd i'r llwch glodfori * O bryssur
Dy Enw di * oddifri?
A fynegaf dy wir fy Nâf,
Pan byddaf gwedi trengi?

Clyw Arglwydd, moes drugaredd,
A rho gynnorthwy rhysedd,
I mi druan dôst fy nghâs,
Yn ol dy râs bendigedd.

Di roeist o Dduw yn hygar
Lawenydd yn lle galar:
A dioscaist fy sâch-wisc,
Pan oeddwn mysc rhai 'n trydar.

O Arglwydd fy Nuw grassol,
Mi'th folaf yn dragwyddol;
O herwydd ti 'm gwaredaist i,
I'th foli di yn hollol.

## *Am Ddiwedd y Byd.*

PAwb ſy'n chwennych dyſgu 'r pryd,
Y daw Chriſt i farnu 'r Byd:
Rheitach yw i bob rhai ddyſgu,
Ymbartoi cyn mynd i barnu.

Ffôl o beth i feibion dynion,
Geiſio gwybod mwy nâ Angelion,
A deallu wrth draws amcan,
*Cyngor, Bwriad.* Ddirgel * gwnſel Duw ei hunan.

Nid oes dŷn, na Diawl, nac Angel,
All deallu dim o'i gwnſel,
** Datglôi.* Na'r holl fŷd yn abal * daclo,
Vn cyfrinach a fo gantho.

Ofer yw i neb chwennychu,
Nabod dim y ſo Duw 'n gelu,
Mar.13.32 A mynegu wrth draws amcan,
*† Sef fel yr oedd efe yn ddyn.* Beth nas † gwyddei Chriſt ei hunan.

Dyſc gan Chriſt y peth hyſpyſſodd,
Na chais wybod dim y gelodd:
Deut.29.29. *I ni perthyn a ddadguddiwys,*
*I Dduw 'r cwbwl nas mynegwys.*

Na chais wybod tra fech byw,
Ddim o ddirgel bethau Duw;
Ac or ceiſii mae 'n ddiogel,
Boen a chwilydd am dy draſel.

Y mae 'r môr yn boddi llawer,
Sydd yn chwennych gweld ei ddyfnder:
**Ddirraid ſy yn y coppy.* A'r haul wenn yn dallu llygaid,
Pawb edrycho arni 'n * dambaid.

Dydd

Dydd y farn ſydd * ſiwr i ddyfod, *Sicir.
Y pryd nid oes ond Duw 'n ei wybod :
Ffôl yw 'r dyn y geiſio † drogan †Darogan, prophwydo
Y dydd, nas gŵyr ond Duw ei hunan.

Dweded pawb ei dewis chweddel,
Nid oes dyn, na diawl, nac Angel,
Wyr y dydd, na'r awr, na'r flwyddyn,
Y daw Chriſt i farnu arnyn.

Gwiliwch bawb a byddwch barod,
A diſgwyliwch nes ei ddyfod,
Ar y dydd a'r awr nas gwypoch, Mat. 25. 13
Y daw Chriſt yn ddirgel attoch.

Jago a Pheder gynt ofynnodd,
I Griſt, cyn ei † ddercha ir nefodd,
Athro, dangos cyn dy † ddrycha, †Dderchafu.
I ni 'r prŷd ar dydd diwetha.

Chriſt attebe ei ddiſcyblion, Mat. 24. 3, 36.
Nid perthynas i blant dynion, Act. 1. 7.
Wybod * Cwnſel y Gorucha, *Cyngor.
Am y dydd a'r awr ddiwetha.

Mae Duw 'n cadw hynny 'n ddirgel,
Iddo ei hunan yn ddiogel :
Gwiliwch bawb, a byddwch barod,
Nes y dêl ni chaiff neb wybod.

Nid yw'r doetha o blant dynion,
Na'r anwyla o'r Angelion,
Yn deallu hyn o Amſer,
* Gweglwch gredu chwedleu oſer. *Gochelwch.

*Elias* gynt, medd rhai, y ddwede,
Y parhau 'r byd, chwech mîl o flwydde,
Yn ôl hynny fe ddiweddidd,
Drwy Dân poeth, nes ail * renewid : *Adnewyddid.

† Agos; oddieithr ychydig.
Dwy fil heb vn Gyfraith † haychen,
Dwy fil dan gyfreithau *Moesen*,
Dwy fil dan Efengyl *Jesu*,
Or cae bara cŷd a hynny.

* Sef yn Scrifennedig.
Tair oês meddant sydd ir bŷd,
Yn * heb gyfraith oll i gyd,
N'all dan drwm lwyth gyfraith Foesen,
Drydedd dan y fengyl lawen.

Y ddwy oes gynta aethont heibio,
A'r drydydd oes sy'n para etto;
Hyd pa hyd y peri weithian,
Nis gwyr neb ond Duw ei hunan.

Mil a chwechant aethont heibio,
O'r oes hon ac vgain Cryno;
Fe all pawb wrth hynny wybod,
Nad oes fawr o hon heb ddarfod.

Pawb o'r doethion a gyttuna,
Mae byrra oes yw'r oes ddiwetha;
Os er mwyn y detholedig,
Hi sydd byrrach nid ychydig.

1 Joan: 2.18.
*Ifan* alwe 'r oes hon ymma,
Yn ei ddydiau'r oes ddiwetha;
Os diwetha 'r amser hynny,
* Yn agos.
Mae hi'n awr * ymron Terfynny.

† Nesau. 1 Pet. 4. 7.
Diwedd pob peth oedd yn † nessid,
Pan oedd *Peder* yn y Pulpid;
Nid oes lûn nad ydyw'r diwedd,
Nawr wrth hynny'n agos rhyfedd.

Yn amser *Paul* yr oedd gan mwya,
Yr oês a'r dydd, a'r awr ddiwetha,
† Mynud yw'r triugeinfed ran o awr.
Rwan yn ein hamser ninnau,
Mae'r diwetha or † mynudau.

Y bŷd sydd gwedi mynd yn gleirchyn,
Ac yn Grippil medd saint Awstin:
Mae ê 'n cerdded ar ffynn Baglau,
Nid oes nemmawr iddo o ddyddiau.

Gwiliwn bawb a byddwn barod, Mat. 24.
Mae 'r dydd mawr yn agos dyfod, 33.
Mae medd Christ ymron y dryssau,
Trwssiwn bob rhai ein * Lusernau. * Lampau.

|| Certen yw y daw ar fyrder, || Siccir.
† Ancertennol ydyw 'r amser; † Anhyspys
Pwy cyn gynted nis gwyr vn dyn,
Byddwn bob awr ar ein * rofyn. * Sef yn ymbaratoi, megis rhai ar gychwyn i gyfarfod Christ.

Nid oes dŷn medd Christ ei hunan,
Wyr y dydd a'r awr yn gyngan,
Nac vn Angel detholedig,
Na neb ond y Tâd yn vnig.

Ofer yw gan hynny i ddynion, † Mynegi
Geisio † maneg yr amseron,
Y mae 'r Tâd yn gadw 'n gyngan,
Yn dra dirgel iddo ei hunan.

Etto *Napeir* enwa 'r flwyddyn,
Y gwna Duw ar bob peth dersyn,
Ac y bydd y flwyddyn hynny,
Cyn mil saith cant o oes *Jesu*.

Dweded pawb ei dewis chweddel,
Nid oes dyn, na *Diawl*, nac Angel,
Wyr yr awr, na'r dydd, na'r flwyddyn,
Y gwna *Duw* ar bob peth dersyn.

Byddwn barod bawb gan hynny,
Edifarwn heno, heddu:
Ar y dydd ar awr nas gwypom,
Y daw Christ yn ddirgel attom.

Fel

Fel na nabu serchog *Rachel*,
† amser escori. Oi † thymp nes mynd ar ei thrafel,
Felly ni chaiff dynion nabod,
Dydd yr Arglwydd nes ei ddyfod.

Pan daeth amser *Rachel* wisci,
Ar ei phlentyn bâch escori,
F'orfu escori ar y bachgen,
Ar y ffordd dan sôn y dderwen:

Felly gorfydd ar y ddaiar,
Sy'n beichiogi er yn gynnar,
Gwympo i escori ar y meirw,
Pan del vdcorn Christ iw galw.

Fel y daeth y Tân ar Brwmstom,
Yn ddysymmwth am ben *Sodom*,
Luc.17. Felly daw y Dydd diwedda,
28, 29, 30. Pan bo'r byd yn cyscu 'n smala.

Ni ŵyr nêb o'r awr na'r amser,
Byddwn bôb awr ar ein pryder,
Mat.25.4. A'n Lusernau yn ein dwylo,
Gydâ'r merched call yn gwilio.

Mae 'r arwyddion gwedi cerdded,
Eglured. Y synegodd Christ cyn * blaened,
Ond bôd 'chydig o'r *Iddewon*,
Etto heb gredu 'r sengyl dirion,

Mat.24.9. Fe ferthyrwyd y' Postolion,
Act. 12. 2. A mil miloedd o'r Christnogion,
Ym-mlhaid y ffydd a'r efengyl;
Fe ŵyr holl-gred hyn yn rhigil.

Luc.19: 43,44. Fe ddistryw-wyd *Caerusalem*,
Nid oes maen ar faen lle gwelem;
Mat.24.2. Hithau 'r Demel fawr y losgwyd,
A'r *Iddewon* a wascarwyd.

Fe

F'aeth y fengyl hygar hyfryd,
Ar farch gwyn ar draws yr holl fyd: Matt. 24. 14.
Nid oes Cornel dan y nefoedd,
Na bu'r fengyl ynddo 'n rhyw-fodd.

Nifer mawr o Gristiau ffeilston, Mat. 24. 24
Yng-rhêd ac angrêd y godasson,
A thrwy * hoeced Tâd y celwydd, * Twyll.
Troesont lawer i gam-grefydd.

Rhyfel blin rhwng Twrc a Christion,
Y fu 'n fynych iawn ni glywson: Matt. 24. 6, 7.
Sôn mawr sydd am ryfel etto,
*Rhoed Duw hedd ir sawl ai caro.*

Newyn mawr a thost ddrudaniaeth,
Y fu'n llawer gwlad ysowaeth;
Haint, a Phlâg, a chwarren waedlyd,
Y fu'n hwyr ar hyd yr holl-fyd.

Daiar grŵn y fu o'r mwya,
Nes syrthio Temel fawr Ddiana,
A bwrw lawr y Tresydd mawrion; Luc 21. 11
Twrc a chestyll yn † sebwrthon. † gan-dryll.

'Rhaul † ecclipsodd or' Tywylla, † Dywyllodd.
Nes mynd dydd yn nôs gan mwya:
A'r môr mawr aeth dros y *bancau, Luc. 21. 25
Boddodd miloedd o eneidiau. * Glannau.

Y mae * *Anghrist* ynte'n rhochain, * y Pâb.
Ys llawer dydd yn Eglwys Rhufain;
Ac yn † mwrddro 'r Saint heb orphwys, † Lladd.
Eisiei alw 'n benn ir Eglwys.

Cariad Perffaith ynte oerodd, *Mat.* 24. 12. || Merch a mam yn y gyfraith.
Ni châr mâb o'r Tâd a'i magodd;
Gwaudd || a chwegr sy'n * ymsowtan, Mar. 13. 12
Câs gan frawd ei frawd ei hunan. * Ymdaeru.

Luc. 18.8. Ffydd ysowaeth sy'n mynd lai lai,
Cred o gryn-fyd aeth yn garrai,
*Asia*, *Affric*, *Gracia* ffyddlon,
Sydd yrwan heb griſtnogion.

Nid oes vn o'r holl arwyddion,
Ond dymchweliad yr *Iddewon*,
Na bont eiſwys gwedi dyfod;
Gwiliwn bawb a byddwn barod.

Act. 10 42. *Y mae'r Barnwr mawr yn cychwyn*,
*Mae ys dyddie ar ei rofyn*;
1 Thess. 4.16. *Fe ddaw weithian yn dra hoyw*,
*I roi barn ar fyw a meirw*.

*Mae ef gwedi hogi gledde*,
*A golymmu ei holl ſaethe*;
*Mae ei fwa yn ei annel*,
*Ac yn barod mynd i ryfel*.

Mae fraich rymmus gwedi hyſtyn,
Mae Angelion ar ei rofyn;
Mat. 24. Fe ddaw fel y diluw tanllyd,
37,38,39. I roi barn ar bawb o'r hollfyd.

O meddyliwn ninne am wiliad,
Ac am ddiſgwyl ei ddyfodiad,
A bod bawb â'n cyfri 'n barod,
Ac yn dacclus cyn ei ddyfod.

---

## *Cofiwch Angeu.*

*Ansafadwy. BYrr yw'n hoes ac * Ancertennol,
Heddyw n' fyw, y foru 'n farwol;
Gynne 'nGawr, y boir yn gelain,
Dymma gyflwr dŷn a'i ddamwain.

*Ni bydd ymma am hen ennyd;*
*Un o honom heb ei symmyd;*
*O meddyliwn am ein † shiwrne,*
*Heno ysgatfydd rhaid ei dechre.*

Fel y rhed yr haul ir hwyr,
Fel y treulia 'r ganwyll gwyr,
Fel y syrthia 'r Rhossyn gwynn,
Fel y diffidd tarth ar lynn:

Felly Treulia, felly rhed,
Felly derfydd pobol Grêd,
Felly diffydd bywyd dŷn,
Felly syrthiwn bob yr un.

Fel llong dan hwyl, fel || pôst dan fawd, || *Rhedegwr.*
Fel saeth at † farc, fel Gwalch ar ffawd, † *Nôd.*
Fel mwg ar wynt, fel llif ar ddŵr, * *Rhedeg a frys.*
Y * Posta ymmaith einioes gwr.

Fel saeth y rhêd, fel Post y gyrr,
Fel Cwyr y Tawdd, fel ia y tyrr,
Fel dail y syrth, fel gwelltt y gwywa,
Fel Tarth y trig, fel Lamp y treula. 1 Pet. 1. 24.

Ni ddifannwn fel y cyscod,
Ni lwyr doddwn fel y mano',
Ni † ddiharffwn fel glaswelltyn, † *Collwn ein harddwch.*
Ni ddiffoddwn fel yr Ewyn.

Ni cheir gweled mwy o'n hôl,
Nag ol Neidir ar y ddôl,
Neu ol llong aeth dros y Tonne,
Neu ol saeth mewn Awyr dene.

O! gan hynny, heddyw, heno,
Moeswch i'ni bawb ymgweirio,
Fynd ar * ffrwst, a thynnu oddiyma, * *Frys.*
Lle na chawn o'r hir arhosfa.

Mewn Tai o glai yr ym yn trigo,
*Tymmhestl. * Storom gron y bair eu syrthio;
Gwiliwn rhag ir Angeu ein saethu,
A briwio 'r wal Tra fom yn Cysgu.

Fel y trewir pysc â thryfer,
†Ceiliog coed. Fel y saethir † phesant dyner,
Fel y torrir blodau'r ardd,
* Gweirglodydd. Fel y lleddir * gweunydd hardd:

Felly trewir dŷn heb wybod,
Felly saethir yn ddiarfod,
Felly torrir gwchder dŷn,
Felly 'n lleddir bob yr un.

Fel dwr dîluw ar y cynfyd,
Fel tân gwyllt ar *Sodom* aethlyd,
* Mellten. Fel * llycheden, fel y ddraig;
Fel y gwewyr blin ar wraig:

Felly 'n chwyrn, ac felly 'n danllyd,
† Disymmwth. Felly 'n † immwngc, felly 'n aethlyd,
‖gwartha. Felly 'n flin, ac felly 'n draws,
Y daw 'r Angeu ar ein traws.

Brau yw 'n cnawd, a bâch yw'n crysdwr,
Gwann yw'n grym, a gwael yw'n cyflwr,
Tippyn bâch o groes neu gerydd,
All yn troi a'n torr i fynudd.

Gwrâch all ladd y Cawr â chogail,
Blewyn bâch all dagu'r bugail,
Drân ar draws all ladd yr hwsmon,
*Diym. Duw mor * ddiserth yw plant dynion!

Y gwann, y gwael, y dwl, y dall,
Y lâdd y cryf, y gwymp y call:
*Drel. Y * bŵr di-barch, â maen nid mawr,
A friwia 'n caer, a ddifa 'r Cawr.

Beth

Beth yw dŷn wrth hyn ond tarth,
A mwg, a niwl, a gwellt, a gwarth,
A gwydyr crîn, a rhew, a rhosſyn,
A ſtên o bridd, a gwynt, ac ewyn.

Y dewr, y doeth, y gwych, y gwalchaidd,
Y crŷf, y call, y capten cruaidd,
Ein pen, a'n pont, a'n grym, a'n gras,
Y gaſodd gwŷmp gan angeu câs:

Fel y cwymp holl ddail yr allt,
Fel y * croppia 'r gwellt 'n gwallt, *Cneifia.
Fel y gwywa lili 'r maes,
Fel y tyrr y gwydyr glâs.

Felly gwywa, felly tyrr,
Felly * craccia 'n bywyd byrr, *Tyrr.
Felly croppiir einioes dŷn,
Felly cwympwn bob yr un.

Fel tŷ bugail ein ſymmydir,
Fel ſtên briddlyd ein candryllir,
Fel dilledyn y darfyddwn,
Fel y llwydrew y dyfflannwn.

*Ni chawn aros mwy nâ 'n tadau,*
*Awn ir ffordd yr aethont hwyntau:*
*Rhaid i'n fynd i wneuthur cyfri,*
*A rhoi * rhwm i eraill godi.* *Lle.

*Nid oes lle in' aros ymma.*
*Ond dros ennyd i bafotta:*
*Gwedyn gorfydd ar bawb ſymmyd,*
*Fynd ir ffordd yr aeth yr holl-fyd.*

Y mae 'r angeu glâs â'i ſwa,
Yn ein herlid ym-mhob tyrſa:
Nid oes vn-dyn all ddihangyd,
Rhag ei follt âi ſaeth wenwynllyd.

Mae ê'n ddirgel yn marchogaeth,
Ar farch glâs ym-mhob cenhedlaeth;
Nid oes dŷn all ddiangc rhagddo,
Aed ir wlâd ar mann y mynno.

Er bôd *Hasael* gynt nâ'r ewig,
Er bôd *Sawl* fel eryr ffrolig,
Er bôd *Jehu*'n gynt nag ynte,
Ni ddihangodd vn rhag Ange.

Er gwroled gŵr oedd *Sampson*,
F'orfu, * ildo ir angeu digllon:
Felly gorfydd arnom ninnau,
Pyt sae ei grysder yn ein breichiau.

* Ymostwng.

*Alexander* y † gwngcwerodd,
Yr holl fŷd y ffordd y cerddodd;
Angeu gwedi 'r * concwest sceler,
Y gwngcwerodd *Alexander*.

† Orchfygodd.
* Oruchafiaeth.

Lladdodd angeu bôb cwngcwerwr,
Lladdodd *Galen* y physsygwr,
Lladdodd *Luc* y meddyg goreu;
Pwy all ddiangc mwy rhag angeu?

Fel y † damsing meirch Rhyfelwyr,
Dan eu traed bôb * sort o filwyr,
Felly damsing angeu diniaid,
Y Brenhinoedd fel begeriaid.

† Sathra.
* Math.

Lladdodd Angeu *Abel* wirion,
Lladdodd Angeu Sanctaidd *Aaron*;
Lladdodd *Cain* a *Cham* yscymmyn,
Nid ywr Angeu 'n arbed vn dyn.

*Pharo* 'r * Prins, ac *Eli* 'r ffeiriad,
*Esay* 'r Prophwyd, *Joel* yr † vnad,
*Noah* 'r ‖ Patriarc, ar hen Dadeu,
Y ddifethwyd gan yr Angeu.

* Tywysog.
† Barnwr.
‖ Ucheldad

Fel

Fel n'arbede *Herod* greulon,
Ladd y bychain mwy nâ'r mawrion;
Felly gwn nad arbed Ange,
Hên nac ifangc mwy nag ynte.

Pe rhoed iddo Aur yn bwnnau,
Mil o wledydd a'i Coronau,
Ni chaed gantho Arbed bywyd
Dŷn, dros Awr, Pe rhoed yr hollfyd.

Ni chaiff neb * ganlyniaeth gantho,
Er † ymhwedd ac er ceisio,
Mwy nac y Cae *Bilat* ddigllon,
O'i ganlyniaeth gan Iddewon.

* *Ei ddymuniad.*
† *Ymbil.*

Ni rŷ Angeu Pan y delo,
Awr o * resbyt i ni ymgweirio,
Nac vn rhybydd o'i ddyfodiad,
Mwy nâ'r Ci cyn lladd y ddafad.

* *amser.*

Ond fel llidir fe ddaw'r Angeu,
Yn ddisymmwth am ein penneu,
Tro ni 'n Cyscu yn ddioson,
Fel Philistiaid am ben *Sampson.*

Os bydd diffig dim ir shiwrne,
Oyl ir lamp, na gwisc ir Cefne;
Ni chaeff gan yr Angeu melyn,
Aros inni fynd i mofyn.

Ond fel Brenin Babel ddiras,
Yn Troi *Sidrac* * chwip ir ffwrnas,
Fe dry 'r Angeu bawb y granffo,
Ir ffwrn briddlyd fel ei caffo.

* *Yn ebrwydd.*

Fel y daw y lleidir † difiog,
Ganol nôs am ben goludog:
Felly daw yr Angeu in Cyrchu,
Yn ddiymgais tro ni 'n Cyscu.

† *Gwyllt, creulon.*

Fel y teru gŵr â thryser,
Bysc tro 'n gorphwys yn ddibryder;
Felly teru Angeu ddyrnod,
Ar blant dynion mor amharod.

Fel na wyr y glommen dyner,
*Adarwr. Na'r pryd, na'r mann y teru 'r * ffowler;
Felly 'n hollol ni wyr vn dyn,
Na'r pryd, na'r môdd y bydd ei derfyn.

Mewn vn ffordd yr ym yn dwad,
Ir byd hwn dan wylo 'n irad;
*Heb ddal sulw. A thrwy fil o ffyrdd heb * sarcco,
Rym yn mynd y maes o hano.

Nid oes vn mann yn ddibryder,
Na ddaw 'r Angeu glâs â'i dryser,
I roi inni ddirgel ddyrnod;
Ymmhob mann, *och*! *byddwn barod*.

Gen. 4. Wrth droi 'r desaid mewn lle dirgel,
Y daeth Angeu am draws *Abel*:
Gwachel dithe gael ei ddyrnod,
Wrth droi dautu dy nifeilod.

Gen. 35. Ar y genffordd wrth shiwrneia,
Y bu sarw *Rachel* swyna:
Wrth shiwrneia gwachel ditheu,
Rhag cyfarfod âr glâs Angeu.

Job 1. Pan oedd holl blant *Job* yn gwledda,
Y daeth Angeu ar eu gwartha:
*sicrwydd Nid oes * gwarant gennyd titheu,
Yn dy wledd rhag dyrnod Angeu.

*Holophernes* a fu sarw,
Yn ei gwsc pan oedd ef meddw;
Gwachel dithe yn dy feddwdod,
Rhag i Angeu roi 'ti ddyrnod.

Balthazar

*Balthazar* er maint oedd gantho, Dan. 5.
Y fu farw wrth * garowso : *Ymyfed.
Wrth garowso gwachel ditheu,
Od wyt gall rhag dyrnod Angeu.

Fe rows Angeu anfad ddyrnod, Acts 12.
Ar y faingc i frenin *Herod* :
Ar y faingc y dlye Farnwyr,
Gofio Angeu mawr ei hydyr.

Saethodd Angeu saeth wenwynllyd,
Trwy gorph *Achab* yn ei gerbyd : 1 Bren. 22
Yn dy * Goach ymgadw ditheu, *Cerbyd.
Rhag dy daro â bollt Angeu.

Fe ddaeth Angeu megis † mwrddrwr, †lleiddiad
Am draws *Eglon* yn ei barlwr : Barn. 3.
Gwachel dithau rhag ei biccell,
Trech yn gorphwys yn dy stafell.

Pan oedd *Difes* yn ei sidan, Luc. 16.
( A'i phâr soethus) oll yn hedfan,
Fe ddaeth Angeu ac a'i lladdodd ;
*Gwachel dithe balch ei wiscodd.*

Gwedi 'r Cerlyn adail llawer,
A chrynhoi dros hirfod amser ; Luc. 12. 20
Fe ddaeth Angeu ac ai lladdwys,
Cyn cael profi o'r pethau gasclwys.

Gwachel ditheu 'r * Cob a'r Cerlyn, *Gwr gwladaidd cyfoethog.
Sy'n Crynhoi dros lawer blwyddyn,
Rhag ir Angeu dy gyrhaeddyd,
Cyn cael profi dim o'th olud.

Fe ddaeth Angeu i drywanu,
Dau fab *Aron* wrth Aberthu : Lev. 10. 2.
Wrth yr Allor dlye 'r ffeiriad,
Ofni Angeu a'i ddyfodiad.

Pan oedd *Senachrib* y brenin,
Yn y demel ar ei ddaulyn,
Fe ddaeth Angeu ac a'i lladdwys ;
*Ofnwch Angeu yn yr Eglwys.*

Num. 25. 8 Fe rows Angeu frâth i *Zimri*,
Wrth gydorwedd gydâ *Chosbi* :
Gwachel dithe wrth butteinia,
Rhag ir Angeu glâs dy ddala.

Nynn dy Lamp, a gwisc dy drwssiad,
Cyn dêl Angeu 'n agos attad :
Gwna dy gownt a'th gyfri 'n barod,
Cyn dy alw o flaen y Drindod.

Bydd di barod heddyw, heno,
*Gyfan-gwbl. Ag Oel ith lamp, a'th wysc yn * gyfrdo,
Fynd o flaen dy farnwr prŷdd,
Y foru o bossib ydyw 'r dydd.

Ni wyr *Peder*, ni wyr *Pawl*,
Ni wyr Angel, ni wyr Diawl,
Ni wyr Planed, ni wyr dŷn,
Na neb o'n hawr, ond Duw ei hun.

Rhyd dydd, rhyd nôs, yn glaf, yn iach,
Ar fôr a thir, yn fawr yn fach,
*Mewn Tre a gwlad, bawb byddwch barod,*
*Ni wys pwy wlad y cawn ni'r dyrnod.*

*Gweithiwch bawb tro'r dydd yn para,*
*Cyn cotto'r haul crynhowch y Manna :*
*Derbyniwch râs, tro Duw 'n ei gynnig,*
*Partowch eich rhaid cyn delo'r diffig ;*

*Gam. *Cyn colli 'r * Gôl, cyn delo 'r nôs,*
*Cyn torri 'r pren, cyn cwympo ir ffôs,*
*Cyn cau y porth, cyn myned ir garn,*
*Cyn canu 'r Corn, cyn rhoddi 'r farn.*

Rhed

*Rhed am y chwyth, Gwna waith dy Dduw,*
*Dwg ffrwyth yn † rhîn o'r gorau ei ryw,*
*Dos * chwip ir wledd a'r farn yn gyfrdo,*
*Cais dy gyfraid cyn ymado.*

*† Rhinweddol.*
** Yn ebrwydd.*

## Cân ar y Flwyddyn 1629, pan yr oedd y Llafur neu'r yd yn afiachus trwy lawer o law.

Duw Frenin trugarog, Duw Dâd Holl-alluog,
Duw Porthwr newynog, na newyna ni,
Sy'n canlyn dy ffatar, â chalon edifar,
Yn ol dy hir watwar a'th Siommi.

Er mwyn dy drugaredd anfeidrol a'th fawredd,
Er mwyn dy wîr Tifedd, Dofa dy lîd:
Gwrando di 'n Gweddi, Madde 'n drwg nwydi,
A chymmorth ein Tlodi, a'n hadfyd.

Ni Bechsom yn d'erbyn, yn daran escymmyn,
Nes tynnu hir Newyn, a Niwed i'n plith,
Ac amryw ddiale sy'n gryddfu 'n calonne,
Heb allel hir odde dy felldith.

Ni dorsom dy gyfraith sydd gyfion a pherffaith,
Do lawer canwaith, Cyn cwnnu o'r mann,
Fel rhai a fae 'n tybiaid, na bae genyd lygaid,
I ganfod fileinaid mor aflan.

Dy enw Gablassom, dy air y gasausom,
Dy fengyl y droedsom, yn ddibrys dan draed;
Dy sabboth halogwyd, dy demel adaw-wyd,
Dy grefydd a lygrwyd yn irad.

Ni dorsom dy ddeddfau, fel pobol a dibiau,
Na ddawe dialau, am ddilyn ffordd ddrwg;
Neu rai a fae 'n credu, na bae gennyd allu,
I'n * plago am bechu yn cynddrwg.

** Cospo.*

Pan

†Ddangos. Pan helaist gennadon i † saneg ein beion,
Psal. 58.4. A'n troi ir ffordd union, yn dirion, yn daer:
Ni gausom ein clustie, rhag clywed eu geirie,
Fal neidir a fydde yn fyddar.

Pan gyrraist dy weision, in gwawdd ni rhai deillion,
†Trigo. Ich swpper yn dirion, i † dario 'n dy lŷs;
Ni ballsom o'r dwad, ni droesom ir sarchnad,
Luc. 14: A'n fferem, yn anllad anhappys.

Ni fynwn i o'r Manna, ni thrig e'n ein cylla,
Ni charwn ni or bara a beru byth,
*Llysiau gwyddelig Num. 11.5 6. Ond garlleg ac wyniwn, a *phannas a phompiwn,
Fel Twrchod a garwn ni 'n aryth.

Ni fynnwn ni o'r fengyl, sy'n cnoi ni mor rhygyl,
Ni drown ein gwegil at hon lawer gwaith;
Ni chaiff hi 'n ceryddu, na'n dangos, na'n dyscu,
Mae 'n draws yn gwrthnebu ein drwg-waith.

Ni adwn ni'r scrythur reoli 'n drwg nattur,
Na'th gyfraith gymhessur gymhwyso mo'r traws:
†Meddylfryd. Ond byw wrth ein †ffansi, a'n trachwant an gwegi,
Heb fynnu rheoli ein drwg-naws.

Gan hynny waith troedo dy gyfraith a'i gado,
Ni aethom ar ddidro yn ddidrangc, gwae ni,
Fal defaid y rede, or llafur ir ffalde,
ar ôl llanw eu bolie, i boeni.

Mae'n gloddest a'n traha, fel mawr ddrwg *Gomorra*,
Yn llefain am wascfa, i wascu ar ein cêst;
Ni thaw byth o'u penne, nes delo diale,
†Ympryd. I wascu ar ein crylie â † dirwest.

Mae pob grâdd o ddynion, yn fychain yn fawrion,
Yn pechu yn greulon yn erbyn dy *Grist*,
Fel pobol wrth raffe, a dynne ddiale,
O'r nef am ei penne, yn athrist.

Mae

*Mae 'r ffeiriaid yn gadu dy bobol i bechu,*
*Heb geiſio eu nadu i uffern ar naid :*
*A'r vn ac a geiſio a'r fengyl eu rhwyſtro,*
*Fe gaiff ei * anfriſo yn ddiriaid.* **amharchu*

*Mae 'n parchus Reolwyr, (och Dduw) yn rhy ſegur,*
*Yn godde troſeddwyr, driſt ſoddi 'r wlad,*
*Heb goſpi âr cledde, na'r bobol na'r beie,*
*Sy'n † dawnſing dy ddeddfe mor || irad.* † *Sathru.* || *Mor drist*

Mae'r bobol gyffredin, fel Iſrael heb frenin, (maeth
Na Ffeirad ei maethdrin, na phrophwyd i roi
Yn byw yn anhywaith, fel pobol heb gyfraith,
Heb grefydd, heb obaith, yſowaeth.

Mae'n rheipus ſwyddogion, yn ſpeilio rhai gwirion
Yn † ewnach nâ'r lladron (*llwyr edrych ar hyn*) †*mwy hyf.*
A'r carlaid yn bwytta y tlodion fel bara,
Neu 'r morfil a lyngca 'r * ſgadenyn. **Pennog.*

Mae 'r gweiſion cyfloge, a'r hirwyr yn chware,
Mae 'r gweithwyr yn eiſte, heb oſtwng eu pen,
Yn † tordain, yn blino, heb fynnu mor gweithio, †*yn myned yn ſtowt.*
Nes delech eu * pricco ag angen. **pigo.*

Mae 'r * tanner a'r † twccwr, a'r || baccer a'r *bwt- **Barcer.*
Gwaydd, gôf, a thaylwr, a thiler a chrŷdd, (ſiwr † *Pannwr.*
A'r hwſmyn, a'r creſtwyr, a'r diffrwyth uchelwyr, || *Pobydd.* * *cigydd.*
Yn mynd yn dafarnwyr digrefydd.

Mae 'r gwragedd yn gado eu nyddiad a'u cribo,
Eu gwayad, a'i gwnio, i dwymo Dwr,
Gwerthaſſant ei † rhode, a'i cyffion a'i cribe, †*Troelle.*
I brynu coſtrele tafarnwyr.

Mae'r Mwrddrwr a'r gwibiad, ar bawdy cnâf an-
Ar lleidr, a'r † gwilliad, a'r ffeiriad ffôl, (llad †*crwydrad*
A *Shini* a *Shangco*, a * liſens i wttro, **cennad i werthu.*
Bûr, Cwrw, tobacco, heb reol.

Pe

*Pe ceisie na'r Cythrel, na'i fam godi capel,*
*Wrth ochor dy demel, er dimme yn y dydd,*
*I gadw tafarndy cyhoeddus yng Hymru,*
*Fe gae ei gennadu yn ufydd.*

*Tyred. Duw * dere o'th arfer, â chyngor ar fyrder,
Torr lawer o'r nifer, sy 'n nafu'r byd,
Cyn bwyttont ei gilydd, cyn nafont y gwledydd,
Cyn llygront dy lân-grefydd hyfyd.

*Foethus. Mae'r gweifion mor*ddainti, na fynnant hwy gorphi
† Cadw ftwr. Ond gwyn fara eu meiftri, neu † fuftro a wnant,
A'r merched ar gyflog, ond odid yn feichiog,
Am fod yn rhy wreflog meddant.

*Mae pob rhyw o alwad, yn ddibris am danad,*
*Yn ceisio ei codiad, ai cadw ei hun;*
*Heb geisio d' ogoniant ti Arglwydd ein llwyddiant,*
*Na'th fawrglod, na'th foliant na'i 'mofyn.*

O achos gan hynny, fod pawb yn trofeddu,
A phob rhai yn pechu â'i buchedd ar draws,
Di geifiaift trwy fwyndra, ac ennyd o wafcfa,
I'n cyffro i wella ein drwg-naws.

Yn fwyn ac yn ferchog, fel Arglwydd trugarog,
A fae yn dra chwannog, in hennill trwy dêg,
Di geifiaift yn dirion, trwy amryw fendithion,
In tynnu ir ffordd union, yn loywdeg.

Pan ffaelodd dy fwynder wella'n drwg arfer,
Bygwthaift â chryfder, a llwmder in lladd;
Hogaift dy gledde, golymaift dy faethe,
Paratoaift dy arfe i ymladd.

Ond gwedi ti ymgweirio, rhoeft rybydd cyn clwy-
Bygwthaift cyn taro, a'n torri i lawr: [fo,
*Cynnygaift. * Offrymaift in ffafar, o byddem ni difar,
A ninne 'n dy watwar yn ddirfawr.

Pan

Pan gwelaist Dduw cyfion, na thycie fygwthion,
Di yrraist yn llymmion dy saethau i'n lladd,
A'n curo a'n corddi, â llawer o 'fydi,
Na allem na'i dofi, na'i gwrthladd.

Gelwaist dy weision, † mwstraist d'Angelion, † *Rhifaist.*
A'th dri march Mawrion, Côch, glâs, a dû ;
A gyrraist hwy'n ddiriaid, ar holl greaduriaid,
In plago fileiniaid a'n gryddfu.

Rhoist ddu-rew digaffog, hâf poethlyd* anffodiog, **afrwyddi-annus.*
Gwynt stormys scethrog, yn scathru'r ŷd,
Llifeiriaint i'n soddi, a'r moroedd i'n boddi,
A chan rhyw ofydi i'n herlyd.

Twymynne Cyndeiriog, drudaniaeth digaffog,
Marwolaeth llym * oriog mewn llawer mann, **anwadal.*
A helaist in cyffro, i bryssur repento,
A'n † cathrain i'th geisio yn gyfan. † *deisyf.*

Pan gwelaist na alle hyn oll o ddiale,
Ein dattroi o'n beie, i wella ein byd,
Di helaist drachefen hir newyn a chwarren,
A rhyfel aflawen i'n herlyd.

Y chwarren y laddodd ddiarhebrwydd o filodd,
Mewn amryw o leodd, â gormodd lid ;
Nes llanw'r monwentydd, â thlodi'r holl drefydd,
Lle gyrraist dy gerydd eu hymlid.

A'r rhyfel anffodiog y ddaeth yn ddigaffog
A'r cledde yn llidiog, i'n tlodi a'n lladd ;
Nes difa'n rhyfelwyr, a'n tryffor, a'n llafyr,
A'n hela 'n ddi-gyssur i ymladd.

Soddaist ein llonge, diddymaist ein * plotte, **Bwriadau*
Troist Fin ein cledde, taflaist ni ir clawdd:
Dallaist ein doethion, dychrynaist ein dewrion,
Gwerthaist ni ir Cassion a'n ceisiawdd.

Y chwarren

Ychwarren a'r cleddu y wnaeth i ni grynu,
A dechre difaru, dau fore neu dri,
A chanlyn a chrio, am dynnu'r plag heibio,
Nes itti lwyr wrando ein gweddi.

Pan tynaist ti 'r chwarren a'r rhyfel aflawen,
Ni droesom drachefen, dri chyfydd i'n hol.
Fel cwn at ei chwdfa, ith ddigio a'th hela,
In dofi a'n difa 'n anffafrol.

Gan hynny di helest y stormau a thempest,
Yng hanol ein gloddest, in cospi â glaw,
Nes nafu 'n cynhaya, a desnydd ein bara,
A chospi'n hir draha â chyr law.

Tywalltaist dy felldith, mor drwm ac mordryfrith
*Haidd.* Ar * farlish a gwenith, a phob ymborth gŵr,
Fel y gwrthneba nifeiliaid i fwytta,
Ni phraw 'r cwn o fara 'r llafurwr.

Mae'r march yn ffieiddio, a'r mochyn yn gado,
Y llafur sy'n llwydo, a'r egin yn llawn,
* *Blas.* † *Sîlyd.* Gan gynddrwg yw * rhelish y † pilcorn a'r barlish,
Y gâd o'r anilish fisgawn.

O Arglwydd ni haeddson dy felldith yn gyfion,
Ar lafur o'r fisgon, a'r fasced a stôr,
A newyn a nychdod, am hir anufydd-dod,
O ddiffig it ragod ein goror.

† *Balchder distyrwch.* Ein dirmyg a'n † traha ar ddiod a bara,
A bair i ni fwytta, oni attal Duw,
* *Tlodion.* Y ffacbys ar callod, ac ymborth nifeilod,
Ar crwst ym ni 'n wrthod heddyw.

Ni fuom yn poeri y blawd oedd a rhydi,
A'r bara â'r pinni ni bwrem on' pen:
A'n begers mor foethus yn teri ar farlish,
† *Yn agos.* Ni phrofent ond canish † haychen.

Ni

Ni fuom yn bwytta Gormoddion o fara ;
  Fel pobol *Gomorra* 'n camarfer eu byd,
Heb ddiolch am dano, na swpper na chinno,
  Nes inni dy ddigio yn danllyd.

Ni fuom yn yfed, nes mynd yn cyn dynned,
  Na allem ni gerdded, na myned o'r mann,
Nes arllwys ein ceudod, lle hyfsom ni'r ddiod,
  Yn waeth nâ'r nifeilod aflan.

*Bu deie'n tafarne, yn llawnach ddydd sulie,*
  *O addolwyr bolie, yn addoli Baal,*
*Nag oedd ein heglwysydd, o ddynion o grefydd ;*
  *Ith 'ddoli di'n ufydd, Duw nefawl.*

Tair gwaith o leia, y llanwn ni 'r bola,
  Bob dydd pan bo byrra, gan bori ein bwyd :
Pring mewn chwe die, y cofiwn ni dithe,
  Am lanw ein crelie â brâs-fwyd.

Ni flinwn yn ebrwydd, yn d'eglwys o Arglwydd,
  Er maint yw ein haflwydd, an hoflyd* 'tra : *Balchder

*Ni flinwn ni'n aros, mewn tafarn dros wythnos,*
  *Er oered o'r hirnos aia.*

Fe ŷf un cyn cinnio, o * sûr a thybacco, * Cwrw
  Faint y ddigono ddeugeinyn ar bryd :
Fei chwda drachefen, gan dynned oi botten,
  Heb feddwl am angen a gofyd.

Mae 'n meddwdod yn crio, am newyn in' pigo,
  Mae 'n gloddest yn ceisio dwyn prinder i'n cell :
Mae'n hafrad ysowaeth, yn gofyn drudaniaeth,
  A hirbryd trwy hiraeth i'n cawell.

Yn gyfiawn gan hynny, O Arglwydd y gallu,
  A newyn ein gryddfu am wrthod grâs ;
A thorri a difa cynhalieth ein bara,
  A pheri ni fwytta ein * carcas. Ein cnawd

Ond Arglwydd trugarog, er mwyn dy eneiniog,
Na ddanfon yn llidiog hir newyn i'n lladd;
Na nychdod i'n gryddfu, na phlâg i'n difethu,
Na rhyfel, na chleddu i'n † gwrthladd.

† Gwrthwynebu.

Ond Madde yn rassol ein trawsedd * anguriol,
Na wna ni yn Siompol, i bobol y byd:
Ond arbed ni'n dirion, a gwella 'n harferion,
A newid ein ffinion fywyd.

*Rhyfeddol

Nac edrych Dâd cyfion, ar drossedd dy weision,
Na 'n beie mawrion, i'n lladd gan ei main:
Ond edrych yn hyfryd, ar ange d'anwylyd,
I ddofi dy danllyd ddigofaint.

Er mwyn ei rinweddau a'i fywyd a'i angeu,
Ai 'fydd-dod ai wrthiau, ai werthfawr waed,
Madde inni * basswys, tro ni ir ffordd gymmwys,
A chadw ni yn d'eglwys yn wastad.

* Aeth beibio.

Golch ein pechode, yng-waed ei welie,
Croes-hoelia ein beie yn grygie ar ei groes:
Rhwyga 'n *bligassiwn, a doro i ni bardwn,
Er mwyn ei ddryd † bassiwn a'i hir loes.

* Rhwym.
† Ddiodde-faint.

Na alw ni i gyfri, am dan ein drygioni,
Na ddere in cospi, am ein gwegi a'n gwaith:
Ond arbed dy weision, er mwyn dy fab gwirion,
A'th wnaeth yn dra boddlon unwaith.

A danfon dy yspryd, i wella'n drwg fywyd,
A'n helpu ddychwelyd, â chalon iach;
Ith gywir wasnaethu, a'th ofni a'th garu,
A'n * deor i bechu dim mwyach.

* Rhwy-stro.

Duw attal dy wialen, dad-ddigia drachefen,
Tro d'wyneb yn llawen, nâd newyn i'n lladd:
Madde 'n trossedde gwir wella'n drwg nwyde,
Sanctciddia 'r calonne fy 'n d'wrthladd.

Duw

Duw gwella di'r tywydd, bendithia di'r maesydd, † Lawenydd.
Tro'n tristwch yn † wenydd, na newyna ni:
Rho râd ar y fisgawn, gwna'r farchnad yn gyflawn
Diwalla ni â'th radlawn ddaioni.

Rho ymborth ir Christion, rho ogor ir eidion,
*Rho 'r fengyl ir gwirion y garo 'r gair:*
Rho heddwch ir deyrnas, ac iechyd ac urddas
In pen † Llywyd *Charlas* ddiwair. †Rheolwr.

Mil chwechant ac ugain, a naw mlynedd cywrain,
Medd holl ddoethion Brydain oedd oedran ein brawd,
A'n Prynwr, a'n ceidwad, pan gwympodd y gawad,
Y Lanwodd y farchnad â chwd-flawd.

---

## *Cân arall ynghylch y cynhaiaf gwlyb.*

Rheolwr y Nefoedd, a'r Ddaiar a'r Moroedd,
Ar tywydd, a'r gwyntoedd o'r glynnodd, a'r glaw;
Clyw gwynfan tosturiol, ac achwyn dy Bobol,
Gan dywydd dryg-hinol a hir-law.

Y mae'r Gwynt, y mae'r Tonne, mae'r Glaw a'r diale,
A'r Sêr yn eu gradde, a'r nefoedd yn grych, Barn. 5. 20
Yn ymladd i'n herbyn drosseddwyr esc ymmyn,
I'n * plago â Newyn yn fynych. * Cospi.

Mae'r Haul oedd i'n porthi, â gwres a goleuni,
Yn awr gwedi sorri, yn edrych yn sûr,
Gan ballu rhoi thwymder, a'i gwres wrth ei harfer,
Nes pydru 'r naill hanner o'n llafyr.

Mae'r Lleuad yn wylo fel Gwraig y sae 'n † mwrno, †Galaru.
Bob nôs mae'n ymguddio mewn cwmwl o'n gwydd,
I ollwng ei deigre, gan amled o'n beie,
Nes soddi 'r Llafyric ag * aflwydd. * Aflwyddiant.

Mae 'r tonneu cynddeiriog, a'r wybren gawadog,
  A'r cymle glyborog yn glawio bob awr,
Afonydd o ddrwg fyd, gan gynddrwg o'n bywyd,
  I'n plago ag adfyd yn ddirfawr.

*Gorthrymiad.
Mae 'r * ormes yn ſathru y llafyr ſy'n tyfu,
  Mae 'r gwynt yn cawdelu y dalo o frig,
Nes iddo ddihidlo, mallu, egino,
  Gan law yn ei guro yn ffyrnig.

Mae 'r llafyr ſ'eb ſedi, yn barod i golli,
  Heb dywydd i dorri, na'i daro ynghyd,
Mewn cyflwr anhygar: Duw moes i'n dy ffafar,
  I gwnnu o'r ddaiar ſopaſtyd.

Mae'r maint ſy'n ei helem, fel gwellt yn y dommen,
  Yn ddigon anghymmen, yng chwman y dâs,
Yn twymo, yn mygu, yn llwydo, yn mallu,
  A chwedi llwyr bydru o gwmpas.

Mae 'r maint ſy'n y ſgubor, gogyfer a gogor,
  Yn twymo heb gyngor, yn mygu heb gêl,
Yn barod i nynnu: mâb Duw dere i'n helpu,
  A nâd ti lwyr ſethu ein trafel.

A'r maint ſydd ar feder ein cinnio a'n ſwpper,
  Sydd gynddrwg ei biner, a'i dymmer mor doſt:
Ac oni thawn gennyd, Duw graſſol gyfrwyddyd,
†Coſpir.
  Fe 'n † plagir ni ag adfyd hîr doſt.

Agor dy lygad, O Arglwydd ein Ceidwad,
  A chenfydd mor irad, id weled mor * hyll
*Ofnadwy.
Holl ymborth Chriſtnogion, yn pydru mor ffinion,
  O eiſie cael hinon i gynnyll.

Duw graſſol toſturia, diſwynodd ein bara;
  (Hir nychdod y ſaga dan ſogel dy blant;)
O ddiffig it ei rwyſtro, a'i ddyfal fendithio,
  A rhoddi rhâd arno a llwyddiant.

Duw

Duw beth y feddyliwn, am had-ŷd y gwanwyn,
O † bwy le ei ceisiwn, o cawn i fyw yn cyd : †Ba.
Mae pawb yn achwyngar, ddifwyno ei holl heiniar,
Duw dangos dy ffasar am had-ŷd.

Duw grassol tosturia, wrth ddefaid dy borfa,
Na thorr ffon ein bara, i beri i ni boen ; Esa. 3. 1.
Madde 'n trosedde, gwella 'n drwg nwyde,
Cyssura 'n calonnau † dihoen. †Di-lawenydd.

Gorchymyn i'r haul-wen, ymddangos drachefen,
Gwna 'r lleuad a'r Seren yn siriol i'th Saint ;
Rho hinon a chyssur, i'r poenfawr lafyrwyr,
A dofa dy bryssyr ddigofaint.

* Rhwylla 'r wybrenne, a gwascar y cwmle, *Agor.
Cerydda 'r cawade ; † cu ydwyd a rhwydd : †Cariadus
Gostega 'r dôst ormes, Rho degwch a chrattes,
I'r llafyr anghynnes, Arglwydd.

Ond ymma *Duw* 'r gallu, 'rwi 'n brudd yn cyffesu,
Mae'n pechod sy'n tynnu'r fâth ddial ar ein traws,
A'th *Stormydd* anrassol, a'r tywydd dryghinol,
I'n cospi dy bobol rhy-draws.

Di lenwaist ein bolie, mor gyflawn â'th ddonie,
Na chodem o'n heiste i ostwng ein glîn,
I roddi it foliant, na chlöd am ein porthiant,
Nes tynnu aflwyddiant i'n dilyn.

*Yr eidon ar assen 'a edwyn ei perchen,*
*A'r ci fydd llawen, wrth ei portho â llaeth :* Esa 1. 3.
*Ond Pobol ddiwybod ni fynant gydnabod,*
*Nac adde mae 'r Drindod oi Tadmaeth.*

Tair gwaith o leia, gwasnaethwn ni 'r bola,
Bôb dydd pan bo byrra, dan bori ein bwyd :
*Ond pring mewn saith die, y cofiwn ni dithe,*
*Sy'n llanw ein bolie â brasfwyd.*

Yr wyt yn ein porthi ag amryw ddaioni,
 Fel vn a fae'n pesci pascwch yn rhin:
*Ni chodwn ein penne i weld mwy nag ynte,*
 *O ble mae 'r fâth ddonie yn disgyn.*

Gan hynny di yrrest y storom a thempest,
 I gospi ein † gloddest â dryg-hin a glaw;
I beri inni nabod a gweled mae 'r Drindod
 Sy'n porthi ni yn wastod â'i ddwylaw.

† *Diotta. gormodedd*

Er maint o'r diale y roeist am ein penne,
 I gospi ein beie, gan gynddrwg ym yn byw;
Ni buom er y * conquest, yn byw mor anonest,
 A chymaint ein gloddest ac heddyw.

* *Er yr amser y congcwerwyd Lloeger gan William Gongcwerwr, neu orchfygwr.*

*A'r storom yn chwythu, a'r glaw yn ein gryddfu,*
 *A'r llafyr yn pydru, heb adrodd ond gwir,*
*Yn* Heie *'r Tafarne, yn chwdu ddydd Sylie,*
 *A'th gablu rym ninne rhai anwir.*

*Pan dlyem weddio, a phryssur repento,*
 *Mewn llwch ac ymgrino am bardwn a gras,*
*A'th gywir wasnaethu, 'roem ninne 'n dy gablu,*
 *A'th rwygo â'th regu yn ddiras.*

Pa fwyna y ceisiyd yn troi a'n dymchwelyd,
 I wella ein bywyd, a 'madel a'n bai:
Waeth waeth y pechem, fwy fwy i'th ddigiem,
 *Saith bellach y giliem ninnai.*

*Pa fwya ddiale y royd am ein penne,*
 *Bid newyn, bid cledde, bid clefyd, bid glaw;*
*Fwy fwy fel* Pharo *yr ym yn dy gyffro,*
 *I'n poeni a'n plago a hir-law.*

Nid rhyfedd gan hynny, dy fôd yn ein maeddu,
 Gan † ddwblu a threblu ein maethgen â thrwst:
*Ond mwy o ryfeddod, na roit ti' ni ddyrnod,*
 *A'n taflu i'r pwll issod yn ddidrwst.*

† *Ail roddi a thrydydd roddi maethgen.*

Dun

Duw madde 'n ffyfnigrwydd, Duw dofa'th lidawgrwydd
Tynn ymaith ein gwradwydd, a'n haſlwydd hir:
Rho ras i ni fedru fel *Ninif* ddifaru,
A'th ddyfal waſnaethu yn gywir.

*Duw* gwella di'r Tywydd, bendithia di'r *maeſydd*,
Tro 'n triſtwch yn * wenydd, na newyna ni: *Llawenydd.
Rho râd ar y ffigawn: gwna'r farchnad yn gyflawn
Diwalla ni â'th radlawn ddaioni.

Duw attal dy wialen, dad-ddigia drachefen,
Tro d'wyneb yn llawen, nâd newyn i'n lladd:
Madde 'n troſedde, gwir wella 'n drwg nwyde,
Sancteiddia 'r calonnau ſy'n † d'wrth-ladd. †Wrthwynebu.

---

## *Byrr yw oes Dŷn.*

FEl Gwenol *Job* mae 'n hoes yn llithro, Job 7.6.
Fel Rhoſſyn *Dafydd* mae hi 'n gwywo, 1 Cor. 9. 24.
Fel gyrfa *Paul* y mae'n diweddu,
Fel Bwmbwl *Jaco* mae'n diffoddi. Jac. 4. 14.

Fel canwyll gwyr mae'n hoes yn treulio,
Fel llong dan hwyl mae'n myned heibio,
Fel pôſt dan ſawd mae 'n pedwar carnu,
Fel cyſcod cwmwl mae'n diflannu.

Gwann yw'n tai, a chryf yw'n Gelyn, Job 4. 19.
Byrr yw 'n † Terem, ſuwr yw'n terfyn, † Amſer.
Ancertennol yw ddyſodiad,
Byddwn barod yn ei wiliad

---

*Rhybydd i Gymru i edifarhau ynghylch yr amser yr oedd y *chwarren fawr yn Llundain.*

* Nodau cornwyd

CYmru, Cymru, † mwrna, mwrna,
Gad dy bechod, gwella, gwella,
Rhag ith bechod dynnu dial,
A digofaint Duw ith Ardal.

† Galara.

Mae dy bechod gwedi dringad,
Cuwch a'r nêf yn crio 'n * irad,
Am ddialau ar dy goppa,
Megis *Sodom a Gomorra.*

* Cwynfannus.

Mae e'n gweiddi nôs a borau,
Fel gwaed *Abel* am ddialau:
Nid oes dim y † stoppa ei safan,
Ond plag Duw, neu wella 'n fuan.

† Gau.

Mae e gwedi nyrddo 'r ddaiar,
Fel pechodau 'r cewri cynnar:
Ac yn gofyn dy ddysgybo,
Oddi arni neu † Repento.

† edifarhau

Nid oes cornel mwy nâ *Ninyf*,
Na bo 'n llawn o feie anneiryf;
Na chrâch bentre, na bo pechod,
Yn swrddanu clustiau 'r Drindod.

Nid oes un rhyw râdd na galwad,
Na bo gwedi ymlygru 'n † irad;
Ac yn tynnu fel wrth reffyn,
Blag a dial ar dy * gobyn.

† yn dôst.
* Goppa.

☞ *Mae 'r Pennaethiaid bob yr un,*
*Yn ceisio'i mawl a'i lles eu hun;*
*Ac heb ymgais am wîr grefydd,*
*Moliant Duw, na lles y gwledydd.*

*Mae dy ffeiriaid hwyntau 'n Cysgu,*
*Ac yn gado 'r bobol bechu;*
*Ac i fyw y môdd y mynnon,*
*Heb na cherydd na chynghorion.*

*Mae dy Farnwyr, a'th wŷr mawrion,*
*Yn Cyd-ddwyn a Mwrddwyr, meddwon;*
*Ac yn godde treiswyr diriaid,*
*Speilio 'r gweddwon a'r ymddifaid.*

*Mae 'r Swyddogion hwyntau 'n godde*
*Cablu Duw, a meddwi 'r Sulie,*
*Troedo 'r fengyl, casau 'r cymmyn,*
*Heb na chosb na cherydd arnyn.*

*Mae 'r Shirifaid, a'u debidion,*
*Yn anrheithio 'r bobol wirion:*
*Ac wrth rym ei braint a'i swydde,*
*Yn eu speilio lyw dydd gole.*

Mae 'r Cyfoethog hwyntau 'n llyngcu
Faint sy'n helw 'r tlawd *ynGhymru,*
Ac wrth renti'n dost, ac occra,
Yn eu gyrru hwy gardotta.

*Mae 'r Cyffredin o bôb rhyw,*
*Yn *delo 'n ffalst, yn digio Duw,*
*Yn ddall, yn ddwl, heb fynnu eu dysgu,*
*Yn mynd ir pwll, heb odde eu nadu.*

* *Gwneuthur.*

Mae pôb grâdd yn pechu'n rhigyl,
Ac heb wneuthur pris o'r fengyl,
Nac o gyfraith Dduw gorucha,
Yn addoli 'r bŷd â'r bola.

Mae pob grâdd â rhaffau pechod,
Yn dirdynnu dial hynod,
Am eu pennau heb dosturi,
Oni thront oddiwrth eu brynti.

Maer

*Mae'r fâth feddwdod, Mae'r fâth dyngu,*
*Mae'r fâth gamwedd ynnot Cymru,*
*Ar fâth wangred a gau dduwiaeth,*
†O'i fath. *Na bu 'ngrhed oi † fut yſywaeth.*

Mae Duw cyſion yntau 'n canfod
Heb.10.30 Drwg ymddygiad pawb a'i pechod ;
Ac yn rhwym wrth ſwydd a nattur.
Ddial ar y fath droſſeddwyr.

Er ys dyddie mae 'n ymmhwedd,
A'th holl blant am wella eu buchedd :
Eiſie gwella mae 'n bwriadu
Weithian ddial camwedd Cymru.

Duw a'th ddododd yn y taflau,
Duw a'th gaſodd lai nâ phwyſau :
*D*uw a ſyn rhoi maethgen itti,
Oni throi oddiwrth dy frynti.

Eſiau *Cymru* gymryd rhybydd,
Oddiwrth *Loeger* a'i holl gyſtydd,
Mae gwialen gwedi glychu,
Yn y Sîcc ar feder *Cymru*.

Y mae plâg yn ôl dy bechod,
Gwedi lunio gan y Drindod :
Ac yn barod ddwad attad,
O waith Cynddrwg o'th ymddygiad.

Y mae 'n crogi uwch dy gobyn,
Ddydd a nôs fel wrth edefyn,
Ac yn barod iawn i ſyrthio,
Oni throi di a repento.

Yr wyt tithe yn pentyrru
Plâg ar blâg, heb ediſaru ;
Ac yn cam arferu 'n rhyfedd
Ffafar Duw a'i hîr amynedd.

Rwyt

Rwyt ti beunydd yn mynd waeth waeth,
Ac yn pechu fwy fwy 'fywaeth ;
Rwyt ti'n tybied fôd Duw 'n cyfgu,
Tra 'n dy † gathrain i ddifaru. †Deifyf arnat.

Rwyt ti'n hwrnu yn dy bechod,
Heb yftyried na chydnabod :
Fôd Duw 'n hogi 'n llym ei gledde,
Trech ti'n hepian ar dy feie.

*Hîr y herys Duw heb daro,*
*Llwyr y dial pan y delo :*
*Am yr echwyn a'r hir fcori,*
*Och! fe dâl ar unwaith itti.*

*Lle bo Duw yn hîr yn oedi,*
*Heb roi dial am ddrygioni ;*
*Trwmmaf i gyd y fydd ei ddyrnod,*
*Pan y dêl i ddial pechod.*

Gwachel dithe ddial Duw,
Fe ddaw ar frys er llaefed yw,
A'i draed o wlân, a'i ddwrn o blwm,
Ith daro 'n † ymwngc ac yn drwm. †Ddifymmwtn.

Gad dy bechod, dal dy law,
Dial Duw fel bollt y ddaw :
Rhoi it rybydd prûdd fydd raid :
Oni chymru rybydd paid.

Edifara 'n brudd gan hynny,
Cyn del plâg ith ardal *Cymru*,
Cyn y tynno Duw ei gledde,
Cais ei ffafar ar dy liniau.

Os digofaint Duw a nynna,
Pwy o'r holl fyd a'i diffodda ?
Os y chwarren wyllt y ddenfyn,
Pwy a'i tynn y maes o'th derfyn ?

Os

Os yr Arglwydd dig a ddechre,
Ladd dy blant â'i follt a'i gledde;
Pwy all gadw rhag ei ddyrnod
Un o'ch blant ? heb law y Drindod.

Gwêl bwy laddfa wnaeth e'n *Llundain*,
Er maint oedd eu cri a'u llefain:
Eisieu gwneuthur hyn mewn amser,
Fe ddisethodd fwy nâ'i hanner.

Cwyn gan hynny, gwachel oedi;
Llwyr ymwrthod â'th holl frynti:
Llef am râs-cyn del dy faethgen,
Foru ys-sgatfydd y daw 'r chwarren.

Mae dy blâg mewn cwdau lliain,
*Marsiandwyr.* Etto 'n shoppeu † Marchants Llundain:
Fe ddaw 'r plâg oddi-yno i Gymru,
Os ar fyrder ni ddisaru.

Os i *Gymru* y daw 'r cornwyd,
Och! mor am-mharodol ydwyd,
'fynd ir bar i wneuthur cyfri,
Heb na gwisc na dim goleuni.

Os i *Gymru* y daw'r clefyd,
Ofer ceisio un gyfrwyddyd:
Nid yw'r bŷd yn abal * stoppi
Haint, pan helo Duw i'n cospi.

Ofer ceisio † sâds a Ryw,
I wrthnebu cleddau Duw:
Oni throi oddiwrth dy bechod,
Ni thal * metswn un o'r chwilod.

Ofer cadw pyrth dy drefydd,
Fe ddaw 'r plag dros ben y gwelydd:
Ni all peics, na * dwbwl canon
Attal plâg, os Duw a'i danson.

* *Marsiandwyr.*
* *Rhwystro*
† *Llyssiau.*
* *Meddiginiaeth.*
* *Gwn neu ddryll mawr.*

*Ofer rhedeg hwnt ac ymma,*
*Geisio cilio heb dy ddifa:*
*Dôs lle mynnech fe fynn dyrnod*
*Duw, a'i farn orddiwes pechod.*

Amos. 9 a. 2, 3.

Goreu cyngor rhag y plâg,
I ddyn gadw ei hun yn wâg,
Nid rhag bwyd, a nid rhag diod,
Ond rhag pob rhyw fâth o bechod.

Os daw plâg i gospi *Cymru*,
Fe ddaw newyn ith gastellu,
Tristwch, cerydd, * câs, ac ofan,
Ni ddaeth plag erioed ei hunan.

*Casineb.

Fe fydd drygfyd yn dy drefydd,
Fe fydd ochain rhwng dy welydd:
Fe fydd cwynfan ym-mhob heol,
Fe fydd braw ar bawb o'th bobol.

Cariad brawdol a ddiffodda,
Pôb credigrwydd a ddiflanna:
A natturiaeth a charennydd,
A lwyr gollant ei cydnebydd.

Ni ddaw 'r fam i drîn y ferch,
Na'r wraig ei gwr, er maint oi serch,
Na'r chwaer ei brawd, na'r tâd ei blentyn;
Câs, a thrist, a thrwm yw 'r † cowyn.

†Cornwyd Nodau.

Y mâb y ladd ei dâd â'i anal,
A'r fam ei phlant, er maint oi gofal;
A'r wraig ei gwr, wrth roi uchenaid,
A'r brawd ei chwaer a'i holl gyfnessiaid.

Y marw ladd y byw a'i claddo,
A'r gwann y gwŷch y ddel iw drinio;
A'r claf y iach a fo'n ei faethu,
Mor gas, mo'r flin yw 'r plag wrth hynny.

Dŷn â'r plag ſy 'n lladd â'i ddillad;
*Nâth o Sarph. Fel * y *Baſiliſc* â'i lygad:
Ac â'i anal ſy'n gwenwyno,
‖ Yr un ar Baſiliſc meddyliai. Fel y ‖ *Coccatrus* y granffo.

Y plag y bair i bôb cymmydog,
Gaſau 'r llall fel ci cynddeiriog;
A chyfathrach, Ffryns a chenel,
Gaſau câr fel blaidd neu gythrel.

Hyn y bair garcharu'r cleifion,
† Bradwyr. Yn y tai fel † Traitwyrs ffeilſtion,
Ai dehoryd i fynd allan,
I gael bwyd dros aur nac arian.

Yr aur y ladd y rhai derbynnant,
† Dodrefn. * Cyffwrdd Y † ſtwff y ddifa 'r maint ai * medlant;
Pan del plag er maint or diffig,
Ni thâl arian ſwy nâ cherrig.

Hyn y bair ith bobol *Cymru*,
Pan ddel chwarren hîr newynu;
Pan na chaffer bwyd dros arian,
† Geiſio. Na dim cymmorth er ei * ſegian.

† Agos a diſymmwth. Dy blag y ddaw yn † ymwngc hefyd,
Fel y diluw ar y cynfyd;
Neu 'r tân gwyllt y ddaeth ar Sodom,
* Dymmeſtl Yn ddi-rybydd fel y * ſtorom.

Pan bech bryſſur yn ymdwymo,
† Yfed. Neu 'n y tafarn yn † carowſo,
Neu 'n cynnhennu yn y farchnad,
Y daw 'r plâg yn ymwngc arnad.

* Ty Puttain. Os mewn tafarn, os mewn * ſtew-dy,
Os mewn marchnad neu ddadleudy,
Os mewn maes ith deri 'r cowyn,
Dyna 'r mann lle bydd dy derſyn.

Yno cei di megis nifel,
Farw 'n ymwngc trwy fawr drafel ;
Heb vn dyn i * weinif itti
Na'th † areilio, na'th gomfforddi.

*Wasanaethu.
†.Nac i ofalu am danat.

Ni ddaw meddyg, ni ddaw ffeiriad,
Ni ddaw ffryns yn agos attad ;
Nac vn carwr o'th holl genel,
Mwy nag at rhyw anfad * rebel.

*Gwrthryfelwr.

Ni chei nêb a ddêl ith drinio,
Nac i'th ystyn, na'th amwisco ;
Nac i'th arwyl, nac ith gladdu,
Ond â chladdiad buwch o'r beudy.

O! * pwy angeu, O! pwy benyd?
O! pwy blâg a diwedd aethlyd?
O! pwy felldith a throm fforten,
Ydyw marw 'n llyn o'r chwarren ?

*Pa.

Hyn i gyd a welas *Lloegr*,
Yn rhe *Lundain* yn hwyr amser :
Hyn a weli dithe *Cymru*,
Os a'th pechod ni 'madawu.

Oh ! gan hynny *Cymru* ystyr,
Mor anhygar, mor ddigyffyr,
Mor ddigariad, mor aflawen,
Ydyw marw'n llyn o'r chwarren.

Dyma 'r Angeu wyt ti 'n haeddu,
Am dy bechod *Cymru Cymru* :
Dyma 'r angeu s'ar dy feder,
Oni throi at Dduw ar fyrder.

Mae Duw 'n disgwil er ys dyddie,
Am it droi a gado'th feie :
Eisie troi mae Duw yn barod,
A Phlâg ddial dy holl bechod.

O gan hynny *Cymru* mwrna,
Gâd dy bechod, edifara:
Dysc gan *Ninif* geisio heddwch,
Cyn del dial a diffaethwch.

Cyn y tynno Duw ei gleddau,
Cais ei heddwch ar dy liniau;
Rhy-ddiweddar itt' ymbilian,
Gwedi tynno ei gleddau allan.

Cwymp i lawr wrth draed dy Brynwr,
Megis *Magdlen* wyla 'r hallt-ddwr;
Sŷch â'th wallt ei ddwy troed rassol,
*Fe ddiddana 'r edifeiriol.*

1Chro. 21. Cyfod allor megis *Dafydd*,
Psal. 51. 17 Offrwm iddo yspryd cystydd:
†*Attal.* Deisyf arno † stoppi 'r Angel,
Sydd ar feder lladd dy genel.

**Galara.* * Mwrn mewn sach fel pobol *Ninif*,
Jona 3. Tro oddiwrth dy feie anneirif;
**Barnedigaeth.* Duw newidia 'th farn ath * ferdyd,
Os tydi newidia 'th fywyd.

Tramwy ir Demel nôs a dydd,
Megis *Aaron* mwrna yn brûdd:
Llêf am ras ar Grist dy Geidwad,
Cyn y delo 'r cowyn arnad.

Cûr dy ddwyfron yn gystyddiol,
Fel y *Pwblican* difeiriol:
Cais gan Dduw dosturio wrthyd,
Cyn ith dorrer ffwrdd â'r clefyd.

Bwytta beunydd fara dagrau,
Megis *Dafydd* am dy feiau:
Psal. 6. 6. A gwna 'th wely 'r nôs yn foddfa,
Cyn ir chwarren wyllt dy ddifa.

Saf

Sâf fel *Moesen* yn yr † adwy, †Bwlch.
Lle mae'r plag ar feder tramwy:
Cais gan d'Arglwydd droi ddigllonedd;
Felly dengys it drugaredd.

Megis *Phinees* cymmer † shiaflyn, †Gwaywffon.
Lladd y rhai sy'n peri'r cowyn: Num.25.7 8.
Cospa â'r gyfraith afreolaeth,
Duw ath geidw rhag marwolaeth.

Gado *Sodom*, tynn i *Zoar*,
Gwachel ddestryw; bydd edifar:
Gwrando 'r Angel sy'n rhoi rhybydd;
Cyn y del y plâg ith drefydd.

*Gado 'r môch a'r bobol feddwon,*
*Fel y gade 'r mâb afradlon:*
*Tynn i dŷ dy Dad rhag newyn,*
*Cyn dy dorri lawr â'r cowyn.*

Tynn fel *Peder* i ryw gornel, Mat.26.75
Wyla 'n chwerw dros dy genel:
Y mae 'r ceiliog yn dy gofio,
*Cais drugaredd cyn dy * blago.* *Gospi.

Gwna dy gownt a'th gyfri 'n barod;
Cyn dy fynd o flaen y Drindod; Mat.22.11 13.
Nyn dy lamp, a gwisc dy drwsiad, Mat.25.4
Cyn y delo 'r chwarren attad.

Chwyrn yw'r chwarren pan ei delo,
Ni ry * respit it ymgweirio: *Amser.
Bydd barodol yn ei gwiliad,
Bôb yr awr cyn deloi attad.

Os ymgweiria *Cymru* i farw,
Ac i fynd at Dduw yn hoyw,
† Cnawta i gyd i Dduw dy * spario †Cynta. *Arbed.
A rhoi iechyd hîr it etto.

Duw fo grassol wrthyd *Cymru*,
Duw ro grâs it edifaru,
Duw 'th achubo rhag y chwarren,
Duw ro itti flwyddyn lawen.

---

## *Cân Arall ynghylch y chwarren.*

*Galara.

CYmru, Cymru,* mwrna, mwrna,
Cwyn fel *Ninif* Edifara ;
Gwisc di sâch, cyhoedda ympryd ;
Llêf am râs, a gwella 'th fywyd.

Y mae *Lloeger* dy chwaer hyna,
Yn dwyn blinder tôst a gwascfa,
Dan drwm wialen y Duw cyfion,
Sy'n ei maeddu yn dra creulon.

Y mae 'r plâg yn difa ei phobloedd,
Fel Tân gwyllt y ddoi o'r nefoedd :
Ac fel * gwaddath ar sych fynydd,
Yn gorescyn ei holl drefydd.

*Goddaith, fflam.

Maen hwy 'n meirw yn ddiaros,
Wrth y miloedd yn yr wythnos ;
Ac yn cwympo ar ei gilydd,
Yn gelanedd mewn heolydd.

Nid oes eli, nid oes † metswn,
Nid oes dwr na deigre miliwn,
All ei ddiffodd, och nai laesu !
Ond trugaredd *Duw* a'i allu.

†Cyfrwy-ddyd.

Y mae *Llundain* fawr yn mwrno,
Fel *Caersalem* gwedi hanreithio ;
Nid oes dim ond ochain ynddi,
Cwynfan tôst, a llef annigri.

Mae

Mae 'r fâth alar, mae 'r fâth driſtwch,
Mae 'r fâth gwynfan a thrafferthwch;
Mae 'r fâth waywyr a'r fâth ochain,
Na bu 'r fâth erioed yn *Llundain*.

Mae pob grâdd yn gweld yr Ange,
Ger ei bron yn cwnnu gledde,
Ac yn diſgwyl heno, heddu,
Am y cart i dwyn i'w claddu.

Y mae'r gwŷr yn gweld y gwragedd,
A'u Plant anwyl yn gelanedd,
Yn y tai yn dechre * ſowſo, *Drewi.
Heb gael vndyn a'u hamwiſco.

Y mae 'r gwragedd hwynte 'n ochain,
Weld y gwŷr a'u plant yn gelain;
Ac heb feiddio myned allan,
Yn gwall-bwyllo 'n flin gan ofan.

Mae 'r ymddifaid bach yn gweiddi,
Yn y tai heb nêb i porthi:
Ac yn ſugno breſt eu mamme,
Gwedi marw er ys tridie.

Nid oes cymmorth, nid oes cyſſur,
O'r nêf, o'r ddaer, o'r môr na'r awyr,
O'r Dre na'r wlâd, o'r maes na'r winllan,
O'r llan na'r llys, o'r gaer na'r gorlan.

Y mae 'r Iach yn gweld y trwcle,
Y fae gynt yn dwyn tommenne,
Heb ddwyn dim o'r gole i gilydd,
Ond y meirw i'r monwentydd.

Mae rhai byw yn hanner marw,
Cyn del arnynt wŷn na gwayw,
Wrth weld cymmaint yw 'r diale,
Sy'n digwyddo am eu penne.

Ni chair rhydd-dyd ſyned allan,
Ni chair bwyd i mewn dros arian,
Ni chair tramwy at vn Chriſtion,
Ni chair madel â'r rhai meirwon.

Yn y tai mae 'r plâg a'r cowyn,
Yn yr hewl mae 'r cri a'r newyn:
Yn y maes mae 'r cigfrain duon,
Hwyntau 'n pigo llygaid cleifion.

Y mae 'ſowaeth *Duw* a dynion,
Gwedi gado 'r rhain yn dlodion,
Heb roi help na ſwccwr iddyn,
Yn eu nychdod tôſt a'u newyn.

Dihar. 1. 26, 28. *Mae Duw 'n chwerthin am eu penne,*
*Ac a'i ſys yn * ſtoppi gluſtie,*
*Cauad. *Ac heb wrando gweddi canmil,*
*Eiſie gwrando llais ei ſengyl.*

Y mae dynion anrhugarog,
Yn eu ffoi fel cwn cynddeiriog;
Gwell yw ganthynt weled gwiber,
† Gwr o Lundain. Yn y wlâd nâ gweled † Lyndner.

Waith bôd dŷn â'r plâg yn nyrddo,
Pôb rhyw ddyn a ddelo atto,
Ac yn lladd â gwynt ei ddillad,
*Sarph. Fel y * Baſiliſc â'i lygad.

Ni baidd Tâd ſynd at ei Blentyn,
Na gwraig drin y Gŵr â'r cowyn,
Na ffrind weld ei ffrind â'r clefyd,
† Enbydrwydd. Heb fawr † berig am ei ſywyd.

Y mae 'r ſam yn lladd â'i chyſſan
Ei hanwylyd Blentyn bychan;
*Niweidio. Ac heb wybod yn * andwyo,
Hwn â'r plâg tra ſytho 'n ſugno.

Ymae 'r Tâd yn lladd â'i anal,
Ei Blant anwyl yn ddiattal;
Ac fel * Coccatris gwenwynllyd,
Yn ddi-sôn yn dwyn eu bywyd.

†Sarph.

Y mae 'r Plentyn y glefychwys,
Ynte 'n lladd ei fam a'i magwys;
Ac o'i anfodd yn * inffecto,
Yr holl dylwyth lle bo 'n trigo.

*Gwenwyno.

Mae 'n hwy 'n meirw yn ddifymmwyth,
Gwŷr a gwragedd, Plant a thylwyth,
Wrth y pumcant yn y nofwaith,
Nes mynd *Llundain* megis anrhaith.

Mae 'r fâth wylo, mae'r fâth ochain,
Ymmhôb cornel o dre *Lundain*:
Ni bu 'rioed o'i fâth yn *Rama*,
Gynt gan *Rachel* a'i chyfnessa.

Mae 'r offeiriaid a'r 'pregethwyr,
Yn alaru maes o fessur,
Weld eglwyfydd lle 'r oedd miloedd,
Fel † lluestai heb ddim pobloedd.

†Bwthau.

Y mae 'r * Marchants mawr a'u Shioppe,
Llawn o frethyn aur a laefe,
Heb gael gwerthu dim o'r llathaid,
I roi bara i prentiffiaid.

*Marsiandwyr.

Y mae 'r crefftwyr hwynte 'n ochain,
Gwedi gweithio pethau * cywrain,
Heb gael vn dŷn idd eu prynu,
Ac yn barod i newynu.

*Hardd.

Mae lletteu-wyr y Gwŷr mawrion,
A'r Arglwyddi, a'r Marchogion,
A'u Hoftrie mawr yn wâg,
Heb neb ynddynt ond y plâg.



Y

Y mae 'r † water-men a'r * porters, — † Bâdwyr.
A'r || caranifwyr oll, a'r † haliers, — * Rhai yn dwyn llwythe ar eu cefne.
Heb gael lle i ennill dimme,
I roi bara yn eu bolie.

Mae 'r farchnatfa lle 'r oedd llafur, — || Rhai yn bala cart.
Cîg a phyfcod tu-hwnt i feffur, — † Rhai yn llyfco pethau.
A phôb moethe o'r dainteithia,
Heb na chîg, na blawd, na bara.

Y mae llawer oedd yn ceifio,
*Quailes a † Phefants idd eu cinio, — * Soft-ieir. † Ceiliogau 'r coed
Nawr yn chwennych torri newyn,
Ar * bŵr *Jon* a hên ymenyn. — * Pyfcod hallt fych.

Lle 'roedd beunydd fil o fade,
Yn dwyn ymborth, heb law llonge;
Nid oes heddyw bwnn yn dwad,
O flawd cawl, dros aur i'r farchnad.

Lle 'roedd llewndid o bôb ffrwythi,
Ag oedd daer a dwr yn roddi:
Nid oes heddyw ond y newyn,
Ar drydaniaeth waith y cowyn.

*Hyn y barodd ein hen * draha,* — * Balchder
*A'n gloddineb, a'n putteindra,*
*A'n gau-dduwiaeth, a'n câs feddwdod,*
*A dirmygu 'r gair yn waftod.*

Dymma wabar, dymma ffrwythe,
Dymma gyflog ein pechode: — Deut.28. 15,21,27.
Dymma 'r faethgen dôft haeddaffom,
Am y brynti gynt a wnaethom.

*Dymma fel y gall Duw cyfion*
*Dynnu lawr y Trefydd mawrion,*
*Mewn byrr ennyd am anwiredd,*
*A'u darostwng am eu balchedd.*

Dymma

*Dymma fel y gall Duw blygu*
*Pobol drawsion y fo 'n pechu,*
*Ac heb wneuthur pris o'i ddeddfe,*
*A'u † committo dan law 'r Angeu.* †Gosod.

Hyn haeddassom er ys dyddie,
Hyn y ddylem bawb i adde:
*Cyfiawn yw Duw a diargoedd,* Psal. 145. 17.
*Yn ei ffyrdd a'i holl weithredoedd.*

Ni hauassom bob diffeithder,
Gynt rhwng cwyse anghyfiawnder,
Rym ni 'n medi, 'rym ni 'n casclu
Y crop y ddygodd pechod inni.

Dymma 'r dial gynt addawodd
*Duw* i ddanson ar y boblodd,
Nas gwasnaethent â'i holl galon,
Ac na chadwent ei orchmynnion.

* Dymma 'r faethgen y gaiff *Cymru*,
Eisie gwella a difaru,
A chymmeryd rhybydd dyner,
Oddiwrth blâg a dial *Lloeger*.

Pan y helodd *Duw* 'r fâth wialen,
Ar y bobol dda o *Lunden*,
*Ma'rnai ofan y daw cleddu,*
*Ar y bobol ddrwg o Gymru.*

Pan na chymre bobol *Juda*,
† Warning brûdd oddiwrth *Samaria*;
*Duw* rows *Juda* i gathiwed,
Fel *Samaria* dan law 'r *Siriaid*.

Pan na chymmer *Cymru* † warning, † *Rhybydd.*
Oddiwrth *Loeger* yn ddidaring:
Ma'rnai ofan y daw dial
Ar y *Cymru*, a phlâg * anial.

* *Fe fu'r chwarren a'r ôl hyn yng* Haerfyrddyn, *yn* Hwlffordd, *ym* Mhenfro, *ac amryw leoedd ereill, a Rhyfel tôst trwy 'r* Deyrnas. *Dirgelwch yr Arglwyddiaeth gyda'r rhai a'i hofnant ef.* Psa. 25. 14

* Diffaith.

Pan y glawiodd *Duw* goruchá,
Dân ar *Sodom* a *Gomorra*,
Deut. 29. Ni ddiffoddodd o'i lid tanllyd,
23. Nes disethu *Zeboim* hefyd.

Pan y helodd *Duw* y chwarren,
I dir *Lloeger* ac i *Lunden*,
Ma'rnai osan tôst na laesa
[*Cymru.] 'R plag, nes del ymweld a * *Chambria.*

Os pan helodd *Duw* y cledde,
I *Germania* a'i chyffinnie,
Eisie i'r *ffrangcod* gymryd rhybydd,
F'aeth y cleddyf trwy holl dresydd.

† Rhybydd: Eisie i *Loeger* gymryd † warning,
Oddiwrth *Bohem*, *ffraingc* a *fflushing*,
Y mae *Duw* yn cospi *Lloeger*,
Yn saith gwaeth nag vn o'r niser.

Oni chymmer *Cymru* rybydd,
Oddiwrth *Loeger* drist a'i chustydd;
Ma'rnai osan gweld ar fyrder
Blâg yng *Hymru* waeth nâ Lloeger.

O gan hynny *Cymru* mwrna,
Gâd dy bechod, edifara;
Dysc gan *Ninif* geisio heddwch,
Cyn del dial a diffaithwch.

Joel 2.12, *Cûr dy ddwyfron, wyla 'r hallt-ddwr,*
13, 14. *Golch dy wisc yng waed dy Brynwr;*
*Llef am râs, a gâd dy frynti,*
*Cyn dialer dy ddrygioni.*

*Cyn y tynno Duw ei gledde,*
*Cwymp yn issel ar dy linie;*
*A chais râs a ffafar gantho,*
*Cyn i'r Ange dîg dy dara.*

Ofer crio gwedi 'th glwyfer,
Ofer ymbil gwedi 'th farner,
Ofer ceisio torri 'r wialen,
Gwedi rhodder itti 'r faethgen.

Cwyn gan hynny, gwachel oedi,
Bryssia 'n † esgyd, gâd dy frynti: †Ebrwydd.
*Gwel y farn sydd uwch dy gobyn,*
*Tro, cyn caffoi arnad ddisgyn.*

## *Gweddi Eglwyswr wrth fyned i ymweled â'r Cleifion yn amser y Chwarren.*

DUw gwynn, Gwel mor beryglus,
Yw Swydd dy wâs trafaelus,
Sydd yn * twttan aia a hâf, *Myned.
At bôb dyn clâf gwrthnebus.

Nid oes na Gwr na Bachgen,
Bid clâf o'r frech na 'r chwarren,
Neu rhyw glefyd y fo gwaeth,
Nad wyfi gaeth i orthen.

Os Gwrês, os gwayw poethlyd,
Os chwys, os Twymyn awchlyd,
F'orfydd myned vwch ei ben,
Bid clâf o'r chwarren waedlyd.

A hyn sydd dra echrydus,
I galon egwan glwyfus,
Sydd heb bwer gantho ei hun
I wechlyd twymyn awchus.

Gan hynny ar f'vnig Helpwr,
Am Ceidwad am diffynnwr,
Sy'n rheoli rhain i gyd,
Rwi 'n crio * 'm mrhyd am swccwr. * Mewn amser.

O Arglwydd mawr di elli
Fy nghadw 'n iach os mynni,
Rhag yr heintiau hyn i gyd,
Er maint o'u bryd im llyngcu,

Ac oni byddi helpwr,
Im cadvv mewn cyfyngdvvr,
Nid oes le im ddiangc mvvy,
†Rhoddi lle. Ond † ildo i nhvvy fel gvvanvvr.

Gan hynny Duvv 'r holl allu,
Os d' wyllys fy'n cennadu,
Cadvv fi dy vvaelaf vvâs,
Rhag heintiau câs im cyrchu.

Hos.6.1. Tydi fy Nuvv fy'n clvvyfo,
1 Sam.2.6 Tydi fydd yn elio:
Tydi fy'n lladd ac yn byvvhau,
* Ceryddu. Tydi y gae 'n * correcto.

Gan hynny tanna drofvvyf,
Dy adain fel dihangvvyf:
Nâd i glwyf neu glefyd câs
Ymlynu â'th vvâs daiarol.

Num.16.48. Duvv 'rhvvn y gedvvaist *Aron*,
Yn iach yng henol cleifion,
Cadvv finne 'n rafol rhag
Yr haint a'r plâg echryflon.

Dan.3. Di gedvvaist *Abednego*,
Yng henol flam heb dvvymo;
Cadvv finne nghenol plâg,
*distrywio Er *Jesu* nâd f'andwyo. *

Dan.6. Di gedvvaist *Ddaniel* hefyd,
O fafan llevv newynllyd:
Cadvv finne Arglvvyd Dduvv,
Rhag haint i fyvv mevvn iechyd.

Ac felly mi'th folianna,
 Mevvn llann a llys a thyrfa:
Ac y roddaf tra ynvvi chvvyth
 Id ddiolch byth o'r mvvya.

Fel *Aron* yn y gangell, Dan 6.10.
 Fel *Daniel* yn y stafell: Psal. 146.2
Ac fel *Dafydd* tra fwi byw
 Bendithiaf Dduw fy nghastell.

---

## *Cynghor ir Clâf.*

PAn ith drawer gynta â chlefyd,
 Ystyr o ble daeth mor danllyd,
A phwy helodd glefyd attad,
A pha ham ei dodwyd arnad.

*Duw ei hun sy'n danfon clefyd,* Deut. 28. 22.
*Oddiwrth Dduw y daw mor aethlyd:*
*Am ein Beiau mae 'n ei hela,*
*I geisio genym droi a gwella.*

Edifara am dy feiau, Hos. 6. 1.
Deisyf Bardwn ar dy liniau,
Cais gan Dduw dosturio wrthyd,
Fe'th gyssura yn dy glefyd.

Or nynnodd llid dy Dduw yn d'erbyn,
Nes rhoi arnat Glefyd scymmyn,
Gwaed yr oen a'th † reconseila, †*Heddycha*
* Deigreu hallton a'i dad-ddigia.

**Er mai Gwaed Christ yw 'r iawn am bechod*, 1 Pet. 1. 19. *etto mae 'n rhaid ir sawl a ddisgwyliant am lesâd oddiwrtho, gredu yntho, a bod yn edifeiriol; waith fod Duw wedi gorchymyn i ni ddyfod y môdd hynny atto trwy ei fâb*, Jo. 14. 6. 1 Jo. 3. 23. Jac. 4. 9. *Onder y dlyem ni alaru, etto na thybygwn, fôd ein deigre yn iawn am ein pechodau: Pe buasse hynny yn gallel bôd, ni buasse raid i Grist ddioddef trosom.*

Gostwng iddo, mae 'n drugarog;
Mat. 7. 7: Cais ei râs, sei rhy yn serchog,
Edifara, ynte fadde,
Act. 3. 19. Wyla di, Tosturia ynte.

Psal. 32. 5. Addef iddo dy gamweddau,
Barn dy hunan am dy feiau,
Cwymp o'i flaen a deisyf Bardvvn,
†Rhydd-bâd. Di gae râs ac † Absoluwsiwn.

Tro di atto, ynte a'th dderbyn,
*Ddeisyfiad. Er ei ddigio, rhy dy * ganlyn,
A phan gwelo hallton ddeigrau,
Fe bair laesu dy flinderau.

O ble mae clefydyn dyfod. Duw ei hun sy'n danfon clefyd,
Cennad Duw yw nychdod aethlyd:
Oddiwrth Dduw y daw clefydion,
Ni all neb ond Duw eu danfon,

Nid o'r Moroedd, nid o'r mynydd,
*Awyr, awel. Nid o'r ddaer, na'r * Aer, na'r corsydd,
Y daw clefyd ar blant dynion,
Ond oddiwrth yr Arglwydd cyfion.

Deut. 28. 22. Gwrês, a gwayw, crâch, cornwydon,
Crûd, a haint, a syndra calon,
Nychdod, Nodau, Mâll, difflanniad,
S'oddiwrth Dduw ei hun yn dwad.

Ni all * Emprwyr mawr yr holl fyd,
*Pennaethiaid uwch nâ Brenhinoedd a thywysogion. Ddanfon haint na thynnu clefyd:
Nid oes neb a'i tynn neu danfon,
Ond Duw mawr y Barnwr cyfion.

Nid aiff clefyd ffwrdd wrth † bwyntment,
†Arch. *Loe*, nac *Antwn*, *Cât* na *Chlement*,
Witch, na dewin, Swyn, na phlaned,
Nes cennado Duw ei syned.

Os

Os o † Swrffet, os o Anwyd, †Diotta, bwytta gormodd.
Neu Dŷ afiach y ceist glefyd,
Duw ei hun sydd yn dy daro,
Pa fôdd bynna daethost iddo.

Nid wrth * ddamwain, nid wrth fforten, *Shiawns.
Nid wrth dreiglad lloer na seren,
Y daw clefyd, mawr na bychain ;
Ond wrth bwyntment Duw ei hunan.

Na chais edrych fal dŷn ynfyd,
Trwy pa fodd y daeth y clefyd :
*Gwell it' edrych tua 'r nefoedd,*
*Ar dy Dduw, a'r llaw a'th drawodd.*

Duw a'th drawodd, Duw a'th wella,
Duw a'th glwyfodd, Duw 'th elia :
Duw sy'n cospi di gnawd diriaid,
I iachau dy gorph a'th enaid. Heb.12.10

Derbyn Gennad Duw 'n ressawgar,
Ymddwyn dano yn ddioddefgar ;
Nêb a garo Duw fei cospa, Heb.12.6.
Pôb mâb anwyl fei gwialenna.

Bydd ddioddefgar dan dy drwbwl, Jaco.5.10 11.
*Ffôl a wingad ar ben Swmbwl* :
Duw a'th drawodd mor ddolyrys ;
Ofer it' wrthnebu ei'wllys.

*Yr achos o glefyd.*

Am ein pechod a'n drwg fywyd, Deut.28.
Y mae Duw yn danfon clefyd :
Ac yn † gryddfu meibon dynion †Cystyddio
Am drosseddu ei orchmynnion.

Darn o gyflog pechod aethlyd,
Ydyw nychdod ac afiechyd ;
Pechod a ddaeth wrth ei gynffon,
A phôb clefyd ar blant dynion.

Torri 'r Sabboth, tyngu 'n rhigil,
Casau 'r Eglwys a'r Efengyl,
Dissang ffeiriaid a swyddogion,
A bair Lawer o glefydion.

Meddwdod, Maswedd, a phutteindra,
*Segyru. Rhegu, * loetran, a lledratta,
Gwledda, Gloddest, treisio tlodion,
Sy'n dwyn clefyd a thrallodion.

O'r ceist glefyd, o daeth moesa,
Pechod helodd hwn i'th ddala,
Ac a barodd i Dduw ddigio,
A rhoi 'r clefyd hwn i'th daro.

Galar. 3. 40. Chwilia 'n sanol dy gydwybod,
A chais gwrdd a'th ffiaidd bechod:
Llwyr groes-holia dy anwiredd,
Ac ymbilia am drugaredd.

Act. 3. 19. Os disaru am dy feieu,
A llwyr droi at Dduw yn foreu,
Fe faddeua *Duw* dy bechod,
*Os bydd hynny er daioni i'th enaid ti. Ac a'th * dynn y maes o'th nychdod.

Cais gan *Dduw* leihau dy ddolur,
*Dofi* 'th boen a gwella 'th gyssur:
Cais yn daer esmwythder gantho,
F'all ei roi yr awr y mynno.

Pa ryw bynnag yw dy ddolur,
Fe all *Duw* ostegu ei wayw-wyr,
A'th iachau y môdd y mynno,
Bid e'r dolur mwya fytho.

Fe iachaws y clâf o'r *parlys*,
Gwraig o'r *lasc*, a'r *crippil* nafys,
*Job* o'i grach, a *Naman* glafwrllyd,
Mar. 4. 24. A'r rhai cleifion o bôb clefyd.

Nid

Nid yw clefyd ddim ond cennad,
Wrth arch Duw ſy'n dwad attad,
Fe ladd, fe baid, pan harcho ei berchen;
Fe ddaw, fe aiff fel gwâs y capten.

O gan hynny galw 'n daerllyd,
Ar dy *Dduw* ſy'n danfon clefyd,
Cais ei * Nawdd er mwyn dy Brynwr,
Di gei gantho help a ſwccwr.

* Amddiffyniad.

---

## *Gweddi 'r clâf.*

ARglwydd cyſion, Tâd fy iechyd,
Barnwr pawb a'i helpwr hyfryd,
Gwrando weddi dyn claſecca
Er mwyn Chriſt, ac edrych arna.

Yn glâſ mewn corph, yn driſt mewn enaid,
Yn drwm mewn meddwl ac ychenaid,
Rwi 'n ymlyſco, o 'ngrheawdwr,
Attad ti i geiſio Swccwr.

Graſſol wyt a llawn trugaredd,
Hwyr dy lid, a mawr d' ammynedd,
Hawdd i'th gael mewn tôſt gyfyngdwr;
Er mwyn Chriſt toſturia 'nghyflwr.

Exod. 34. 6, 7.

Di roeiſt iechyd im' ys dyddie,
Nawr di dwgaiſt am fy meie,
Ac y helaiſt boen a nychdod,
Im cyſtuddio am fy mhechod.

Duw mi haeddais rwi 'n cyfadde
Vn oedd drwmmach er ys dyddie:
Yn dra chyfion Duw goruchaf,
Y rhoiſt hyn o Nychdod arnaf.

Di

Di allaſſyd ddanfon clefyd
†Immwngc, câs, i ddwyn fy mywyd;
Am troi i vffern i boenydio,
Heb roi amſer im * repento.

Etto 'n ſwyn fel Tâd trugarog,
Di roiſt arnaf glefyd ſerchog,
Im rhybyddio am fy niwedd,
Pſa. 119. 71 Am cyſrwyddo wella muchedd.

Rwi 'n ei gymryd megis arwydd,
O'm * mabwyſiad a'th gredigrwydd,
Yn ſyng-hoſpi am † correcto,
Rhag im pechod fy andwyo.

Da yw'th waith o Arglwydd cyſion,
Yn coſpi 'r corph a'r ſâth drallodion,
Lle roedd ſ' enaid er ys dyddie,
Yn dra chlâf gan ormodd ſoethe.

*Tra cês iechyd ni chês weled*
*Om pechodau er eu hamled;*
*Ond yn awr, gwae fi, mewn nychdod*
*Nid wi 'n gweled ond fy mhechod.*

O bwy nifer o bechode
Wnaethoi 'n d'erbyn, Duw gwae finne;
Maent yn amlach mewn rhifedi
Nag yw 'r Sêr, o'r ceiſiai cyfri.

Pa fath Elyn gwyllt y fuo,
Yn d'wrthnebu megis *Pharo*,
Gynt pan oeddyt yn ymhwedd,
Am im droi a gwella muched,

† *Diſymmwth.*
* *Ediſaru.*
† *Ceryddu.*

* *Yr arwyddion pennaf o fabwyſiad (hynny yw, o fod wedi yn cymryd trwy Griſt i fod yn blant i Dduw) yw ffydd yn Griſt, galar am bechod, troad oddiwrth bechod, gwîr gariad at y ſawl ſydd yn ofni Duw, yngbyd a chadw ei orchymynnion ef: oni fydd dyn mewn rhyw feſur a'r pethau hyn ynddo; ni ddichon efe gaſglu oddiwrth ei glefyd a'i gyſtydd ei fod ef yn blentyn i Dduw.* Jo. 1. 12. Mat. 5. 4. 1 John 3. 8, 9, 10, 14. Ac 1 Joan 2. 3, 4.

Arglwydd grassol rwi'n cydnabod,
Immi haeddu can mwy nychdod,
Ac im bechu yn yscymmyn,
O'm Mabolaeth yn dy erbyn.

Etto gwn dy fôd ti 'n rassol,
I bwy bynna so difeiriol,
Ac yn barod iawn i fadde
I'r alarus eu camwedde.

Er na haeddais ond trallodion,
A dialau, a chlefydion;
Gwna â mi 'n ôl dy fawr drugaredd,
Ac nac edrych ar f'anwiredd.

Cymmer Angeu Christ a'i 'fydd-dod,
Yn dâl itti am fy mhechod;
Cladd fy meie yn ei * weli:
Er ei fwyn bydd rassol immi.

* Archolli-on.

Nad im farw yn fy mrynti,
Cyn im wneuthur dim daioni:
Ond rho amser o'th drugaredd,
Immi etto wella muchedd.

Dal dy law, gostega nolur,
Laesa mhoen, lleiha fyng-waywyr,
Ac na ossod arnai boeneu,
Fwy nag allo 'nghorph eu goddeu.

Er bôd f'enaid weithie'n dwedyd,
Dere *Ghrist*, a derbyn f'yspryd:
Mae fy nghawd er hyn yn crio,
Duw tro 'r cwppa chwerw heibio.

Y mae 'r cnawd a'r yspryd etto,
Yn amharod i ymado:
Duw rho amser im eu trefnu;
O bydd d'wllys yn cennadu.

*Nid wi'n ceisio gennyd amser,*
*I fyw 'n foethus mewn esmwythder,*
*Ond i dannu dy anrhydedd,*
*Ac i wella peth om buchedd.*

Duw o'r gweli fôd yn addas,
Estyn f'oes fel *Ezekias* ;
Doro immi ryw gyfrwyddyd,
Im iachau a thorri 'nghlefyd.

Ond o'r gweli fôd yn ore,
Etto 'nghospi dros fwy ddyddie,
*Duw* dy wllys di gyflawner ;
Ond cyfnertha fi 'r cyfamser.

Yn iach ni wneuthym ond dy ddigio,
Yn glaf ni allai ond ochneidio,
Oni roi dy nefawl yspryd,
Im diddanu yn fy nghlefyd.

Arglwydd cymmorth fi 'n fy mlinder,
Llaesa mhoen am han-esmwythder :
†*Osn.* Dwed wrth f'enaid yn ei † halaeth,
Myfi yw dy iechydwriaeth.

Luc. 10. Tydi Christ yw 'r mwyn Samariad,
Minne yw 'r claf trafaelwr irad ;
Cweiria nolur, rhwym f'archollion,
Dofa mhoen, cryfha fy nghalon.

Mae dy law yn orthrwm arnaf,
Etto ynod mi ymddiriedaf :
A pha lleddit fi â thrallod,
Job 13.15. *Duw* mae f'holl ymddiried ynod:

Datc. 1. 18 Gennyt ti mae 'r hôll † allweddeu,
†*Agoria-dau.* Sydd ar fywyd ac ar Angeu :
Ni baidd Angeu edrych arnaf,
Nes danfonech (Christ) ef attaf.

Gwna

Gwna fi 'n barod cyn y delo,
Pâr im ddisgwyl byth am dano;
Fel y gallwi fynd yn addas,
Wrth ei scîl i'th nefawl deyrnas.

Nâd i bethau 'r byd anwadal,
Na'th gyfiawnder ddydd y dial,
Nac i ofan Angeu im rhwystro
Ymbartoi i rwydd ymado.

Tynn om calon ofan Angeu,
Pâr im wadu 'r bŷd a'i betheu;
Golch â'th waed fy mhechod sceler,
Cûdd fy mrynti â'th gyfiawnder.

Rho im ffydd yn dy * Brommeision, *Addewidion.
Gobaith gryf am gael y Goron.
Dioddefgarwch yn fy nghlefyd,
Chwant ddwad attad a dattodyd: Phil. 1. 23.

Christ rho d'yspryd im diddanu,
A'th Angelion im castellu;
Gwna 'r awr ola fy awr ore
Rho mi 'r Goron ar awr Ange. 2 Tim. 4. 8.

Christ fy Mugail cadw f'enaid,
Nâd i'r llew o'th law ei scliffiaid * *Cipio a'i dryllio.
Tydi prynaist yn ddryd ddigon,
Dwg ê i'r nêf at dy Angelion.

*Rhybydd i'r claf i alw am weinidog i gynghori ef, ac i weddio drosto.*

PAn clafychech cais Offeiriad, *cais weinidog sy'n ofni Duw, i weddio drosot ac ith gynghori.
Yn ddiaros ddwad attad,
I weddio dros dy bechod,
A'th gyfrwyddo fôd yn barod.

Christ y bwyntiodd yr offeiriaid,
Yn Bessygwyr doeth i'r enaid,
Ac a roddwys iddynt eli,
I wrthnebu pôb drygioni.

Adde 'th bechod wrth y ffeiriad,
Fe ry itti gyngor difrad,
†Pan lefaro 'r gweinidog allan o air Duw mae Christ yn llefaru trwyddo. Fel y gallo roi cyfrwyddyd,
Yn ol naws a rhyw dy glefyd.

† Crêd beth bynna ddwetto 'r ffeiriad,
*O air Duw*, yn brudd am danad:
Cans llais Christ ei hun yw hynny,
*Ceryddu, Ith * rebycco, neu 'th ddiddanu.

†Yn bryssur. Deisyf arno † brudd weddio,
*Wella. Ar i'r Arglwydd dy * recyfro,
A rhoi itti gyflawn iechyd,
Neu yn rassol dderbyn d' yspryd.

Jaco. 5.14 15,16. Mae *Duw* 'n addo gwrando 'r *ffeirad,
*Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn, ond aberth yr annuwiol sydd ffiaidd. Pan gweddio 'n ôl ei alwad;
Christ a ddyru ei ganlyniaeth,
Oni phwyntiodd dy farwolaeth.

Deisyf arno dy gysnerthu,
Rhag i Satan dy orchfygu,
A llonyddu dy gydwybod,
Dih. 15.8. Pan i'th fliner gan dy bechod.

†Chwilio. Godde † lawnso dy gornwydon,
Godde i'r Gair frynaru 'r galon,
Fel y gallo fwrw yndi
Wîn ac olew gyd ag Eli.

Gwell it adel i'r offeiriad
*Ddangos *Faneg itt dy ddrwg ymddygiad,
Fal y gallech edifaru,
Nag oi blegid gael dy ddamnu.

Dj

Di gae †gyngor rhag dy bechod,
I lonyddu dy gydwybod:
Di gae gomffordd gan y ffeirad,
Os mewn pryd ei gelwi attad.

Nâd y ffeirad heb ei alw,
Nes ei bech yn hanner marw:
Ni all ffeirad y pryd hynny,
Na nêb arall dy ddiddanu.

Oh! pa nifer o *Fruttanniaid*,
Sydd yn meirw fel Nifeiliaid?
Eisie ceisio nerth y ffeirad,
I gyfrwyddo eu madawiad.

Er bod *Duw* yn abal cadw
Sawl a synno heb ei galw,
Nid yw 'n cadw mawr o enaid,
* Ond trwy Swydd a gwaith offeiraid.

Cais gan hynny gynta ag allech
Ffeirad attad pan glesychech,
I roi †pwrg yn erbyn pechod,
Rhwn yw achos dy holl nychdod.

† *Physygwriaeth.*

†*Ni bydd y claf nês i fod yn gadwedig er cael cyngor y gwenidog, oni wnâ ef ar ei ol ê* Jac.1.22. *Ac oni fydd y cyngor yn gyngor. Duw hefyd* Rh.f.1.16 Rhu,10.17

**Trwy bregethiad y gair mae ffydd a throedigaeth i ffordd iechydwriaeth yn dyfod, ac am hynny cyn clafychu fe ddylid arferu gwrando 'r gair, rhag ofn y bydd hi rhy hwyr yn ein clefyd i wneuthur felly. Ni ddylem ni oedi, a thybied mai pethau bychain yw ffydd ac edifeirwch a gwellhâd buchedd, o herwydd mae pob vn o'r rhain yn anghenrheidiol i iechydwriaeth*, Jo.3.36. Luc.13.5. 1 Cor.6.9. Heb.12. 14. *Er mwyn Christ ystyriwch y pedwar lle hyn o'r Scrythur*, a bernwch ynoch eich hunain, gan na ellir bôd yn gadwedig heb Edifeirwch a ffydd a newydddeb buchedd (fel y mae 'r Syrthyrau hyn yn dangos yn eglur) onid yw yn ynfydrwydd i adel y pethau hyn heb eu ceisio hyd amser ein clefyd? Fe fydd yr enaid y pryd hwnw yn ym wrando â dolurac âfiechyd y corph; ac o herwydd hynny yn anghymmwys iawn i wrando cyngor y gweinidog ac i wneuthur yn ei ôl fel y dlye. *Nid ydym yn darllen ond am vn (sef y lleidr ar y groes ag a wir edifarhaodd yr awr ddiwethaf) am vn yr ydym yn darllen hynny, fel nad amheuo neb; ond nid ydym yn darllain ond am vn, fel na ryfygo neb, a bod yn hy neu yn eon, i oedi troedigaeth at Dduw hyd yr awr ddiwethaf.*

*Gwedi cael cyngor Pyſſygwr yr enaid, cais gyfrwyddyd Pyſſygwr y corph.*

YN ôl cyngor yr Eglwyſwr,
Cais gyfrwyddyd y Pyſſygwr;
† Meder. Duw a roes i hwn † gelfyddyd
I'th iachau o lawer clefyd.

*Duw* ordeiniodd yr offeiriaid,
* I fod yn offerynnau i iachau 'r enaid. I* iachau doluriau 'r enaid,
A'r pyſſygwyr a'r Meddygon,
I ymgleddu cyrph y cleifon.
† Frwnt. Llawer dyn ſy'n marw 'n † fudyr,
Eiſie cymmorth y Pyſſygwyr,
Gan fyrhau eu hoes a'u hamſer,
Yn embeidus eiſie eu harfer.

Corph pob dyn yw tŷ ei enaid,
* Adnewyddu. Rhaid * rheparo hwn a'i drefnaid;
Rhaid i bôb dyn hyd y gallo
Gadw ei dŷ ar draed heb gwympo.

Arfer gymmorth phyſſygwriaeth,
Yn dy glefyd trwy griſtnogaeth;
*Duw* ordeiniodd hon yn gyſſur
I blant dynion rhag pob dolur.

Y neb wrthotto phyſſygwriaeth,
Y roes *Duw* er iechydwriaeth,
† Nattur. Mae 'n gwrthnebu maeth ei † Anian,
* Lladd. Ac yn * mwrddro ei gorph ei hunan.

*Y llyſſewyn ſalwa welech,*
*Ar Gyfrwyddyd waela gaffech,*
*All roi help a iechyd itti,*
*Os rhy Duw ei fendith arni.*

Swp

Swp o ffigys, os bendithia, Esa 38.21.
All iachau y cornwyd mwya:
A'r Gyfrwyddyd ni thâl vn-rhith
All roi help, ond cael ei fendith.

*Ond pe caet ti Balm a Nectar,*
*Cennin Peder, Cerrig Bezar,*
*Olew a Myrh, a gwîn a gwenith,*
*Ni wnânt lês heb gael ei fendith,*

*Cais gan hynny fendith hyfryd,*
*Gan dy Dduw ar bôb cyfrwyddyd:*
*Heb ei fendith ni wna 'r benna,*
*Ond troi 'n wenwyn yn dy gylla.*

Nac ymddiried i'r pyssygwyr,
Nac vn * fetswn fônt yn wneuthyr *Cyfrwyddyd.
Rhag dy farw megis *Asa*, 2 Chron.
Eisie 'mddiried i'r Gorucha. 16.12.

Nid oes rhinwedd ar lysseuach,
Grym mewn Eli, na diodach,
I leihau o'n cûr, a'n poensa,
Os yr Arglwydd nis bendithia.

Duw sy'n rhoddi * rhâd ar lysseu, *Bendith.
Grym mewn eli a † chyfyrddoneu, †Cyfrwyddyd.
Lle bendithio Duw hwy lwyddant,
Lle ni fynno Duw ni thycciant.

Cais gan Dduw roi bendith hyfryd,
Ar bôb metswn a chyfrwyddyd:
Heb ei fendith ni wna 'r benna,
Ond troi 'n wenwyn yn dy gylla.

## *Gweddi 'r claf cyn cymmeryd phyſſygwriaeth.*

[ Awdwr iechyd, lluniwr llyſſeu,
Rhoddwr rhinwedd, Rhwymwr Angeu,
Tywallt fendith, rhâd, a iechyd,
Ar y fetſwn wyfi 'n gymryd.

Di ordeiniaiſt amryw llyſſiau,
Diod, Eli, a chyferddonau,
I ymgleddu meibion dynion,
Yn eu gwendid a'u clefydion.

Yn ôl d'wllys a'th ordeinaeth,
Rwyfi 'n cymryd phyſſygwriaeth,
I oſtegu peth o'm didri;
Rho dy fendith Arglwydd arni.

Gwn na ddichon vn creadyr,
Na chyfrwyddyd laeſu 'ng-waywyr,
Oni byddi di 'n bendithio
Rhyn a roer, a'r hwn a'i cymro.

O gan hynny prûdd fendithia
Y gyfrwyddyd a gymmera,
Fel y rhoddo hon im gyſſur,
Ac y llaeſo fy holl waywyr.

Peraiſt gynt i'r ffigys diflas,]
Iachau cornwyd *Hezekias*:
Pâr o Arglwydd i'r gyfrwyddyd
Hon roi 'minne gyflawn iechyd.

Di iachaiſt olygon *Tobi*,
Gynt ag afu 'r pyſc annigri:
O iacha fy nolur inne
A rhai 'hyn dy gyfyrddone.

Fel

Fel y peraist i ddwr *Jordan*
Olchi ffwrdd wahanglwyf *Naman*: 2 Bren.5.
Felly pâr i'r ddiod ymma,
Dynnu ffwrdd fy nghûr am poensa.

Fel y peraist gynt i'th Boeryn Mar.8.23.
Roddi golwg i'r Cardottyn:
O pâr Arglwydd i'r cyfrwyddyd
Hon roi 'minne gyflawn iechyd.

Gwn y galli trwy 'r fâth foddion,
Neu heb vn iachau clefydion:
Llaesa nolur yn ol d'allu,
Or bydd d'wllys yn cennadu.

Ond or pwyntiaist ti fy niwedd,
Am llwyr dynnu i'th drugaredd:
*Duw dy wllys di gyflawner,*
*Rwi'n ymostwng iti' bob amser.*

Ond rho immi râs a phwer,
Grym a gallu y cyfamser,
Ddwyn fy nolur yn ddioddefgar,
Megis Christion yn ddidrwdar.

A rho d'yspryd im cyfnerthu
Yn fy mlinder i'th foliannu,
Ac i ddwyn dy groes a'th wialen,
Yn wllysgar, ac yn llawen.

A phâr immi fôd yn barod,
Ddwad attad ac ymddattod,
A rhoi f'enaid yn wllysgar,
Yn dy ddwylo Arglwydd hygar.

O fy Arglwydd gwn y gally,
Fy iachau yr awr y mynny:
Oni fynnu laesu mlinder,
*Duw* dwg f'enaid i'th esmwythder.

## *Rhybydd ir clâf i ochelyd ceisio cymmorth Swynwyr a dewiniaid.*

Deut. 18. 10, 11, 12. Lev. 19. 31 GWachel geisio help gan swynwyr,
Yn dy flinder tôst a'th ddolyr;
2 Bren. 1. 16. Gado Duw mae'r cyfryw ddynion,
Ac addoli 'r gau Dduw Eccroni

Na chais help i'r corph mor embaid,
Gan y Diawl sy'n lladd yr Enaid;
Nid oes vn Physsygwr allan,
Waeth nâ'r Diawl i helpu 'r egwan.

*Twyll. †Dychymmyg. Nid yw Swyn ond * hûg i'th dwyllo,
Gwedi Satan ei † ddefeisio,
I ddifethu d'enaid gwirion,
Pan y Swyner ith glefydion.

*Cennad. Nid yw'r Swynwr ond * Apostol
Ffalst, i'r Diawl i dwyllo'r bobol,
Oddiwrth Grist, mewn poen a thrafel,
I butteinia ar ôl y cythrel.

Datc, 21. 8 *Twyllo 'r corph, a llâdd yr enaid,*
*Digio Duw, bodloni diawlaid,*
*Gwrthod Christ, a'r maint sydd eiddo,*
*Y mae 'r Swyn, a'r sawl ai credo.*

*Ceisio 'r cythrel yn Byssygwr*
*Ydyw ceisio help gan swynwr:*
*Ceisio 'r Diawl i ddarllain tesni,*
*Yw â dewin ymgynghori.*

Ceisio Gwîr gan dâd y celwydd,
Yw ymofyn â drogenydd:
Ceisio help i lâdd yr enaid
*Twyllwyr Ydyw ceisio Swyn * Hudoliaid.

*Na châr Swynwr wyw nâ chythrel,*
*Mae 'n dy demptio yn dy drafel:*
*Glûn wrth Grist, er maint yw'th flinder:*
*Cais ei nerth di gei esmwythder.*

## *Gweddi fyrrach i'r claf iw harferu yn ei glefyd.*

DUw trugarog, Tâd diddanwch,
Awdwr iechyd, Pen dedwyddwch,
Gwrando waedd pechadur nychlyd,
Sydd yn beggian cymmorth genyd.

Daeth fy mhechod yn dy olwg,
A'm höll fuchedd oedd yn cynddrwg,
A chan gymmaint oedd fy † nhraha, † *Balchder dirmyg.*
Di ddanfonaist glefyd arna.

Haeddais, Arglwydd, drwmmach benyd,
Dostach dwymyn, cassach glefyd,
Blinach dolur, byrrach amser,
By'm talassyd wrth gyfiawnder.

Di allassyd dorri 'ngwddwg,
Am fy muchedd oedd yn cynddrwg,
Neu fy moddi, neu fy * mwrddro, * *Lladd.*
Heb roi amser im ymgweirio.

Nawr rwi'n gweld dy gariad attaf,
Yn rhoi clefyd † cruaidd arnaf, † *Carneidd*
Im ceryddu am f' anwiredd,
Ac im cyffro wella muchedd.

Nid 'wllyssi, Duw 'r holl gyssur, Eze 33. 11
Ddrwg farwolaeth vn pechadur,
Ond yn hytrach gwella ei fuchedd,
I gael bywyd a thrugaredd.

Trwy

Amos 4.10 Trwy 'r fâth glefyd blîn corphorol;
Rwyt im cofio môd yn farwol:
Mich.6.9. A thrwy flinder tost a thristwch,
Rwyt im gwawdd i edifeirwch.

Psal.6.1. Er im haeddu dy ddigofaint,
A'th lidawgrwydd tost yn cymmaint,
Arglwydd grassol na cherydda
Fi â'th lid a'th gerydd mwya.

Mae dy faethau gwedi 'nghlwyfo
Mae fy efcyrn gwedi briwio,
Mae fy yfpryd gwedi gryddfu,
†Tyred. Arglwydd † dere im diddanu.

Tydi 'm clwyfaist am fy mhechod,
Minne haeddais hyn o drallod:
Nid oes neb fy Nuw am hynny.
Ond Tydi all fy ngwaredu.

1Sam.2.6. Tydi fy'n lladd ac yn bywhau,
Hos.6.1. Tydi fy'n clwyfo a iachau,
Yn dwyn i'r Bedd, yn adgyfodi,
Yn trugarhau, ac etto 'n cofpi.

Tydi o Dduw fy'n danfon clefyd,
Tydi yn unig all rhoi iechyd:
Nid oes neb all llaefu nolur,
Ond tydi, na rhoi im gyffur.

Er dy fwynder a'th drugaredd,
Er dy Enw a'th Anrhydedd,
Madde mhechod: llaefa nolur:
Gwared f'enaid: rho im gyffur.

Oni phwyntiaist fy marwolaeth,
A diweddu fy milwriaeth,
Arglwydd llaefa ar fy mlinder,
A rho immi beth efmwythder.

Dymchwel

Dymchwel Arglwydd im diddanu,
O fy Nuw pa hyd y Sorri ?
Gwel fy mhoen, a chlyw fy nghwynfan,
Tro dy lid, iacha fi weithian,

Cweiria 'ngwely yn fy nghyftydd,
Tro fy nhriftwch yn llawenydd,
Rhwyg fy fâch, a fŷch fy Neigrau,
Llaefa mhoen, iacha noluriau.

Maddeu mhechod, Torr fy nghlefyd,
Tynn fi o'r ffoes a rho im iechyd,
Fel y gallwyf dy glodforu,
Yn fy mywyd âm holl allu.

Yn y Bedd, oh Dduw! pwy 'th goffa ?
Yn hîr Angeu pwy 'th glodfora ?
* Sparia mywyd Arglwydd graffol,
I'th glodforu gydâ 'r bywiol :

*Arbed. Pfal. 30. 9. 12.

Felly canaf itt' yn hyfryd,
Glôd a moliant am fy mywyd:
A thro ynof rym a chwythiant,
Mi ddatcanaf dy ogoniant.

*Rhybydd ir clâf wneuthur ei wllys mewn pryd, a dofparthu ei bethau mewn ofn Duw.*

ONi wnaethoft etto d'wllys †
Dôd dy dŷ mewn trefn weddys :
Dofparth d' olud megis Chriftion,
Yn griftnogaidd ac yn union.

† *Llythyr cymmun.* Efay. 38. 1

Cais gan Dduw ei nefawl yspryd,
I roi itti lawn gyfrwyddyd,
I gyfrannu d' olud bydol,
Yn ôl gwllys dy Dâd nefol.

Act.7.59. †Rho dy enaid bach i'th Brynwr,
† Os buost Christ a'i pie, dy Iachawdwr;
fyw yn Rho dy gorph ir ddaer lle casad,
dduwiol, fe Hyd nes delo 'r adgyfodiad.
dderbynnir
dy enaid ir Tynn fel *Jacob* ddefaid Laban,
nef: ond A dâ eraill, o'th ddâ allan;
nis gwneir Rho i bôb dŷn ei iawn eiddo,
felly, os Tâl dy ddyled cyn ymado.
marw a
wnei di yn
annuwiol. Na ddôd geiniog yn dy 'wllys,
Mat.7.21. O ddâ eraill yn gamweddys,
Rhuf.13.7 Rha geu taflu yn dy ddannedd,
O flaen Duw, ar ddydd dy ddiwedd.

Ac na chytcam er dy fywyd,
Roi i'th blant anghyfiawn olud:
Ni wna hynny ond eu hela,
I gyrwydro a chardotta.

*Treisiad. Er na feddech ond tair * anner,
I roi rhyngthynt trwy gyfiawnder:
Gwell y llwydda hynny i'th Eppil,
Nâ thrwy gamwedd pe rhoit dair-mil.

2 Bren.9. Gwell y llwyddodd Rhan-dir *Abram*,
Gen.30. Nag y llwyddodd teyrnas *Joram*,
Gen.31. A'r gohilion y gas *Jaco*,
*Ddisa. Nâ phraidd *Laban* gwedi * hyssô.

1 Bren.21. Fel y bwyttodd Gwinllan *Naboth*,
Deyrnas *Ahab*, a'i holl gyfoeth:
Felly bwytty 'r geiniog sceler,
Faint y feddech trwy gyfiawnder.

Ceiniog ddrwg pwy bynna caffo,
Sydd fel gwartheg truain *Pharo*,
Rhai fwyttaffant ei ddâ tewon,
Heb fôd llawnach eu colyddion;

Rho

Rho gan hynny 'r hyn sydd union,
Rhwng dy blant, a'th ffrins, a'th weision:
Ac na chytcam er dy fywyd,
Roi i neb anghyfiawn olud.

Fel y llwyddodd Duw y Manna, Exod. 16.
Toes y weddw o Sarepta, 1 Bren. 17.
Olew 'r weddw dlawd a'i meibion,
Felly llwydda 'r gronyn cyfion.

Rho i *Isaac* dy etifedd, Gen. 25. 5, 6.
Ei 'difeddiaeth yn ddi-duedd:
A rho ir lleill o'th blant o bob-tu,
Fôdd i fyw yn ôl dy allu.

Rho i'th wraig ei chyflawn drauan,
Na ro iddi lai nâ'i chyfran;
O rhoi chwaneg, mae yn rhygil,
Fôd y fâth yn nafu 'r Eppil.

Nâd wâs ffyddlon heb ei wabar,
Rho i'th Gâr tlawd help ar heinar:
Nâd dy weithiwr heb ei gyflog; Jac. 5. 4.
Crio 'n dôst y wna 'r fâth geiniog.

Cofia 'r sengyl, cofia 'r Eglwys,
Cofia 'r *Coledg a'th † fanteiniwys; *Ysgoldai † Cyboeliodd.
Cofia 'r wlâd a'r dref ith faccer,
Or bydd gennyd fôdd a phwer.

Os goludog wyt heb Eppil,
Ac yn caru Christ a'r 'sengyl,
Adail ysgol rŷdd yng-Hymru,
† Lle mae eisie. Dysc sy'n methu. † sef eisieu ysgolion.

Cofia *Joseph* sy'n y carchar,
Rho beth help i borthi *Lazar*; Luc. 19. 8.
Rho y nawr dy rôdd tra gallech,
Dymma 'r rhodd ddiwetha roddech.

Maint y roech i'th blant a'th drasse,
Dy wraig, a'th blant, a'th ffrins a'i pie;
Y maint y roech ir tlawd a'r truan,
*Trysori.* *Storio 'r wyt i ti dy hunan,

*†Nid oes dymchwelyd o'r pwll i wneuthur iawn ir rhai a orthrymmwyd ond mae dymchweliad oddiyno i gael barn.*

Doro 'n ôl yr hyn a dreisiaist,
Gwna iawn dâl ir rhai orthrymmaist:
Tâl dy ddyled cyn dy symmyd,
Yn y pwll † nid oes dymchwelyd.

Doro 'r Badell, Doro 'r Crochan,
Doro 'r tai, ar Tir a'r Arian,
Yn eu hôl ir rhai au pie,
Rhag dy fynd ir didrangc boene.

Nâd i dyddyn y dŷn gwirion,
Rhwn y dreisiaist yn anghyfion,
Beri itt' golli teyrnas nefol;
1Cor.6.9. Rho ei dyddyn yn ei wrthol.

**Ti elli wneuthur iawn i ddyn am a dreisiaist oddiarno.*

Nawr di elli megis *Zache*,
*Wneuthur iawn am dy droseddeu:
Yn y pwll ni bydd i'th bwer,
Dalu 'r hatling pan gofynner.

Preg.9.10 Praw gyttuno â'th Wrthnebwr,
Cyn dy fynd o flaen y Barnwr,
Mat.5.25. Rhag dy droi ir † dwngeon isaf,
*†Carchar.* Lle rhaid talu 'r hatling eithaf.

*Dyn di-gred. *Nawr ni fynny mwy na * Phagan,*
*Ddilyn cyngor Christ ei hunan:*
*Ond di fwytty Gîg dy freichieu,*
*Eisieu ei ddilyn cyn mawr ddyddieu.*

 *Pa Sawl mîl sy'n bân uffernol?*
*Eisieu rhoddi trais yng-wrthol,*
*Rhai y roddent heddyw 'r holl-fyd,*
*Iawn.* *Yn * sarhâd ir tlawd pe's cymryd.*

O

Os yn erbyn *Duw* y pechu,
Di gei † bardwn ond 'difaru: † *Maddeuant.*
Os yn erbyn dyn ni fadde
*Duw*, nes caffo 'r tlawd a ddlye.

Os bu farw 'r rhai a dreisiaist,
Rho i plant y maint y * sclisfiaist: * *Yspeiliaist.*
Ac os aethont o'r wlâd allan,
Rho eu rhan ir tlawd a'r truan.

Na ro rhwng dy blant yn angall,
Y peth a bie vn dyn arall:
Ni wna hynny ond dy ddamnio,
A throi d'eppil i gyrwydro.

*Na rô rhwng dy blant trwy wllys,*
*Ddim ennillaist yn gamweddys,*
*Trwy * Vsuriaeth, trais, neu ffalstedd;* * *Occr.*
*Drwg y llwyddant yn y diwedd.*

† Marca blant yr occrwyr mawrion, † *Crassaur.*
A'r gorthrymwyr, a'r carn-lladron,
Yn ceiniocca mewn eglwysydd,
Ac yn dwyn y † waled beunydd. † *Cwd.*

Felly tygfydd i'th blant dithe,
O rhoi iddynt ddâ * annife; * *Drwg.*
*Os fe ddial Duw yn rhigil,* 1 Thess. 4. 6.
*Drais ar dadau, ac ar eppil.* Exo. 20. 5.

Dôd di ofan *Duw* gan hynny,
O flaen d'wyneb wrth ddosparthu:
Rho i bôb dyn ei ddâ cyfion,
Rhanna 'r cwbwl lle bo achosion.

*Duw a roddo it' gyfrwydd-deb,*
*Ac a'th nertho' wneuthur d'atteb:*
*Duw a'th gatwo rhag camsyniaid,*
*Duw fo ceidwad ar dy enaid.*

*Llythyr yr Anrhydeddus* Syr Lewis Mansel *o Fargam yn shir Forgannwg* (fel yr ydys yn tybied) *at Ficcer* Prichard.

Gŵr wŷf yn dioddef maethgen:
Rhyw bendro dôst sy'm talcen,
Ys amser hir (yr Arglwydd hael,)
Heb allel cael ei orphen.

Ceisiais gyngor, a pharactys
Doctoriaid, Gwŷr synhwyrus,
I geisio help; nid llai fy mloedd,
Er mynd dros foroedd trwblus.

*Pan ffaelodd llês corphorol,*
*Rwi 'n danfon at wŷr duwiol,*
*Eglwysig, call, dros Dîr a Môr,*
*I geisio Cynghor hollol;*

*I Ddysgu p'un mae 'r Hael-dad,*
*O ddigter, neu o gariad,*
*Yn danfon ar ei Bridwerth blâ,*
*Rhyw groes neu boensa irad.*

---

*Atteb, Addysg, cynghor, a chyssur Ir Anrhydeddus* Syr Lewis Mansel *o Fargam, yn ei Glefyd; yr hyn all fôd yn fuddiol i bob dyn duwiol, yn ei glefyd a'i adfyd.*

Anwyl Gristion clywais ddywedyd,
I *Dduw* ddanfon arnad glefyd,
Ac na wyddost p'ûn o gariad,
Ai o gâs yr helodd attad.

Rwi 'n dy Atteb mewn byrr eirie,
Ac yn † maneg itti 'n ole,
Nad o * gerydd, ond o gariad,
Y rhows *Duw* ei wialen arnad.

† Mynegi.
* Ddigofaint.

Nid

Nid dy Elyn sy'n dy faeddu,
Dy Dâd graslol sy'n dy ddysgu,
Trwy ddarostwng dy gnawd diraid,
Fel y galler cadw d'enaid.

Nid yw'r clefyd hwn ond Cennad,
Helodd Christ dy Brynwr attad,
I †dreio 'th ffydd, a'th hîr amynedd, †*Brofi.*
A'th rybyddio am dy ddiwedd.

Derbyn Gennad *Duw* 'n resawgar,
Ymddwg dano yn ddioddefgar;
A rho ddiolch o wraidd calon,
Ith Dâd nefol am ei ddanfon.

Ni wna 'r clefyd niwed itti,
Mwy nâ'r † pwrg sy'n carthu 'r geri; †*Physy-gwriaeth.*
Ni wna * hindrawns, ond dy buro, **Rhwystyr*
I gael oes o newydd etto.

Ni bu gwîn erioed heb waddod, 1 Joan 1. 8.
Ni bu Aur erioed heb Sorod,
Ni bu wenith heb ei fascle,
Ni bu ddŷn ond ûn heb feie.

Yr oedd *Adda* hên â'i bechod,
*Lot* â'i loscach, *Noah* â'i feddwdod,
*Moses*, *Aaron* â'u camwedde, Num. 20. 12.
*Peder*, *Paul* â mîl o feie.

Gwybydd dithe 'r marchog hyfryd,
Er * hygared yw dy fywyd, **Caruei-dded.*
Nad wyd heb ryw fai ith Ddible,
Cans dŷn wyt, er maint yw 'th ddonie. Psal. 19. 12

*I nithio d'ûs, i doddi 'th † Sorod,* †*Ammhu-redd.*
*I wella 'th fai, i dynnu 'th waddod,*
*I ddofi'th gnawd, i nerthu d' yspryd,*
*Y danfonodd Duw dy glefyd.*

 Nid

†*Gwaethygu.* Nid ith † waethu, ond ith wella,
Nid i'th saeddu, nac ith ddifa:
Ond ith ddyscu a'th gyfrwyddo,
Y mae 'r Arglwydd yn dy daro:

Er troi heibio fydol foethau,
A gwir hoffi nefol ddoniau,
Casau 'r bŷd a'r maint sydd ynddo,
A dilyn Christ â'th draed a'th ddwylo.

Rho fawr foliant prûdd gan hynny,
Ith Dâd nefol am dy ddysgu,
Heb. 12.5. Rhwn sy'th wneuthur trwy serchogrwydd,
hyd. 11. Di 'n gyfrannog o'i Sanctciddrwydd.

Y nêb a garo Duw fe'i cospa,
Pôb Mâb anwyl fe'i ffonnodia:
Y dŷn ni chospo Duw ei bechod,
Bastard yw, nid mâb o briod.

Mae Duw 'n cospi 'r thai anwyla,
A rhyw groes neu gilydd ymma;
1Cor 11.32 Rhag eu myned yn ddamnedig,
Gydâ phlant y bŷd gwrthnyssig.

Nid glân gwenith nes y nithier,
Nid gwynn cambric nes y golcher,
Psal 119. Nid pûr Aur côch nes ei doddi,
67,71. Nid da Christion nes ei gospi.

‖*Frankincense.* Ni rŷ 'r Grawn wîn, nes eu gwascu,
Ni rŷ 'r ‖ Thus † Sent, nes ei sygu,
†*Arogl.* Ni rŷ 'r * Fflint dân, nes y ffyster,
**Carreg galed.* Na dŷn ffrwyth da, nes cystyddier.

Y clôfs a 'rogla 'n well o'u pwnian,
†*Winwydden.* Y † vine y danna 'n well o'i chroppian,
Y Palm y dŷf yn well o'i blygu,
A'r dŷn y tydd yn well o'i saeddu.

Pa fwya fanger ar y Ganmil,
Mwya 'rhogla ei gwynt yn thigil:
Pa fwya gwafcer ar y Chriftion,
Mwya fydd ei ffydd ai ofon. 1 Pet. 1. 6, 7, 8.

Yftyr, mai er llefsiant itti,
Y mae 'r Arglwydd yn dy gofpi:
Ni pheru 'r côfp ond ennyd fychan,
Fe beru 'r llês dros hîr oes gyfan.

Na wan-ffyddia yn dy glefyd,
Yn llaw Dduw y mae dy fywyd:
Fe rŷ oês a iechyd etto,
* Ac efmwythder ond ei geifio. *fef o bydd ef yn gweled hynny 'n dda iti.

Cymmer gyffur, côd dy galon,
Ymwrola, bydd * obeith-lon: *Gobaith-lawn.
Fe ddaw Chrift â help ar fyrder'
Ac y laefa d'anefmwythder.

Y llaw 'th drawodd, honno 'th helpa, Hof. 6. 1.
Rhwn a'th glwyfodd a'th elia:
A'r nêb helodd attad glefyd,
Hwnnw tynn gan roi itt' iechyd.

Galw am help ar Dduw dy geidwad,
Dy Dâd yw, fe wrendy arnad:
Cais ei gymmorth, ac fei dyru, Mat. 7. 7.
Llef yn daer, ni feder ballu.

Pa beth bynnag yw dy glefyd,
F'all ei laefu a'i ddiffoddyd:
Cais ei gyfnerth, ac fei llaefa,
* Tryfta ynddo, ac ni'th dwylla. *Ymddiried.

Onis llaefa 'r awr y mynnech,
Pwylla, aros, dan dy ortrech:
Fe ddaw help o'r nêf yn dambaid,
Pan bo gwell ar lês dy enaid.

Ni chei aros awr ym-hellach,
Yn dy glefyd, na mynd glafach,
Nag y gwelo Duw 'n anghenrhaid,
Er llesâd i'th gorph a'th enaid.

Godde ronyn bach o gystydd,
Di gei gwedyn hir lawenydd:
Bydd ddioddefgar nes y delo,
Dy gei oes o newydd etto.

Rhwn a nerthodd *Job* mor hygar,
Ddwyn ei glefyd yn ddioddefgar,
Nerthed dithe â'i lân yspryd,
Mor ddioddefgar ddwyn dy glefyd.

Luc. 22. 43 A'r hwn helodd vn o'i Angelion,
I gymfforddi' sâb wrth *Cedron*,
Helo o'r nêf ei Angel hyfryd,
I'th gymfforddi yn dy glefyd.

Dy roeist Siampl dda 'n dy iechyd,
Inni fyw mewn buchedd hyfryd:
Rho ini etto Siampl hygar,
I ddwyn clefyd yn ddioddefgar.

Godde 'ch nefawl Dâd dy drinio,
Godde dynnu 'r draen sy'th bigo,
Godde wascu 'r crawn lloscedig,
Carthu 'r clwyf, a sugno 'r yssig.

Godde i Grist gael tynnu 'n gwbwl,
Gol y Sarph sydd yn dy sowdwl,
Rhag i'r gwenwyn ddrycha ir galon,
* Llygru. Ac * inffecto 'r enaid gwirion.

† Ofalus. Mae Duw 'n † garcus iawn am danad,
Psal. 121. 3 Gwell it' odde loes nâ bagad:
* Lanhau. Mae 'n dy *bwrgio nawr trwy gystydd,
I gael iechyd yn dragywydd.

Mae

Mae 'n dy wneuthur ymma 'n addas,
I gael rhan o'i nefol deyrnas,
Mae e'n carthu 'r holl ddrygioni,
Sy'n dy rwystro i wîr oleuni.

Rwyt ti 'n ûn o fain y Demel,
Rhaid dy naddu gid wrth † lefel, † Rheol.
Rhaid ir mwrthwl dy lwyr * bario, * Rhagdorri.
Os yn y nef y mynny drigio.

Rwyt ti 'n wenith ir gorucha, Mat 3 12.
Rhaid dy ddyrnu tra fech ymma,
Tynnu 'r ûs a'r col oddiwrthyd,
Cyn bech i Grist yn fara hyfryd.

Di gest lawer o felysder,
Ar law Dduw er dechre d'amser : Job.2. 10.
Rhaid ir * dasto peth o'r chwerw, * Profi.
Gydâ 'th Brynwr cyn dy farw.

Yf o'r cwppa chwerw lymmaid,
Yfodd Christ o'th flaen ei lonaid ;
F'orfydd ar bôb Gwâs ei dasto ;
Nid yw 'r disgybl well nâ'i Athro.

*Cofia i Grist dy Brynwr odde,*
*Dros dy bechod di a minne,*
*Fwy o flinder, Ing, ac yssig ;*
*O! goddefwn ninne 'chydig.*

Ystyr nad oes Sanct yn gorphwys,
Mewn gogoniant ym-mharadwys,
Na ddioddefodd fwy o gystydd ;
Goddef dithe, a bydd lonydd.

F'orfu ar *Abel* odde ei fraeni,
F'orfu ar *Joseph* odde ei werthi,
F'orfu ar *Esay* odde ei lifo,
Cyn cael mynd i'r nêf i * dario. * Trigo.

*Labyddio. F'orsu ar *Stephan* odde ei * bwniau,
† Bobi. F'orsu ar *Lawrens* odde ei † frwylian,
F'orsu ar *Jago* odde ei wanu,
Act. 12. 2. Cyn cael nefoedd i meddiannu.

Joan. 21. 18, 19. F'orsu ar *Beder* odde ei hoelio,
F'orsu ar *Barthlom* odde ei flingo,
F'orsu ar *Ifan* odde ei ferwi,
Cyn cael mynd at Dâd goleuni.

*Nid oes un yn credu 'n gywir,*
Act. 14. 22. *Yn Ghrist Jesu, hyn sydd siccir,*
*Nad rhaid iddo odden 'n rhyw fodd,*
*Gystydd mawr cyn mynd i'r nefoedd.*

Nid aer o'r Aipht i Ganaan hyfryd,
Ond trwy 'r môr a'r mynydd tanllyd,
Nid aiff neb ir nêf i daring,
Mat. 7. 13. Ond trwy 'r porth a'r llwybyr cysyng.

*Mae'n rhaid dwyn y groes yn gynta,*
*Cyn cael dwyn y Goron benna:*
☞ *Ni ddarllenais yn fy oes,*
*Gael y Goron heb y groes.*

Mat. 16. 24 Dwg dy groes fel Milwr ffyddlon,
Di gei gwedyn ddwyn y Goron;
Cyd-ddioddef gydâ 'r Iesu,
2 Tim. 2. 12 Di gei gwedyn gyd-deyrnasu.

Na chais nefoedd ar y ddaiar,
Na chais wyn-fyd yn rhy gynnar,
* Di-loes. Na chais Iechyd *di-drangc* * dewlwys,
Nes y delech i Baradwys.

Ni chair melus heb y chwerw,
Ni chair gwyn-fyd nes i'n farw:
Ni chair Coron heb y groes,
Ni chair nefoedd heb ryw loes.

Ni

Ni chas un or * Patriarcciaid,
Na'r prophwydi, na'r † Merthyriaid,
Na'r 'postolion, nâ'r Messiah,
Fynd o'r bŷd heb lawer gwascfa.

Na chais dithe fy anwylddyn,
Gael y peth nas cafas undyn:
Ond || ymddoro yn ddi-drydar,
Ddwyn dy ddolur yn ddioddefgar.

Cofia i Grist dy Brynwr odde,
Mwy o flynder am dy feie:
Cofia ei groes-hoelio drossot,
Di anghofi 'r loes sydd ynot.

Ac na feddwl nad o gariad,
Y rhows Duw y clefyd arnad,
I'th suwrhau dy fôd yn vn,
O'i † ddetholedig blant ei hun.

*Cofia fôd pob peth yn gweithio,*
*Ar y goreu ir dyn y gretto,*
*Hyd yn oed ei glwyf a'i glefyd,*
*A'i golledion, a'i holl adfyd.*

*Cofia hefyd nôs a boreu,*
*Nad all croes, nac Ing, nac Angeu,*
*Na dim arall ein gwahanu,*
*Oddiwrth gariad Duw a'r Jesu.*

'Rhwn a gododd ei ffrynd *Lazar*,
Yn iach o'r bedd dan y ddaiar,
Hwnnw 'th gotto yn iach lawen,
O'th glâf wely 'n wŷch drachefen.

Rhwn a spariodd Fywyd *Isaac*,
Gwedi offrwm ar ben *Moriac*;
Hwnnw spario 'th fywyd dithe,
Etto ennyd o flynydde.

* *Vcheldadau.*
† *Tystion Christ.*
|| *Tmegnia.*
† *Ni ddichon dyn sicrhau ei hun, i fod ef yn blentyn i Dduw oddiwrth ei gystyddiau, onid oes ynddo ef hefyd y nodau eraill, y rhai a ddywedir yn y Scrythur eu bôd ymmhlant Duw; megis, calon ddrylliog am bechod, ffydd yn Grist, newydd-deb buchedd, cariad at Air a phobl Dduw, a'r cyfryw*

Rhwn a helodd gynt *Esaias*,
I Iachau clwyf *Hezekias*;
Hwnnw helo o'r nêf Angel,
I iachau Syr *Lewis Mansel.*

*Rhessymmau yn cyffro 'r claf i fod yn ddioddefgar.*

ONi bae fod yn anghenrhaid,
Dofi 'r corph i wella 'r enaid,
Ni ddanfonei Dduw glefydion,
Byth ar vn oi anwyl feibion.

Yr oedd Duw yn gweled d'enaid,
Yn glaf iawn o bechod diriaid;
Nid oedd lûn i gadw ei fywyd,
Nes dy gospi â'r sâth glefyd.

Oni basse 'r cwppa chwerw,
Fe allasse d'enaid farw,
† Edifaru. Yn ddisymmwth heb † repento,
A mynd dros fyth i boenydio.

*Tôst. Trwy gystydd corph, a chlefyd * diriaid,
Psal. 119. 67,70. Y mae Duw 'n iachau dy enaid;
Ac yn d'arwain trwy ddifeirwch,
At dy Grist i gael ei heddwch.

Trwy glefydion mae Duw 'n tynnu
Dyn, i geisio cymmorth Jesu,
A gwir iechyd idd ei enaid,
Rhag ei fynd i vffern embaid.

A chlefydion bâch amserol,
Ma'e 'n rhag-achub poen tragwyddol;
Ac wrth gospi 'r corph mor ddiriaid,
*Yr enaid grassol. Dofi 'r cnawd, a * chadw 'r enaid.

Nid

Nid clefydion ond dialau
Blin, a haeddodd dy bechodau:
Dwg gan hynny yn ddioddefgar,
Y fâth glefyd cruaidd hygar.

Fe allasse dorri d'wddwg,
Am dy fuchedd oedd yn cynddrwg,
A'th roi i vffern i boenydio,
Heb roi amser itt' repento.

Rho gan hynny yn ddiwegi
Ddiolch iddo am dy gospi,
Lle gallasse dy lwyr ddifa,
A'th roi † Frwylian yn Gehenna.

† *Losci yn vffern.*

Fe allasse *Dduw* dy roddi,
Dan law Gelyn câs i'th gospi,
Ble mae 'n rasol iawn yr-wan,
Yn dy gospi â'i law ei hunan.

Nid yw'r Arglwydd yn dy blago,
Megis gelyn i'th andwyo,
Ond yn dirion yn dy faethddryn,
Megis Tâd yn trîn ei blentyn.

† Er bôd d' Arglwydd yn dy faeddu,
Mae er hynny yn dy garu:
Pôb gwialennod ag a roddo
Sydd fel plaster i'th elio.

†*Os credadyn edifeiriol vfyddwyt ti, mae* Duw *yn dy garu di â chariad o hyfrydwch; os drwg ddyn â chariad o dosturi: ac felly, oherwydd cynddrwg yw'th gyflwr trwy bechu, y mae* Duw *trwy glefydion, megis trwy amryw foddion eraill, yn ceisio 'th droi di atto ei hunan, gan dosturio wrth dy enaid, ac felly yn ceisio 'th wella, fel nad elot i vffern. Os caledi dy galon a wnei di fel* Pharo *dan farnedigaethe* Duw, *gan esceuluso credu yn Grist, ac edifarhau am dy bechod, a throi oddiwrthynt hwy, heb ofal gennit i fyw yn dduwiol, yn sobr, ac yn gyfiawn, yna disgwyl am ddigofaint a dialeddau y fo arnwy yn y byd hwn,* Lev. 26. 18. *Ac os arbedir y cyfryw bobl ymma, bydded hyspys iddynt hwy, na ddihangant hwy ddim o ddialedd* Duw *yn y byd y ddaw.* 1 Thess. 5. 3.

Ni ry *Duw* ſydd mor ddaionus,
Na'th Dâd nefol ſydd mor * garccus, *Ofalus.
Gleſyd arnad na chaledi,
Na wnel itti fawr ddaioni.

Fe wyr *Duw* beth yw dy ddolur,
Dy rym, dy rytt, dy naws, dy nattur;
Fe rydd dy groes, yn ol dy gyflwr,
*Ni bydd dy bwnn vchlaw dy gryfdwr.*

Er bôd Aloes yn beth chwerw,
Mae e'n achub dyn rhag marw:
Er bod cleſyd yn dy flino,
* Mae 'n dy achub rag dy ddamnio. * *Sef os edifarhei di* Luc. 13. 5.

Y mae miloedd yn † Gehenna, † *Vffern.*
Rhai a ddwgent fwy o boenfa,
Dros fil filoedd o flynydde,
Pe caent rydd-did o'u poenydie.

Rho gan hynny yn ddiwegi,
Ddiolch i Dduw am dy goſpi;
Llei gallaſſe dy lwyr ddifa,
A'th roi * frwylian yn Gehenna. **Llosci yn vffern.*

Arwydd têg o'i râs a'i ffafar
Yw cael côſp trwy gleſyd hygar,
Sydd yn gwneuthur dŷn yn barod,
Cyn yr êl o flaen y Drindod.

Cleſyd ſydd fel chwip i'th goſpi,
Nid ſel cledde llym i'th dorri;
Swmbwl awchlym i'th ddihuno,
Ac nid bwyall i'th ddiſtrywio.

Ffuſt i ddyrnu ffwrdd dy ffwlach,
*Ffann i nithio dy holl ſothach, **gwyntyll*
Ffwrn i buro dy amrhyddion,
Chwip i'th goſpi yw cleſydion.

Nid

*Nid da mêl i'r llawn digonol,*
*Nid da gwynfyd i'r annuwiol,*
*Nid da Gwîn i'r poeth ei † golydd,* † *Cylla*
*Nid da iechyd i'r anufydd.*

Nid oes arnad gymmaint ddolyr,
Ag a fu ar rai o'th frodyr
Sydd yr-wan mewn esmwythder,
Yn y nefoedd gwedi 'r blinder.

Bu ar *Lazar* glefyd flinach,
Bu ar *Job* ddoluriau drwmmach,
Bu ar *Grist* ei hun swy flinder,
Maent yr-wan mewn esmwythder.

Ac os tithe fydd ddioddefgar,
Fe ry Duw itt' hyn o ffafar;
Fe wna naill a llaesu 'th flinder,
Ai fe'th gymmer i esmwythder.

## *Ymddiddanion cyssurus rhwng y clâf Duwiol a'i enaid yn erbyn ofn Angeu.*

O Fy Enaid pam yr ofni
Fynd at *Grist* a fu 'n dy brynu,
Ag a gollodd waed ei galon,
I'th ryddhau o law d'elynion?

*Pam yr ofni fynd i'r nefodd,
Lle mae Christ yr hwn a'th brynodd,
A'th Dâd nefol, a'r glân yspryd,
A'r holl Sainct mewn braint a bywyd?

** Ni ddichon y dyn drwg ddywedyd fel hyn wrth ei enaid, o herwydd os bydd efe marw yn ei bechod, heb ffydd ac edifeirwch, ni chaiff ef fyned i'r nefoedd,* 1 Cor. 6. 9, 10. *ac am hynny tra fo efe yn aros ac yn byw yn ei bechodau heb droi oddiwrthynt y mae gantho achos i ofn i. Edifarhâ gan hynny, bydd ddyn newydd grasol, gan ymheddychu a* Duw *trwy* Grist, *ac yno ti elli ddywedyd, O fy enaid pam yr hofni? &c.*

Mac

Mae fy Mlaen i yno eusiwys,
Am Jachawdwr 'rhwn am prynwys:
Christ tynn finne d'aelod attad,
Er anhawsed gennif ddwad.

Oh! fy Enaid cwyn dy galon,
Pam ir ofni mor echryslon?
Gwel Fab Duw, ai waed, ai weli,
A dynnodd ffwrdd oedd raid itt' ofni.

Oh! fy enaid gwel dy Brynwr,
Gwêl dy Geidwad a'th Jachawdwr,
Gwêl dy Bardwn, gwêl dy Artre,
Gwêl y nef a'r hwn a'th bie.

Oh! nac edrych ar dy bechod,
Gwel yr Oen a Laddwyd drossod:
Ac nac ofna wedd y Barnwr,
1 Io. 1. 1. Christ ei fâb yw dy Ddadleuwr.

Ac nac ofna'r Angeu melyn,
Christ a dynnodd ffwrdd ei golyn:
Ni all Angeu ond dy symmyd
1 Cor. 15. 55. 57. O'r bŷd hwn i dir y bywyd.

Luc. 16. 22 Nac arswydda rythreu Satan,
*I ddisgwyl wrthyt. Gwel Angelion Duw * i'th waetan,
A Christ Jesu â saith llygad,
Ddydd a nôs bob awr i'th wiliad.

Ac nac ofna 'r Bedd llydylyd,
Gwely Christ yw hwn f'anwylyd,
Y mae 'r Prynwr gwedi dwymo,
I bob Cristion nes cyfotto.

Na wna bris o vffern boenau,
*Agoriadau. Gwêl gan bwy y mae 'r * allweddau,
Datc. 1. 18 Gan dy Grist y mae cadwriaeth
Allwedd vffern a marwolaeth.

Oh

Oh! gan hynny cwyn dy galon,
Pam ir ofni mor echryslon?
Gwel fâb Duw a'i waed a'i * weli, *ai glwyfe
Fe dynnodd ffwrdd oedd raid itt' ofni.

Cymmer gyssur, cwyn d'olygon,
Dring vwch law pob daiarolion;
Gwel y nef a brynwyd itti,
A'r Difeddiaeth sydd itt' ynddi.

Gwel dy orsedd, Gwel dy goron,
Gwel dy † Balme, a'th wiscoedd gwynion, 2 Tim. 4. 8.
Rhai a brynodd Mâb Duw itti, Datc. 7. 9.
Fry yn nheyrnas y goleuni. †Palmwydd i arwyddhecau buddugoliaeth.

Gwêl dy Grist a'i holl Angelion,
Gwêl y Sainct a'r holl rai cysion,
Yn dy ddisgwil ddwad attyn,
Ac yn barod bawb i'th dderbyn.

Gwêl dy delyn, Gwêl dy † feiol, † Math o offeryn cerdd.
Gwêl dy wers a'th ganiad nefol,
Fry yn disgwil fynd i ganu,
I'th Jachawdwr am dy brynu. Dat. 15. 3.

Llêf gan hynny am d'ymddattod,
I gael mynd at Grist dy briod, Phil. 1. 23.
O garchardy 'r corph a'th lygrwys,
I gael trigo ym Mharadwys.

Lle mae Duw a'i holl Angelion,
Christ a'i Sainct a'i Apostolion,
Mewn Gogoniant a Rhialtwch,
Yn teyrnassu mewn dedwyddwch.

Nid oes yno ddim Anghyssur,
Poen, na chlefyd, cwrp na dolur, Dat. 21. 4.
Na marwolaeth na dim tristwch,
Ond llawenydd a dedwyddwch.

Oh hiraetha am gael hedſan,
I'r wlâd lawen hon yn ſuan,
At dy Brynwr Chriſt a'ch Briod,
Mae dy Neithor yndi 'n barod.

O ſy Enaid meddwl dithe,
Am dy 'mdrwſſio yn dy dlwſſe,
I fynd o flaen Chriſt yn addas,
Yng wiſc ſanctaidd y briodas.

Zech.13.1 Golch dy hun yn ffynnon Dafydd
*Gwaed *Gwaed yr Oen, a deigreu cyſtydd;
Chriſt yn Ymlanhá mewn gwir ddiſeirwch,
unic ſydd Ffydd yn Ghriſt, Gwiriondeb Heddwch.
*yn glanhau dyn oddiwrth ei bechodau; ond nid oes neb yn cael lleſâd oddiwrth ei waed ef, ond y Sawl ſydd yn credu yntho, ac ſydd yn alarus ac yn edifeiriol am eu pechodau, ac mewn pryſſurdeb yn ymroi i droi oddiwrth eu ffyrdd ddrygionus, ac i fyw yn ſanctaidd ac yn gyfiawn yn ol ei ewyllys ef; Er mwyn Chriſt na Thwyllwch eich hunain, trwy ddywedyd heddwch wrthych eich hunain pan nad yw Duw yn dywedyd felly.* Datc. 1.5. Rhuſ. 5.1. Act. 3.19. Mat. 5.4. Eſay. 55.7. Heb 5.9 Eſay. 57.21.

Gwiſc Sancteiddrwydd Chriſt am danad,
A'i Gyfiawnder yn lle trwſſiad;
Plêch dy wallt mewn grâs a gobaith,
*dy ddwy- Hardda 'th * freſt â chariad perffaith.
ſron.
Mat. 25. Cais dy lamp, a Nynn dy Ganwyll,
Dwg ith luſern olew didwyll:
Gwilia, Gwarchod, a Gweddia,
*Heppian. Nes dêl Chriſt, na chwſc, na * ſlwmbra.

Deffro, diſgwyl am dy Briod,
Llef am dano nes ei ddyfod;
Fel yr Hŷdd na orphwys freiſad,
Nes dêl Chriſt dy Briod attad.

Dywaid

Dywaid wrtho dere weithian,
Dere Arglwydd, dere 'n ſuan,
Dere Jeſu Griſt fy nghariad,
Dere, tynn fy enaid attad.

†I'th ddwy ddwylo Arglwydd hyfryd;
Yr wi 'n brudd yn offrwm f' yſpryd:
Cans ti prynaiſt, Duw 'r gwirionedd,
Dwg ef weithian i'th drugaredd.

† *Os credadyn edifeiriol ſanctaidd wyt ti, ti elli yn hyderus offrwm dy enaid i ddwylo Chriſt; canys fe a'i derbyn i'r nefoedd,* Act. 7.59. Luc. 23.43. Ond am y rhai ſy'n marw heb roi vfydd-dod i'r Arglwydd Jeſu, fe a ddywaid wrthynt hwy; ewch ymmaith oddiwrthif chwi holl weithredwyr anwiredd. *Luc.* 13.27,28, *Gair tôſt yw hwn.*

*Ymddiddan arall rhwng y clâf duwiol a'i enaid am ofni marwolaeth.*

*Holiad.*

O Fy Enaid dywaid immi,
Mewn pryſſurdeb, pam yr ofni,
Fynd at Griſt a'i wir Angelion,
O'r bŷd brwnt a'i holl drallodion?

*Atteb.*

*Tôſt a thrwm yw gorfod gadel*
*Gwraig a phlant, a ffryns a chenel,*
*Tai a Thir, a Da, a dodren,*
*Heb eu gweled mwy drachefen.*

O f'anwylyd cymmer gyſſur,
Di gae olud mewn mwy feſſur,
* Suwrach ffryns, a gwell cyfeillion, (* Siccrach.)
Gydâ Chriſt a'i wir Angelion.

*Os dy blant a ofna 'r Arglwydd,*
*A'i waſnaethu mewn Sancteiddrwydd,*
*Di gae weld dy Blant drachefen,*
*Mewn Gogoniant yn dra llawen.*

 Yn

Yn lle ffryns a mwyn gyfeillion,
Di gae 'r Sainct a'r holl Angelion,
I'th fawrhau a'th gywir garu,
A'th Blant eilchwaith i'th ddiddanu.

Gâd dy wraig, a'th Blant, a'th bobol,
*Cynbaliwr. Psal. 146. 9. I gadwriaeth dy Dâd nefol:
* Rhwyscwy 'r weddw, Tâd ymddifad
Yw'r Gorucha wrth ei Alwad.

Na wna bris am dan dy olud,
Nac o'r ddodren wael sydd gennyd:
Mae 'n y nef fwy ar dy feder,
†Yr hwn orchfygodd ac y feddiannodd rhan fawr o'r byd. Nag a feddodd † *Alexander*.

Na wna bris o'th neuadd lwydlas,
Mae 'n y nefoedd dai o * dôpas,
Gwedi Dduw o berls i gwneuthur,
Yn discleirio fel y gwydyr.

* Maen gwerthfawr. Na hiraetha am dy diroedd,
Na'th Berllanneu, nâ'th winllannoedd;
Mae 'Mharadwys dîr sydd deccach,
†Mwy hyfryd. Ffrwyth sydd well, a gardd † arausach.

*Gyfrif. Na wna * gownt am Aur nac Arian,
†I gerdded trosto. Mae 'n y nefoedd Aur iw † ddamsian,
Perls a Gemms yn gweithio 'r gwelydd;
Datc. 21. Aur yn pafio 'r holl heolydd.

Na wna bris am vn o'th swydde,
Mae 'n y nefoedd fwy o radde:
Dat. 1. 6. Y mae 'r gwaetha fyndi'n ffeiriad
Ac yn frenin mawr ei alwad.

Na wna bris am ddillad gwychion.
Dat. 19. 8. Mae 'mharadwys wiscoedd gwynion;
Yn discleirio ar dy gefen,
Mat. 13. 43 Mewn Gogoniant fel yr haul-wen.

Na

Na wna bris o'th fwyd newynllyd, Datc.22.
Mae 'mharadwys bren y bywyd;
Manna yn fwyd, '*qua-vita* † 'n ddiod, †*Dwfr y bywyd.*
Gwledd heb ddiwedd, oes heb ddarfod.

Na wna bris am ddim difyrrwch,
Rhwn sydd ymma 'n blaenu tristwch:
Mae 'n y nefoedd wir lawenydd, Psa.16.11.
Sydd yn para yn dragywydd.

Na wna gownt o ddim sydd gennyd,
Ond ymgweiria am dy fywyd,
Fynd yn rhwydd trwy lawn barodrwydd, Mat.25.21
I lawenydd Christ dy Arglwydd:

Lle mae mwy o wir esmwythder,
A dedwyddwch ar dy feder,
Nag all calon dyn chwennychu, 1Cor.2.9.
Nac vn tafod i fynegu.

Dôs gan hynny, dôs yn llawen,
Dôs at Ghrist, dy Ben, dy Berchen:
Gado 'r bŷd a'r maint sydd yntho,
Mam a thâd i fyned atto.

Yn lle 'r pethau darfodedig,
A † geist ymma gantho eu benthig, †*Gefaist.*
Di gae bethau na ddarfyddant, 1 Pet.1.4.
I Meddiannu mewn gogoniant.

Di gae iechyd heb ddim nychdod,
Ac esmwythder heb ddim trallod,
Gwir Lawenydd heb ddim tristwch,
Oes heb ddiwedd mewn dedwyddwch.

Ni chaiff clwys, na haint, na dolur,
Newyn, syched nac Anghyflur, Dat.21.4.
Trallod, Tristwch, ochain, wylo,
Nac vn gelyn mwy dy flino.

Di gae fyw mewn mawr Lawenydd,
A dedwyddwch yn dragywydd,
Ym-mhlith miloedd o Angelion,
I foliannu d' Arglwydd tirion.

†*Mintai o gantorion.* Datc. 19. 1 **hynny yw Molwch yr Arglwydd.*

Di gae eiste mewn † Côr auraid,
I glodforu 'r Oen bendigaid,
Ac i ganu * *Aleluia*
Yn dragywydd i'r Gorucha.

Pwy gan hynny na 'madawe,
A'r byd hwn, a'i boen, a'i bethe?
I fynd at ei Brynwr heddu,
O bae 'r Arglwydd yn cennadu.

Duw agoro dy ddau lygad,
I weld Teyrnas Christ dy Geidwad:
Duw ro ei yspryd i'th gyfrwyddo,
Ymbaratoi i fyned atto.

**Craffwch* ar y geiriau sef, duwiol farwolaeth: mae'r geiriau felly yn coppy Mr. *Prichard*; nid yw efe yn dywedyd fol y daioni hyn yn canlyn marwolaeth y rhai drwg.

†*To the Haven.*

*Agoriad byrr yn erbyn ofn Angeu: Ar daioni sydd yn dyfod oddiwrth* dduwiol farwolaeth.*

OH! na ŵyddad dŷn pa ddonieu
Sydd yn dwad oddiwrth Angeu;
Byth nid ofnei o'i ddyfodiad;
Ond fe lefe am ei ddwad.

Y mae Angeu 'n gwneuthur diwedd,
Ar ein cystudd a'n hanwiredd:
Ac yn dwyn o *Fôr trafferthwch*,
Ddyn † i'r *Porthladd* o ddedwyddwch.

Y mae Angeu 'n *tannu 'n gwely*,
Gwedi 'n trafferth inni gyscu;
Ac yn rhoddi *mawr esmwythder*,
Gwedi 'r trallod tôst a'r blinder.

Y mae Angeu 'n *claddu 'n beiau*,
Ein clefydion a'n doluriau;
Fal na ddichon pechod mwyach,
Nac vn clefyd flino mhellach.

Y mae Angeu 'n tynnu 'r cyfion, Esa.57.1.2
Lawer pryd *rhâg gweld trallodion*,
A ddigwydda yn dra rhigil,
Ar eu gwlâd ac ar eu heppil.

Mae e'n tynnu rhai gwirionnaid,
Sydd ymmysg câs bechaduriaid,
*Rhag ir rhain eu hudo i bechu*,
Ac i weithio 'r peth nas dyly.

Y mae Angeu 'n diosc dynion,
O'u *bên frattieu* sarnllyd brwnton,
I ddillattu 'r rhain yn helaeth,
Mewn *bardd wiscoedd* iechydwriaeth. Heb 12.23

Mae 'n *rhyddhau yr enaid* hyfryd,
O'r *carchardy tywyll* tomlyd,
I gael gweld *goleuni* 'r Arglwydd,
Ai wasnaethu mewn perffeithrwydd.

Y mae Angeu * toc yn dattod *Yn ebrwydd.
Enaid o'r corph caeth i bechod,
Ac heb aros yn cysylltu
Hwn, *â'i Briod* mawr *Christ Jesu*. Phil.1.23.

Y mae Angeu 'n tynnu dynion,
I'r *nef* olc at Angelion, 2Cor.5.1.
O'u tŷ candryll sydd ys dyddie,
Ym-mron cwympo ar eu penne.

Mae e'n tynnu *maes o Sodom*,
I'r mynydd-dir rhag y * Storom, *Tymmestl
Ac yn mynd o'r *Aipht i Ganaan*,
A'r rhai *duwiol* yn ddiofan.

2 Tim. 4. 6, 8. Y mae Angeu 'n tynnu dynion,
O'r byd hwn *i gael y Goron*,
A bwrcassodd Christ trwy Angeu,
*I'r rhai ffyddlon a'i gwasnaethen.*

Y mae 'n *tynnu dyn o'i ofyd*,
A'i drueni a'i drist fywyd,
I ogoniant ac hyfrydwch,
I gael byw mewn gwir ddedwyddwch.

Pwy gan hyn a ofna Angeu,
Sydd yn helpu dyn mor ddeheu,
I fynd allan o bôb trallod,
A'i † drof-glwyddo i lys y Drindod?

Gâd i'r * Pagans di-rinwedde,
Gâd i'r Twrcod ofni Ange:
Ond nac ofned vn † *gwir gristion*,
Fynd trwy Ange i gael ei Goron.

† *Ddwyn drosodd.* * *Digred.* † *Craffwch ar y geiriau gwir gristion.* Mat. 7. 21.

---

*Mawr glôd ddydd marwolaeth y cyfiawn.*

DYdd ein † *Jubil* a'n gollyngdod,
Dydd ein rhydd-did o bôb trallod,
Dydd sy'n gollwng ein eneidie,
O'r carchardy yw dydd Ange.

† *Jubili oedd pob degfed flwyddyn a deugain; yn y flwyddyn honno, yr oedd tiroedd yr Israeliaid a wystlwyd yn dyfod yn rhydd i'r perchnogion; Ac hwyntau eu hunain yn dyfod allan yn rhyddion oddi tan ddwylo eu meistred,* Lev. 25.

Dydd ein Neithor a'n Priodas,
A Christ Jesu 'r *gwir Messias*,
Dydd ein gwlêdd a'n * coronasiwn,
Yw 'n dydd diwedd os ystyriwn.

* *Dydd i gael y goron.*

Dydd

Dydd ſy'n gorphen ar ein gyrfa,
Dydd ſy 'n tynnu o gyfyngdra,
Dydd ſy 'n talu ein Cyfloge,
Dydd y † gôl yw dydd ein Ange.

† Dydd dyfod at y nôd, neu pen yr yrfa. race.

Dydd ſy ein derbyn i Baradwys,
At ſâb *Duw* yr hwn a'n prynwys:
Dydd ſy'n rhoddi 'r Gŵn, a'r Goron
Yw dydd Ange i *bôb Chriſtion.

* I bob gwir Griſtion *fel y mae efe yn dywedyd or blaen.*

***Gweddi yn cyfarwyddo'r clâf am y pethau rheita iw ceiſio, ac i fyfyrio arnynt mewn clefyd.***

DUw 'r diddanwch llaeſa mlinder,
Tâd toſturi, rho imi 'ſmwythder,
Meddyg pôb clwyf Jachâ nolur,
Jeſu mâb Duw rho im gyſſur.

Tynn fi o dywyll Deyrnas Satan, Act. 26. 18.
Ac o bôb dallineb allan;
Fal y gallwi weld fy mhechod,
A llonyddu fy nghydwybod.

Gwna fel *Dafydd* im * repento, * *Edifaru.*
Gwna fel *Magdlen* i mi wylo, Pſal. 51.
Gwna fel *Ninif* im gydnabod, Jonah 3.
A 'moſydio am fy mhechod.

Gwna 'mi geiſio † pardwn gennyd
Fel *Manaſſes* yn ei ofyd;
Ac ymbilio am drugaredd,
Megis *Peder* am ſ'anwiredd.

† *Maddeuant.* 2 Chron. 33. 12.

Gwna 'mi gredu fôd im bardwn, Eph. 1. 7.
Gwedi ſelu â gwaed dy † balſiwn;
A bôd ſ'enaid gwedi olchi,
Yn dy waed oddiwrth ei frynti.

† *Dioddefaint.*

Gwna fi hefyd yn ddioddefgar,
Dan fy nolur megis *Lazar* :
A rhoi arnat ti fy hyder,
Job 13. 15. Megis *Job* er maint o'm blinder.

Gwna mi geisio ymwared gennyd,
O'm trallodion ac om clefyd,
1 Bren. 19. 4. Fal *Elias* o'i flindere,
Môdd y gwelech fôd yn ore.

Gwna 'mi megis *Ezekias*,
Esa. 38. 2. Droi 'r byd heibio a'i berthynas;
A throi f'wyneb at y pared,
I roi yn*Grist* fy holl ymddiried.

☞ *Gwna im feddwl am y cyfri,*
Rhuf. 14. 12. *Ddydd y farn fydd raid im roddi,*
Mat. 12. 36. *Am y gwaith a'r geiriau ofer,*
*Oni cheisaf râs mewn amser.*

Gwna im wrando ar dy fengyl,
*Addewidion. A'ch * bromeifion yndi 'n rhigyl;
Gwna im ddala gafel ffyddlon,
Ar d'addewid a'th bromeifion.

Gwna im feddwl am y bywyd,
Yr âf iddo ar fyrr ennyd,
Lle mae Sabboth o esmwythder,
Heb na chûr, na phoen, na blinder.

*Gwna im wadu 'r byd twyllodrus,*
*A'i holl wagedd anwireddus :*
*Ac ymgweirio ddwad attad,*
*Yn ddiaros anwyl Geidwad.*

Gwna im offrwm heb ddeffygio,
Gorph ac enaid yn dy ddwylo,
Ac ymbilio hyd y diwedd,
Am dy ffafar a'th drugaredd.

Diddanwch

## *Diddanwch rhagorol i'r Enaid Alarus yn erbyn gwan obaith.*

O Fy Enaid pam yr ofni,
Faint dy bechod, *os difaru?*
Lle bu'r *Jesu* farw drosfod,
I'th ryddhau oddiwrth dy bechod.

Pam i hofni farn y Barnwr?
Christ yw'th Dwrneu a'th *Ddadleuwr*,
Mâb y Jestys trwy farwolaeth,
A'th ryddhaodd o ddamnedigaeth.

*Ni chondemnir yn dragwyddol,*
*Vn a gretto i Grist yn fywiol:* Jo. 3. 18.
Ond hwy * bassant, wrth eu symmyd, * Ant.
O farwolaeth i wir fywyd.

O fy Enaid ymlonydda, Rhuf. 8.
Dy Dduw grassol a'th gyfiawna: 33, 34.
Pwy all gwedyn dy gondemnio?
Mae Christ drossot gwedi hoelio.

Christ â'i waed a ylch dy bechod,
Ac a'th wnaiff mor wynn a'r manod:
Er dy fôd mor gôch a'r scarled, Esa. 1. 18.
Christ a'th ylch mor wynn a'r foled.

Yr haul a † rywlla 'r cwmmwl tewa, † A wascara ac a agor.
Sebon ylch y dillad brynta:
Rhinwedd Christ a gûdd dy frynti,
Ei waed a'th ylch mor wynn a'r lili.

Duw faddeuodd bechod *Peder*,
Rhyfig *Dafydd* a'r mâb ofer, † Os fel hwyntau yr edifarhau ac y credu di.
Rhwyf *Manasses* a'i holl feie,
Duw a fadde 'th bechod † dithe.

Cymmer

Cymmer gyssur, cwyn dy galon:
Lladdwyd mâb Duw ar yr hoelion,
Am dy bechod a'th gamwedde:
Er ei swyn di gae eu madde.

---

## *Gweddi*brûdd am faddeuant pechodau.*

*Serious.

O Fy Nuw yr hwn am creaist,
O fyng Heidwad 'rhwn am prynaist;
O'r Glân yspryd; O'r gwir Drindod,
Cadw f'enaid; *maddeu mhechod.*

Er mwyn *Jesu* 'rhwn am prynodd,
Ac ym-mhôb peth a'th fodlonodd,
Madde immi oll a chwbwl,
Ar a wnaethoi maes o'th feddwl.

Golch â'i waed fy mai a'm Mrynti,
Cladd fy mhechod yn ei weli:
Cûdd fyng wradwydd â'i gyfiawnder,
Madde im fy hôll ddiffeithder.

Gwisc fy enaid o gylch gwmpas,
A gwisc sanctaidd y briodas,
Gwna fi'n barod ddwad attad,
O fy *Nghrist* mewn gweddus drwssiad.

Dôd d' Angelion im castellu,
Nâd i Satan fyng orchfygu,
Cadw f'enaid yn dy ddwylo,
Nâd o *Grist* i'r llew ei * llarpio.

Pan i delwi i'r † Barr i atteb,
Ger dy fron am f'annuwioldeb,
Gwared f'enaid er mwyn Jesu,
Na ro i mi o'r farn wi 'n haeddu.

**I thorri yn ysslon.*

*† O flaen yr orsedd-faingc.*

Cymmer

Cymmer Angeu Christ a'i 'fydd-dod,
Yn iawn itti am fy mhechod:
Fe gondemnwyd am fy meie,
Er ei fwyn na ddamna finne.

Haeddais Angeu, haeddais * *dopheth*, *Uffern Rhuf. 6.23
Haeddais farn rhagrithwr diffeth;
*Duw na ddoro 'r hyn wi 'n haeddu,*
*Rho i mi 'r hyn a haeddodd Jesu.*

Fe gyflawnodd drosswi 'r gyfraith,
Fe 'th fodlonodd drosswi 'n berffaith,
Fe groes-hoeliwyd am fy mrynti,
Er ei fwyn rho bardwn immi.

*Nid oes genni na Sancteiddrwydd,*
*Na chyfiawnder, na pherffeithrwydd,*
*Nac ymwared, iawn, na fwccwr,*
*Ond fydd gennyd Christ fy Mrhynwr.*

Christ yw 'nghomfforrdd, Christ yw 'nghyssur,
Christ yw 'ngobaith yn fy ngwaywyr,
Christ yw f'helpwr ar awr Ange,
Christ yw 'ngheidwad ddydd diale.

Fe fu farw yn anhyfryd,
Er pwrcassu immi fywyd:
Er yr Ange a ddioddefwys,
Duw dwg f' enaid i *Baradwys*.

## *Gweddiau byrrion i'r clâf iw harferu fel y bo achos.*

Duw rho glûst i wrando 'ngweddi,
Duw rho d' yspryd im comfforddi,
Duw rho olwg ar fy nolur,
A'th law rassol llaesa 'ngwaywyr.

Am Esmwythder.

Oen

Am faddeuant. *Oen Duw maddeu 'mi fy mhechod,*
*Sela Bardwn im cydwybod,*
*Glwyfau. *Clâdd fy meiau yn dy * weli,*
*Nád bwy eilchwaith adgyfodi.*

Am Ddiddanwch. Rwi fi 'n ofni dy gyfiawnder,
Rwi 'n brawychu rhag dy ddigter:
Rwi 'n fy marnu am fy mhechod,
Duw diddana fy nghydwybod.

Am ddoniau *Christ* a'i gymmorth. *Dôd o Grist dy Angeu gwirion,*
*Rhyngwyfi a'th farn echryslon,*
*Dôd dy 'fydd-dod rhwng cyfiawnder*
*Dy Dâd cyfiawn am diffeithder.*

Am gymmod. Christ â'th waed gwna heddwch etto,
Rhyngwi â'th *Dâd* sydd gwedi digio;
A'th waed diffodd ei ddigofaint,
Fel na byddo mlinder cymmaint.

Am gyfnerth. *Egwan wyf, o Grist cryfhâ fi,*
*Gwann a chlaf, fy Nuw Jacha fi,*
*Trwm a thrist, ac ofnus ddigon,*
*Cryfhâ fy ffydd, a chwyn fy nghalon.*

Am gyssur Duw 'r diddanwch llaesa mlinder,
Tâd tosturi Rho im 'smwythder:
Meddyg pôb clwyf Jachâ nolur,
Jesu mâb Duw rho im gyssur.

Am hawsfâd. *Llaesa mlinder, dofa nolur,*
*Gwêl fy mhoen, a thorr fy ngwaywyr,*
*Trefna niwedd, penna 'n nrhallod,*
*Dwg fi attad, rwi 'n dy warchod.*

Am nerth ysprydol. O fy nghrist, cerydda Satan,
Cadw f' enaid rhag ei safan,
Cynnal fi â'th hael-wych yspryd,
Dwg fi attad i'r gwîr fywyd.

Oen

*Oen Duw madden im fy mhechod,*
*Oen Duw pura fy nghydwybod,*
*Oen Duw gwilia ar fy niwedd,*
*Oen Duw derbyn fi 'th drugaredd.* Am Drugaredd.

Dywaid Arglwydd wrth fy enaid,
Itt' bwrcassu 'r nêf sendigaid,
A'th waed gwerthfawr trwy sawr boeneu,
I rhoi immi gwedi Angeu. Am wir gredini-aeth.

*Dywaid Arglwydd wrth fy enaid,*
*Dywaid Arglwydd, dywaid, dywaid,*
*Heddyw cei di 'n gynnar orphwys,*
*Gyda mi yngwlad Paradwys.* Am nefol addewid.

Christ fy Mugail cadw f' enaid,
Nâd ir llew o'th law ei scliffiaid:
Tydi 'm prynaist yn ddryd ddigon:
Dwg fi 'r nesoedd at d' Angelion. Am gadwriaeth.

*Derbyn f'enaid anwyl Geidwad,*
*Derbyn f'enaid weithian attad,*
*Digon bellach o'r fâth ddyddiau,*
*Nid wi gwell nâ'r rhest om Tadau.* Am dderbyniad ei enaid.

Rwi 'n gwllyssi cael fy nattod,
A dwad attad, Christ fy mhriod:
Tynn fi weithian Arglwydd Jesu,
Or bydd d'wllys yn cenhadu. Am dduwiol ymadawiad.

*I'th ddwy ddwylo Arglwydd hyfryd,*
*Ir wi 'n brûdd yn offrwmm f' yspryd,*
*Nad ym hwer neb ei scliffio,*
*Nai ddwyn mwyach byth o'th ddwylo.* Am gadw ei yspryd

Na thybied y dyn y fo byw a marw yn ei bechod, heb ffydd, edifeirwch, a sancteiddrwydd buchedd, y bydd i Grist dderbyn ei enaid ef. *Mat.* 7, 21. Gwellhewch bawb gan hynny cyn marw, onidê gwae chwi. *Esay* 55. 7. 1 *Cor.* 6. 9, 10.

*Gweddi*

*Gweddi 'r claf yn erbyn Rhythreu Satan.*

CHrist fy Mugail cadw f'enaid,
Nâd i'r llew o'th law ei sclíffiaid,
Rhwn sy 'n ceisio fyng orchfygu,
Yn fyng wendid am traflyngcu.

Dymma 'r pryd y cais ef drecha,
Fynd a'r Gôl pan byddwi gwanna;
Dat.2. 10. Nertha 'ngwendid Arglwydd cyfion,
Gadw 'r * Gôl rhag colli 'r Goron.

* *Dyfod i ddiwedd yr yrfa.*

Dôd dy yspryd yn fy nghalon,
Dôd o bobtu 'm dy Angelion,
Dôd d' arfogaeth öll am dana,
Nâd i'r Gelyn gael y trecha.

*Nertha fi ddiweddu 'ngyrfa,*
*Gwna f'awr ore 'r awr ddiwetha:*
*Arnad Arglwydd mae fy hyder,*
*Derbyn f'enaid i'th esmwythder.*

*Gweddi fyrr i'r claf duwiol iw barferu ar yr awr ddiwethaf.*

NAwr o Arglwydd y gollyngu
Fi mewn heddwch o'm carchardy:
Gwna im llygaid cyn marwolaeth
Weld dy nerthol iechydwriaeth.

Daeth y dydd a'r awr a roddaist,
Daeth yr amser a derfynnaist,
Daeth y Tymmor, daeth y Terfyn,
Nid oes lle im fyned trostyn.

Y mae 'ngyrsa ar ei gorphen,
Am dydd diwedd ar ei ddiben,
Y mae 'r terfyn gwedi dwad;
Arglwydd derbyn f'enaid attad.

Megis *Stephan* rwyfi 'n dwedyd,
*Arglwydd Jesu derbyn f' yspryd:* Act. 7. 59.
Dere Arglwydd, dere 'n fuan,
Cymmer fi ith drugaredd weithian.

---

## *Myfyrdod ar Fywyd ac Angeu.*

PA gynta by no marw Christion,
Cynta derbyn hwnnw ei Goron:
Pa hwya bytho Christion byw,
Hwya bydd heb weled Duw.

Pa hwya byddo dŷn heb farw,
Mwya fydd gofynion hwnnw:
Pa gynta tynner dŷn o'i wegi,
Lleia gyd y fydd ei gyfri.

---

## *Tôst Gyflwr y Dyn Annuwiol gwedi Marw.*

GWŷr a Gwragedd, Meibion, Merched,
Dewch y nes, Rhowch Glûst i glywed,
Cwyn, a chyngor hên Ofer-ddyn,
Sydd yn gorwedd dan y Brethyn.

Mi fum gynt fel yr 'ych chwithau,
Yn fawr fy nwyf, ym-mhlith fy † nrhassau: †Ceraint.
Nawr heb nwyf, yn noeth, yn issel,
Rwyfi 'n gorwedd dan y trestel.

Pan

*Pan oedd fwya'mryd ar faswedd,*
*Lleia meddwl am fy niwedd,*
*Fe ddaeth Angeu glâs heb wybod,*
*Ac a rows im farwol ddyrnod.*

Pan yr oedd y Bŷd yn Gwenu,
A phôb † Margain genni'n ffynnu,
Fel y iâ fe dorrodd dana,
Ac am trows yn noeth ir gladdfa.

*†Marchnad, Cytundeb.*

Pan yr oedd fy nghorph yn Iachus,
A phôb aelod genni 'n rymmus,
Fel ſtên bridd fe aeth yn * ddrefion,
Pan daeth ange at fy nghalon.

**Ddarnau.*

Gynt 'roedd genni aur ac arian,
Tai, a thîr, a chyfoeth llydan:
Nawr ni feddaf ar un † Beni,
O'r holl olud gynne oedd genni.

*†Geiniog.*

Gynt 'roedd genni Geraint ddigon,
Gwraig, a phlant, a Ffryns, a gweiſion:
Nawr 'does neb ond Angeu melyn,
Y ddaw attaf dan y Brethyn.

Mi gawn lawer gynt im helpu,
Ym mhob Fford y Bawn yn pechu:
Ni ddaw un y nawr i atteb,
Gydâ mi am fy Ffolineb.

Y peth a ddaeth i mi mor Sceler,
Yddaw i chwithe Bawb ar fyrder:
Byddwch barod cyn del ange,
Ni chewch rybydd mwy nâ minne.

*Y mae Chriſt ai wenidogion,*
*Yn rhoi rhybydd inni ddigon:*
*Llawer mîl ſy'n mynd i boeni,*
*Eiſie gwrando llais y rheini.*

Y mae llawer rhyw o Bechod,
Yn dolurio fy 'nghydwybod:
Nid oes un yn lladd mor rhigyl,
A Dibriffio geiriau 'r fengyl.

Mi fum Benffaft a gwar-galed,
Ni wnawn bris o'r gair er cyftled:
Dweded Chrift ai wŷr, ei piniwn,* *Meddwl.
Ni wnawn inne ond y fynnwn.

*Gwell oedd genni wrando cyngor,*
*Crach Dafarnwr nag un * doctor;* *Dyscawdwr.
*Er bôd hwnnw im cyfrwyddo,*
*Ar Tafarnwr yn f'anrheithio.*

Gwell oedd genni awr yn llawen,
Yn y Tafarn gydâ merfen,
Nâ diwrnod yn y demel,
Gydâ Chrift ai anwyl genel.

*Gwell oedd genni gâs gyfeillach,*
*Môch a meddwaint mewn Tafarnach,*
*Na chyfeillach plant goleuni;*
*Nawr mae'n gant edifar genni.*

Gwell oedd genni 'wenydd * aflan, *Llawenydd.
Ni pharhau ond ennyd fychan,
Nâ gorfoledd teyrnas Nefoedd,
Sydd yn para yn oes oefoedd.

Gwell oedd genni bridd a cherrig,
Pres, a phlwm, a môch, a cheffig,
Nâ pharadwys ai Hangelion,
Nâ Duw mawr ai holl fendithion.

Gwell oedd genni 'r cnawd nâ'r enaid,
Y drwg nâ'r da, Y môch nâ'r defaid,
Y byd nâ'r nef, y cam nâ'r cymmwys,
Ar nôs nar dydd, ar gell na'r Eglwys.

Nawr mae 'n difar gan fy 'nghalon,
Fy môd mor ftôl, mor ddall, mor ffinion,
A phôb modfedd fydd yn crynu,
Nawr wrth fynd ir * Barr im Barnu.

* *O flaen yr orsedd-faingc.*

Y mae 'nghorph yn mynd i bydru,
Ir bedd am dan fy ngwaith yn pechu;
Am henaid trift yn mynd i atteb,
O flaen Duw am bôb ffolineb.

*Nawr mi Glywa Grist im galw,*
*Rhaid im atteb wrth fy enw;*
*F'orfydd mynd i wneuthur cyfri.*
*Er Anhawsed ydyw genni.*

† *Ba.*
* *cydwybod*

O! † Bwy filoedd o Bechode,
Y mae 'nghonfciens * yn eu hadde?
Rhai a wnaethym mor ddiofon,
Gynt yn erbyn Duw a dynion.

O! Bwy rol fydd gan fy ngelyn,
Cŷd a'r dwyrain a'r Gorllewyn,
Yn cyhuddo ac yn traethu
Y mann, a'r môdd, y bum yn pechu?

O! pwy glywai im cyhuddo,
Ond y diawl y fu'n fy hudo,
Gynt i bechu yn y dirgel;
*Gwae wrandawo ar y cythrel.*

Nid oes pechod ac a wnaethym,
Er yn blentyn na bo 'n awchlym,
Yn ei daflu yn fy nannedd,
*Gwae fi gynddrwg y fu muchedd.*

* *Diles.*

Mae ê 'n Achwyn mor *Ddibroffit,
Gynt y treuliais fy holl ieungctid,
Mewn oferedd, a phibiaeth,
Heb Dduwioldeb na christnogaeth.

Mae

Mae ê'n * claymo mai se'm pie, *Dywedyd. Ymbonni.
Waith fy ennill fil o weithie,
Yn fy ieungctyd; ac na ddichon,
Duw roi iddo lai nâ'i gyfion.

Mae ê'n dangos pôb ffolineb,
Ag a wnaethoi mewn Gwroldeb,
Am holl sedd-dod, am holl ryfyg,
Am trachwante câs llygredig.

Mae e'n dangos fy nigofaint,
Am holl † rimpe yn fy henaint, † Troau drwg.
Am Cybydd-dod, am hanwiredd,
Am * Dimdawrwydd am fy niwedd. *Diofalrwydd.

Mae e'n taeru lêd ei sasan,
Iddo f'ennill ym-mhôb oedran;
A môd inne er yn fachgen,
Yn ei wsnaethu yn dra llawen.

Mae e'n * pledo yn ‖ Ddigwiddyl, *Dadleu. ‖ Ddigwilydd.
Wrth y Gyfraith ar Efengyl,
Mae se'm pie eisie Credu,
Gwella 'muchedd, a difaru.

A lle tibiais trwy anwybod,
I Grist farw dros fy mhechod,
Ac na Chaffe'r Cythrel feddu,
Ar y sawl na bae 'n ei wadu:

Y mae'r cythrel ynte 'n † pledo, †Dywedyd
Na thâl sôn am hynny wrtho;
Os ni cheidw Christ un christion,
Ond a gretto ynddo 'n ffyddlon.

Y mae 'r Diawl yn dwedyd eilchwaith,
Nad oedd genni ffydd na gobaith,
Na difeirwch, na gwell amcan,
Nag oedd gan y Twrc a'r * pagan. *Dyn digred, heb broffes o gristnogaeth.

Mae e'n pledo ac yn taeru,
Nâd oes immi nêl â'r Jesu,
Eisie gwrando ei leferydd,
2 Cor. 5.17 A bôd yn greadur newydd.

Er i mi gael enw cristion,
A'm bedyddio gydâ 'r ffyddlon;
Etto nid oedd well fy 'nghrefydd,
Medd y diawl nâ dyn di-fedydd.

Mae e'n dwedyd rwi'n ei glywed,
Nâd oedd gwell fy ffydd am gweithred,
Na 'm ymddygiad am harferion,
*Vn nâd yw 'n proffessu Christnogaeth: Na rhyw * *ethnic* anobeithlon.

Mae e'n dwedyd na ddilynais,
Air o'r fengyl wen a glywais,
Mwy na 'r *Iddew* nas cas etto,
Râs i dilyn na'i chofleidio.

Mae e'n dwedyd wrth Dduw 'n amlwg,
Y rhy gennad torri ei wddwg,
Os adroddai iddo 'n rhigyl,
Bedwar gair o'r holl efengyl.

Mae e'n galw Duw ei hunan,
Ai Angelion fawr a bychan,
Yn destiolaeth, nad yw 'n dwedyd,
Ond gwirionedd ar fy mywyd.

*cydwybod Mae fy * nghonsciens drom dan chwssu,
Gyda 'r diawl yn testiolaethu,
Ac yn dwedyd mewn gwirionedd,
Felly 'n uniawn y bu 'muchedd.

*Speilio. Mae e'n dwedyd i mi * bilo,
Pobol dlodion, a'i hanrheithio,
Dwyn ei tai, ai tir oddiarnynt.
†Sclyfaethu. A † sclementa 'r maint oedd ganthynt.

Mae

Mae e'n dwedyd immi feddwi,
A Phutteinia ac ymlosci,
Torri 'r Sabboth fil o weithiau,
A dibrissio Duw ai ddeddfau.
Y mae 'r Diawl gan hynny 'n gofyn,
Am i Grist roi'r farn im herbyn,
Am troi i uffern byth i boeni,
Am fy mhechod am drygioni.

O! †bwy grynu, O! bwy gwynfan, † Ba.]
Y mae f'enaid rhag gŵg Satan,
Sydd yn dyfod ai wŷr duon,
Idd iw gyrchu at Dduw cyfion.

O! mor chwerw, O! mor ddiflas,
O! mor ffiaidd ac mor atgas,
Ydyw pechod gantho nawr,
Fu e'n garu gynt mor fawr.

O! bwy gwilydd f'arnai wrando,
Y cyhuddwr im Cyhuddo,
Am gan peth na fynne f'enaid,
Er y bŷd im mam ei 'ftyriaid.† †Gwybod.

Gwell gan f'enaid pe cai ddewys
Fynd i uffern, hyn fydd ddilys,
Na mynd ir bar at y Drindod,
I roi cyfrif am ei bechod.

Etto f' orfydd arno ymddangos,
O flaen Duw nid oes lle aros,
I roi cyfrif llawn, a derbyn
Barn, fel y bo 'r gwaith yn gofyn. Rhuf. 2. 6.

Nid wi'n clywed neb yn pledio,
Nac yn chware 'r twrnai drosto,
Nid wi 'n clywed arno 'n atteb,
Un o filoedd oi ffolineb.

Rwyfi 'n gweled Duw â'i lyfrau,
† *Yn gyhoeddus.* Yn hyspyssu ei droseddau,
Ac yn datcan yn † ddi-gwnsel,
Preg 12.14 Rhuf. 2.16 Y pechodau wnaeth e'n ddirgel.

Rwyfi 'n clywed taflu fuchedd,
Front, ddi-grefydd yn ei ddanedd,
* *Afreolaeth.* Ai gnawdolrwydd, a'i * freolaeth,
Ai ddrwg arfer ddi-Gristnogaeth.

Rwyfi 'n clywed cyfri 'r llwon,
A fu 'n dyngu 'mysc y meddwon,
A'i ffieidd-dra ar y Sabboeth,
A'i ddrwg naws, a'i eiriau annoeth.

Rwi 'n ei glywed ynte 'n tewi,
† *Cwynfan.* Ac yn † griddfan ac yn codi,
Heb agoryd dim oi enau,
Mwy nâ 'r pysc, ond ochain weithiau.

Mat. 22.13 Rwyfi 'n clywed Christ yn gwssio,
'R Diawl i glymmu ei draed ai ddwylo,
Ai daflu ir tywyllwch eitha,
Lle nad oes ond cûr a phoenfa.

Rwyfi 'n clywed Crist yn traethu,
* *Farn.* 'R * ferdid arno gan ei farnu,
I dân uffern yn dra union,
At y Cythrel ai angelion.

Rwyfi 'n gweled Satan ynte,
Yn ei rwymo 'mewn cadwyne,
† *Daflu, dreiglo.* Ac i uffern yn ei † dwmblo,
Gwedi clymmu draed ai ddwylo.

Rwi 'n ei glywed ynte 'n llefain,
Ac yn Beichad, ac yn ochain,
Wrth ei daflu mor anffatrol,
* *Yng-wysc ei ben.* * Llwyr ei ben ir tân uffernol.

*Rwy fi 'n gweled y Cythreiliaid,*
*Hwyntau 'n rhwygo ei gorph ai enaid,*
*Fel y rhwyge Gwn 'digaffog,*
*Wrth ei newyn, lwrch neu fcwarnog.*

Rwyfi 'n gwrando ei * ganlyn ynteu, *Deisyfiad
Yn crio n' dôst am gael ei angeu,
Ac er tosted y mae 'n galw,
Nid yw nes er hynny farw.

Mae e 'n gorwedd mewn tywyllwch,
Yn nhân uffern heb lonyddwch, Mar. 9.
Rhwng Cythreiliaid lle mae newyn, 43, 44.
A phoenydie tôst di-derfyn.

*Nid oes dim yn torri nghalon,*
*Mor ddigyffur, ac mor greulon,*
*Ac yw meddwl fel na dderfydd,*
*Dim oi boenfa yn dragywydd.*

*Dymma 'r mann a'r lle y gorfydd,* 
*Arnaf inne 'r corph di-grefydd,*
*Fynd i boeni atto 'n irad,* Jo. 5 28,
*Yn ôl dydd yr adgyfodiad.* 29.

A da beth y dlywn fyned,
I dân uffern er ei boethed,
Os myfi a barodd iddo,
Bechu 'n fynych heb * repento. *Edifaru.

Dyna 'r lle yr â'r holl bobol,
Ddrwg, ddi-grefydd, , gâs, anneddfol,
Yn ôl hela 'r tŷ trwy 'r ffenest,
Byw fel môch, mewn glwth a gloddest.

Mi gynghorwn bawb gan hynny,
Ofni Duw a'i wir wasnaethu,
A byw 'n fanctaidd ac yn ddeddfol,
Rhâg eu troi ir tân uffernol.

*Byddwch sobor, byddwch sanctaidd,*
*Byddwch union a Christnogaidd:*
Dat.21.8: *Oni byddweh, gwn yn siccir,*
*Mae i uffern eich condemnir.*

Ofnwch Dduw, gwrandewch y fengyl,
Gweglwch droi at hon eich gwegil:
*Byddwch fyw fel gwir Gristnogion,*
*Os chwennychwch gael y goron.*

† *Haeru* *Ni thâl † pledo ffydd heb weithred,*
* *Y rhai Sy 'n cymryd rhydd-did i bechu.* *Nid plant Duw o'r * libertinied:*
*Nid gwir Gristion dyn di-grefydd,*
*Plant ir fall yw 'r rhai anufydd.*

1 Jo 3.8. Jo.8.44. *Ni thâl dwedyd yr wi 'n Gristion,*
*O bydd ffydd heb weithred ffrwythlon:*
Jac 2. 14 *Ni bydd bywiol ffydd heb weithred,*
Mat.5.17. *Mwy nar tân heb wres pan cynned.*

Byddwch onest, byddwch union,
Duw ni odde gam fargennon:
1 Thess.4. 6. Os arferwch dwyll neu ffalstedd,
Trwm o'r dial yn y diwedd.

Beth y ennill dyn wrth dreisio,
Pilo 'r tlawd ai llwyr anrheithio,
†Poenir. Os † tormentir hwn o'r diwedd,
Yn nhân uffern am ei gamwedd.

Mat.16.26 *Beth y dâl i ddyn dros ennyd,*
†*Boddhau.* *† Blessio 'r cnawd a chael ei wynfyd,*
*Os â gwedyn yn dragwyddol,*
*Ar ei ben ir tân uffernol.*

*Beth y dâl it ddyfal lanw*
*'R bola dro, a'r wîn a chwrw,*
*Od ai gwedyn am dy fedd-dod,*
*I newynu i uffern issod.*

Beth a ennill dyn wrth dwyllo,
Torri * prommais, ac † andwyo
Ei gymmydog tlawd trwy gamwedd,
Os â i uffern am ei ffalstedd.

*addewid*
†*Colledu.*

*Naded nêb ir Diawl ei dwyllo,*
*Y wnelo ddrwg fe atteb drosto:*
*Fel yr hauoch felly medwch,*
*Fel y gwneloch y derbynniwch.*

Gal. 6. 7, 8

*Mae mor hawdd ir cythrel sceler,*
*Fynd ir nef y dydd ei barner,*
*Ac ir drwg ddyn, glwth, di-grefydd,*
*Ddiangc uffern ddydd ei gystydd.*

Thes. 5. 3.

*Hîr y berys Duw heb daro,*
*Llwyr y dial pan y delo,*
*Am yr echwyn a'r hîr scori,*
*Fe ry gyflawn ddial itti.*

*Fe gyd-ddwg â'r bobol waetha,*
*Ennyd hîr i geisio eu gwella,*
*Gwedyn eisie troi n' ddifeiriol,*
*Fe 'i llwyr dry ir tân tragwyddol.*

2 Pet. 3. 9.
Luc. 13. 5.

Duw ro gras i bôb dyn wella,
Tra fo 'r dydd ar goleu 'n para:
Duw ach gwnêl chwi bawb yn barod,
Cyn del ange roi chwi ddyrnod.

---

## *Cwyn a chyngor Difes iw bum brodyr.*

CLywch bawb gŵyn a chyngor *Difes*,
O'r fflam boeth a'r danllyd ffwrnes,
I bum brodyr ai holl drasse,
Rhag eu dwad lle mae ynte.

O fy mrodyr clywch fi'n traethu
Fy nhôst gyflwr gwedi nghladdu;
Fel y galloch chwithau ddiangc,
Rhag y cyfryw boenau didrangc.

Marnai ddlyed ich cynghori,
A rhoi rhybydd amlwg i chwi:
Rhag heb wybod i chwi ddwad,
Ir fâth garchar di-ddymchweliad.

A pha gwypech faint om trallod,
Am holl boen yn uffern issod,
Chwi wrandawech ar fy ngeiriau,
Rhag ich ddwad ir fâth boenau.

Gwn yn hysbys iawn pe gwypech,
Faint om poen, am Cûr, am gortrech,
Na chymmerech dda * Amherod,
Er ei goddef vn diwrnod.

*Emprwr, Pennaeth ag sydd a Brenhino-eddneu dywysogi-on tano.

Os ni ddichon dŷn nac Angel,
Adrodd gymmaint yw fy nhrafel,
Yn y flam a'r Tân vffernol,
Llei'm poenydir yn dragwyddol:

Bum i gynt yn fawr fy rhyfig,
Yn y bŷd yn ŵr Arbennig,
Yn rheoli fal y mynnwn,
Ac yn gwneuthur faint 'wllyssiwn.

Bum yng olwg llawer vn,
Heb ofni Duw, heb berchi dŷn,
Mwy nag † Inffidel neu Bagan,
Y ddilyne ei * ffansi hunan:

† Dyn di-gred.

Os mi dybiais trwy gam grefydd,
Na bawn marw yn dragywydd;
Ac o byddwn marw vnwaith,
Na ddoe 'morol * arnai'r eilwaith.

*Ymofyn.

Er

Er bôd Moesen a'r Prophwydi,
Yn mynegi 'n amlwg im-mi,
Fôd fy Enaid yn anfarwol,
Ni wnawn bris oi geiriau grassol.

Er ei bôd yn dangos im-mi,
Y gorfydde gwneuthur cyfri,
Ger bron Duw am bôb fiseindra,
Nid âe hynny yn fy * nghloppa. *Pen.

Nawr yn vffern rwi 'n cael dysgu,
Mae gwir oeddent yn ei draethu:
A bod Enaid didrangc genni,
Yn y fflam yn gwneuthur cyfri.

Tybiais hefyd tra fum byw,
Nad oedd vn nêf, nác yn Duw,
Nac vn vffern, nac yn Cythrel,
Na gwell diwedd dŷn na nifel.

Nawr yn vffern wrth boenydio,
Y mae 'r Diawl im † Catecciso, †Addysgu.
Ac yn dangos yn * blaen immi, *Eglur.
Fod Duw i ddial pob drygioni.

Nawr rwi 'n Clywed ac yn Canfod,
Fod y Diawl, ac vffern issod;
A mîl miloedd o Gythreiliaid,
Wrth farn Duw yn poeni f'enaid.

Rwysi 'n gweld yn Eglur hollol,
Fod pob Enaid yn anfarwol,
Gwedi marw 'r Corph a'i gladdu,
Bid drwg, bid da, fo'r Enaid hynny.

Nawr y gwn mai gwir yw 'r scrythur,
Nawr y gwn fod Christ yn eir-wir,
Nawr y gwn y treulia 'r nefodd Mat.24.35
Cyn êl Geirie Christ yn niffodd.

Eisie Credu hon mewn amser,
Nid yw 'nghred yn awr ond ofer,
Eisie ei chredu yn fy mywyd,
Mi sum byw fel nisail ynfyd.

Felly byddwch chwithau 'mrodyr,
Oni chredwch eiriau 'r Scrythur,
Ac amcanu byw yn ddeddfol,
Yn ei hôl fel meibion grassol.

Eisie dilyn Geiriau 'r scrythur,
Eisie dofi trachwant nattur,
Eisie byw yngoleuni 'r fengyl,
†Cyfiwr. Rwi fi nawr mor ddrwg fy † mhiccil.

Eisie dilyn Cyngor *Moysen*,
Eisie Credu 'r fengyl lawen,
Eisie cadw pwyntau 'r Gyfraith,
Y bu 'muchedd front mor ddiffaith.

Pan y troes i 'r fengyl heibio,
Fe ddaeth Satan im cyfrwyddo,
Ac im Tynnu i bôb drygioni,
Y fae 'nhrachwant yn ei hoffi.

Nid oes pechod alla'i draethu,
Nas dilynais nes im laru,
Nes mynd bywyd ffiaidd *Difes*,
Mor ddiereb a *Manasses*.

Gwnaethym Dduw om golud bydol,
Rhoes fy mryd ar bethau cnawdol,
*Ym mlaen Ym-mhob drwg mi aethym *ragof,
A gollyngais Dduw yn angof.
Felly gwedi tôst gamsyniaid,
Llwyr ddibrissiais am fy Enaid,
Fel rhyw nifel na bae 'n coffa,
Dim ond am y bŷd a'r bola.

Mynnais

Mynnais drwssiad gwych am danaf,
Pwrpl côch * bôb dydd o'r meinaf:
Nawr yn vffern rwi 'n nhoeth lymyn,
Am fy nghoegedd heb Edefyn.

Mynnais † Sindon, Lawnd, a Chambrig,
Yn fy ngrhysse * awr ac orig:
Nawr gwae finne na bae Garthen,
Neu hws Ceffyl am fy nghefen.

Minnau fynnwn lanw 'mola,
Ar ddainteith-fwyd o'r melyssa,
Bôb diwrnod tra fu 'r flwyddyn,
Er bôd f'enaid yn dwyn newyn.

Bum mor foethus ac mor † ddainti,
Ac na fynnwn vnwaith brofi,
Dim ond y fae tra ddainteithiol,
Brâs a melus, drûd, a manol.

Nawr mi fynnwn pa cawn fwytta,
Soeg y môch i lanw 'mola,
Ac i dorri peth o'r newyn,
Sy'n dolurio pob Colyddyn.

Bum yn yfed ac yn whiffo,
Bur a gwîn, heb fessur arno;
Ac yn llanw mola ganwaith,
Nes ei chwdu fynu eilwaith.

Nawr mi rown y bŷd yn gyfan,
Ai holl dryssor pe cawn ddafan,
O ddwr oer i oeri 'n hafod,
Sydd mewn fflam yn llosci 'n wastod.

Er bôd ar fy mord i friwsion,
Alle borthi * swrn o dlodion,
Fe gae 'r Cŵn y Cwbwl rhyngthyn,
Cyn cae *Lazar* vn briwsionyn.

*Yscarled.

† Lliain main.
* Bob amser.

† Finfelu

* Bagad.

Nawr

Nawr mae *Lazar* ynteu 'n talu,
Pwyth hyd adre, ac yn pallu,
Rhoi o'r ffynnon im-mi ddafan,
*Ceisio. O'r dwr oer, er maint wi 'n * segian;

Er bod *Moysen* a'r Prophwydi,
Yn rhoi llawer rhybydd im-mi;
Ni wrandawn ar ddim a ddwedent,
Ni wnawn vn rhith ag a geisient.

Nawr gan hynny rwi'n cael crio,
Ddydd a nôs, heb gael fy ngwrando,
Ond cael taflu yn fy nannedd,
Mor annuwiol y fu 'muchedd.

Pan pregethid yr Efengyl,
Minnau drown at hon fy ngwegil,
Ac y gysgwn ar fy nwrnau,
Pan bae eraill yn cael gwersau.

Nawr am gysgu yn y demel,
*Poenir. Fe'm * Tormentir gan y Cythrel,
Fel nad wyf yn abal cysgu,
Na marwino mwy ond hynny.

Ac am flino gwrando 'r 'fengyl,
Ac Athrawiaeth Christ yn rhigyl,
Y mae 'n gorfod arnai wrando,
† Cri. † Screch y Cythrel byth tra gantho.

Eisie gwrando cyngor *Moesen*,
Eisie credu 'r fengyl lawen,
Eisie dilyn hon ai dysgu,
*Ochain. Y mae yn vffern fil yn * gryddfu.

Minnau dreuliais ddydd yr Arglwydd,
†Drythyllwch, wantanrwydd. Mewn glothineb ac anlladrwydd †,
Yn gan gwaeth mewn gloddest scymmyn,
Nag vn dydd o ddyddiau 'r flwyddyn.

Mae

*Mae 'ma filoedd o rai annoeth,*
*Am halogi 'r Sanctaidd Sabboth,*
*Heb gael Sabboth nac Esmwythdra,*
*Ond yn poeni hâf a gaya.*

Cymrais Enw Duw yn ofer,
Fil o weithiau wrth fy mhleser,
Nid oedd blâs ar chweddel genni,
Nes y Tyngwn waed y Jesu.

O † bwy boensa 's'ar fy nhafod, † Ba.
Am ddirmygu gwaed y Cymmod:
A phwy * dorment sy 'n fy ngryddfu, *Boen.
Am amherchu Enw 'r Jesu.

*Minne offrymais f'enaid ganwaith,*
*Yn y dydd ir Cythrel diffaith,*
*Am i roi mor fynych iddo,*
*F'aeth y Diawl â'r Enaid gantho.*

Mae 'ma lawer mîl fel finne,
Yn y pwll mewn irad boene,
Am roi ei hun ir diawl dan regu,
Wedi i Grist â'i waed eu prynu.

Llawer vn a fum i 'n hela,
O dra malis i ryfela,
Er mwyn Tywallt gwaed y gwirion,
A'i difetha heb achossion.

Nawr mae gwaed y rhain yn llefain,
Am ddialau arnai 'r filain,
Ac yn Crio ar y Cythrel,
Dalu immi am fy nhrafel.

Bum yn gwest ar fywyd ganwaith,
Heb nac ofon Duw na'r gyfraith,
Yn Condemnio llawer Gwirion,
Ac yn Cadw † llofrudd, lladron. †Lleiddiaid.

Nawr

*Lleiddiaid. Nawr mae 'r * mwrddwyr dan ei henw,
Ar drwg ddynion sum i 'n Gadw;
†Rhwygo. Yn y pwll yn † llarpio f'enaid,
Mor ddiffasar a'r Cythreiliaid.

Larais ar fy ngwraig fy hunan,
Cymrais fenthig gwragedd aflan:
Llu o'r rhain sy nawr im pwyo,
Ym hwll vffern am eu hudo.

Mae 'r bastardiaid sum i 'n ennill,
O'r rhai aflan hyn fel perchill,
Oll yn llefain ac yn Crio,
*Poeni. Am ir Cythrel fy * nhormento.

Minne orthrymmais blant ymddifaid,
Pan bae farw vn om deiliaid,
Awn ar ddau ŷch fawr o'r arad,
*Brefu. Rhag ir naill o'r ychen * freifad.

Nawr am dreisio 'r fâth wirionaid,
Fe'm tôst ffystir gan Gythreuliaid,
†Barcer. Yn gan gwaeth nag y bydd † Tanner,
A'r Pawl mawr yn ffysto 'r lleder.

Bum yn hirio anwir ddynion,
Lawer gwaith i dyngu 'n vdon,
Ac yn peri 'r rheini dyngu,
Beth y synnwn ond eu dyscu.

Y mae rhain fel haid o nadredd,
Ddydd a nôs yn Cnoi fy mherfedd,
Ac yn rhwygo 'n dôst fy nghalon,
Am eu dyscu dyngu 'n vdon.

Minnau elwais bobol wirion,
*Lleiddiaid. Weithiau 'n * fwrddwyr, weithiau 'n lladron,
Ac enllibiais wŷr a gwragedd,
Heb ddim achos ond fy 'nrhawsedd.

Cedwais

Cedwais hîr a llawer Cyflog,
A'r fy ngwas a'r tlawd † anffodiog,
Ac y berais ir Tlawd fedi,
Fy holl heiniar heb vn * beni.

† Anhappus

* Geiniog.

Nawr mae gwaedd y rheini 'n Crio,
Ar y drwgwr am fy mhwŷo,
Am im Gadw hîr y rheini,
Ac * Andwyo 'r Cyfryw dlodi.

* Anrhei-thio.

Rhoddais f'arian gynt ar † occor,
Ir dŷn Tlawd fel cybydd * angor ;
Nes im lyngcu fedde 'r tlodion,
A'i handwyō â'm bargennon.

† Llôg.
* Brwnt, trachwantus.

Nawr mae llawer vn o'r rheini ;
Ymma 'n vffern yn fy mhoeni ;
Am eu gyrru i ledratta,
Gwedi f' occor brwnt eu difa.

Rhoddais ir Cyfreithwyr duon,
Wabar fawr am dreifio tlodion :
Mae 'r Cyfreithwŷr yn fy llethu,
Ymma 'n vffern am eu llygru.

Rhoddais gennad im holl weifion,
* Vexo pawb om Cymmydogion :
Nawr mae 'r gweifion am ei godde,
Yn vexo 'n doft fy Enaid inne.

* Flino, gorthrymmu.

Prynais dîr dan bris gan fagad,
Cedwais beth ar bawb o'u Taliad ;
Nawr mewn Carchar rwi am hynny,
Heb fôd gennif rôt i dalu.

Pe bae ddimme 'n abal prynu,
Rhydd-did im-mi om Carchardu,
Am dwyn o'r pwll ir nêf ole,
Nid wi 'n abal cael o'r ddimme.

 Cefais

Cefais rybydd fil o weithie,
Am roi dreisiais eilwaith adre;
Minnau awn ir Tân vffernol,
Cyn rhown ddimme yn ei gwrthol.

Pan y gwerthwn wlân a llafur,
Rhown gam bwysau, rhown gam fessur:
Yn yr ŷd mi werthwn raban,
Yr vn bris a'r gwenith purlan.

Ac yn Erbyn Duw a'i ddeddfe,
*Fâth. Cedwais amryw * sort o bwyse;
Pwys rhy fawr, pan sawn yn prynu,
Pwys rhy fach, pan sawn yn gwerthu.

Nawr fe'm Curir ar fy 'nghloppa,
Gan y Diawl â'r pwysau mwya;
A phawb Eraill megis minne,
Y fo 'n arfer anwir bwyse.

*Pwngc. Ni adewais *bwynt o'r Gyfraith,
Heb ei thorri lawer Canwaith:
Mi ymdrois ym-mhob rhyw bechod,
Nes ir Angeu roi im' ddyrnod.

Mi fynegais fwch yn oleu,
B'wedd y bum i byw hyd Angeu:
Mi fynegaf i chwi weithian,
B'wedd im poenir dan law Satan.

Y mae 'r pwll lle rwyfi 'n trigo,
Datc. 20. 3 Yn ddwfn iawn heb waelod iddo:
†Muriau. A'i holl † welydd Cyn ucheled,
Nad oes Gobaith Cael ymwared.

Y mae 'r pwll dros fŷth yn llosgi,
O dân poeth fel môr yn berwi;
Esa. 30. 33 Y mae anal Duw ei hunan,
Yn ei drîn fel môr o frwmstan.

Gwedi

Gwedi nynnu 'r Tân hyn vnwaith,
Byth ni ddiffodd hwn yr eilwaith:
Nid rhaid chwythu dim o hano,
Mae ê 'n Cynnu heb ei gyffro.

Y mae 'r Tân dros fŷth yn llosci, Mar. 9. 44.
Yn 'dra ffyrnig ac yn poeni;
Ac er hyn nid yw ê'n treulio,
Nac yn difa dim êl iddo.

Mae 'r vn tân yn poeni 'r bobol,
Ond mewn dull a mòdd neillduol; Mât. 10. 15.
Rhai yn fwy neu lai o ronyn,
Fel y bythoi beiau 'n gofyn.

Yr Haul a lusc y * mŵr o'r *India*, * Dyn dû.
Yn fwy nâ'r rhai a drig yn *Russia*:
Vffern boeth y lusc yn boethach,
Bechod mawr nâ phechod byrrach.

Nid oes yn y pwll yn Trigo, Mat. 22. 13
Vn heb rwym ar draed a dwylo,
Mewn Cadwynau Tragwyddoldeb,
Am eu pechod a'u ffolineb.

Mae tywyllwch hefyd ynddo,
All pôb rhai yn hawdd ei deimlo: Mat. 25. 30.
Ac er dechreu 'r bŷd ni welad,
Ynddo oleu 'r Haul neu 'r leuad.

Mae ê 'n drewi Cyn ffyrnicced,
Nad oes dim all ddrewi gassed:
Er bôd miloedd yn ei † nyrddo, † Diwyno.
Ni lanhawd erioed o hano.

Y mae pryfed ynddo 'n bwytta,
*Conscîens dŷn heb gael ei gwala, Mar 9 44.
Dydd a nôs yn fawr ei hawydd, *cydwybod
Ac heb farw yn dragywydd.

Y mae gwedi mîl o filoedd,
O gythreuliaid megis lluoedd,
*Poeni. Yn * Tormento 'r rhai damnedig,
†un amser Ac heb orphwys † awr nac orig.

Maent yn dyrnu ac yn pwyo,
Rhai damnedig heb ddeffygio :
Ac Er maint y fônt yn ddial,
*Anadl. Bŷth ni chymmer vn ei * anal.

†Poen. Y mae 'r † Torment yn dragwyddol,
Ac ar bawb yn gyffredinol,
Yn Tormento pawb ar neilldu,
Ymmhob aelod y fu 'n pechu.

Y mae 'r llygaid heb gael gweled,
Ond Cythreuliaid Er ei Caffed,
Ac Eneidiau Rhai damnedig,
Yn y pwll yn wylo 'n ffyrnig.

Y mae 'r *Genau* ynteu 'n bwytta,
Bustyl lindys, bwyd o'r chwerwa :
Psal.75 8. Ac heb yfed dim ond Gwaddod,
O ddigofaint Tôst y Drindod.

Y mae 'r *Clustiau* hwynte 'n gwrando,
*Creglau. * Screch y diawl a'i blant yn Crio ;
Luc.13.28 A thôst ochain rhai damnedig,
Yn scyrnygu dannedd ffyrnig,

Y mae 'r *Tafod* ynte 'n llosci,
Ac mewn Brwmstan poeth yn berwi ;
Luc. 16. Heb gael Cymmaint ag vn dafan,
24,25. O ddwr oer i ddofi 'r llosciau.

Y mae 'r *ffroenau* yn aroglu,
Datc.21.8 Gwynt y Brwmstan o'r Carchardu,
Sydd heb garthu etto Er *Adda*,
Ac yn drewi o'r ffyrnicca.

Y mae'r *Traed* a'r dwylo hwyntau,
Gwedi Clymmu mewn Cadwynau;
Ac heb Allel Troi na threiglo,
Or lle 'r ydys yn ei * brwylio. *Poethi.

Y mae *Dannedd* pawb yn rhingccian,
Yn scyrnygu â'r fâth † dwrddan, †Swn.
Ag y bydd Echrydus gennwn,
Wrando ei llais, na gweld ei ffashiwn †, †Hagwedd

Y mae pryfed Câs anfarwol,
Yn Cnoi **Consciens* pôb annuwiol; *cydwybod
Ac yn bwytta 'n llym Escymmyn,
Etto bŷth heb dorri newyn.

Fel y pechodd pôb rhyw aelod,
Ag oedd gennif, † noed fy nhafod; †Hyd yn oed.
Felly poenir fy aelodau,
Bôb yr vn ag amryw boenau.

Mae pôb aelod yn poenydio,
Mae pôb mann a dial arno;
Mae pôb dial yn dragywydd,
Yn poenydio heb ddim llonydd.

Ni bydd marw bŷth o'r pryfyn,
Bŷth ni ddiffodd Tân yr odyn:
Ni ddaw Angeu er y geisiaf,
Bŷth i wneuthur diwedd arnaf.

*Ni bu 'r diluw ond blwydd hynod,*
*Na thân* Sodom *ond diwrnod*;
*Newyn* * Egypt *ond saith mlynedd,* *Yr Aipht
*Mae 'mhoen innau* bŷth *heb ddiwedd.*

*Pe cawn rydd-did o'm holl boenau,*
*Am ben Can mil o flynyddau*;
*Byddei hynny* † *gysfordd im-mi*; †Gyssur.
*Ond dros fŷth mae 'n rhaid im boeni.*

☞ *Y gair bŷth ſy'n torri 'nghalon,*
2 Theſſ. 1. 9. *Y gair bŷth ſy'n Cnoi 'ngholyddion:*
*Y gair bŷth ſy'n peri im-mi*
*Fwytta 'mreichiau a gwallgofi.*

*Tôſt yw goddef hyn o gyſtydd,*
*Dan law Satan yn dragywydd;*
*Y mae Etto beth ſydd dôſtach,*
☞ *Colli 'r Jeſu ai gyfeillach:*

*Colli 'r bywyd, Colli 'r Goron,*
*Colli 'r Jeſu a'i Angelion,*
*gogoniant *Colli 'r nefoedd a'i * 'rhialtwch,*
*Colli Duw a phôb dedwyddwch:*

Melldith Dduw ir dydd ym ganed,
Anap ddrwg ir awr ym llunied,
Vffern boeth im mam na byſſe,
Yn dwyn llyffan, yn ſy nghyſſe.

Gwae fi 'rioed na thorſei 'ngwddwg,
Ar y ploccyn pren â bilwg,
Cyn rhoi bron i fâb anwadal,
I ddigio Duw, i ddwyn ei ddial.

Nid oes Cythrel na dyn ſcymmyn,
Ymma 'n vffern a'i holl derſyn,
†*Gyttun.* Na bônt ar ei Cylch yn † Gyngan,
Yn ſy mhwyo fawr a bychan.

Nid oes Enaid dŷn er *Adda*,
Ym hwll vffern mewn mwy boenſa;
Mewn mwy drallod, mewn mwy eiſie,
Nag y mae ſy Enaid inne.

Dymma 'nghuſtydd, dymma 'mhoenſa,
Dymma 'ngwaywyr, dymma 'ngwaſcfa;
Dymma 'r Cyflwr yr wi ynddo,
Bôb yr awr yn tôſt boenydio.

*O gan hynny fy 'mhum brodyr,*
*A phawb Eraill sydd o synwyr;*
*Cymrwch rybydd cyn del Angeu,*
*Rhag iwch ddwad lle 'rwi finneu.*

*Oni byddwch Edifeiriol,*
*Ffyddlon, vfydd, a christnogol;*
*Gwn na ddengys Duw 'r Dialau,*
*Iwch fwy ffafar nag i minnau.*

*Atteb i Gwestiwn ynghylch gweddio dros y marw: ble dangosir anghyfreithlondeb gweddio dros y cyfryw.*

FYnghâr a'm gwîr anwylyd,
Gofynsoch gwestiwn hyfryd:
Mae 'n weddus im, ym-mhlaid y ffydd,
Roi atteb prûdd o'i blegid.

*Hyn ymma yw'ch gofyniad*
*Ai gweddus i offeiriad,*
*Weddio dros y marw 'n brûdd,*
*Yn* ôl *y dydd * departiad.* *Ymadawiad neu farwolaeth.

Rwi 'n atteb i chwi 'n groyw,
Na ddiodde 'r scrythur alw,
Na gweddio, na dydd, na nôs,
Yn ofer dros y marw.

Mae Duw yn barnu 'r enaid, Heb. 9. 27.
I'r nêf neu uffern dambaid,
Yr awr yr êl o'r corph y maes,
Yn ôl ei † gâs a'i weithred. †Gyflwr.

*Mae enaid y dyn ffyddlon,* Luc 23. 43 a'r 16. 22.
*Yn mynd o'i gorph yn union,* Phil. 1. 23.
*I'r nefoedd at Angelion * gwâr,* Act. 7. 59 *Mwyn, llariaidd.
*Fel enaid* Lazar *wirion.*

*Mae enaid yr annuwiol,*
*Yn mynd i'r pwll uffernol,*
*(Pan êl* ô'r *corph) îr tan a'r rhês*
*Fel enaid* Difes *fydol.*

Psal.16.11 Mae 'r duwiol mewn dedwyddwch,
*Parch. Gogoniant a * rhialtwch ;
Y fâth nid rhaid iwch geifio mwy ;
Gadawn ni hwy mewn heddwch.

*Nid rhaid gweddio drostynt,*
*Gan gystal yw eu helynt :*
Datc.7.13 *Maent hwy gydâ 'r oen* bôb *awr ;*
16,17. *A Swpper fawr sydd ganthynt.*

Luc.16.23 Mae 'r enaid anwir ynte,
*hyd* 27. Yn griddfan yn y poene :
Ni ddaw hwn o'i boen a'i blâg,
Er gweddi nag offrymme.

Yn ôl i un-dŷn farw,
A chael y farn yn groyw,
Ofer yw i'r wlâd a'r plwy,
Weddio mwy dros hwnnw.

Pe ceifie *Job* neu *Ddaniel,*
Neu *Abram, Moesen, Samuel,*
†*Sef, poenau 'r annuwiol.* Laefu 'r † poene yn y fflam,
Ni chaent ddim am eu trafel.

Pe delei ffeiriaid holl-fyd,
I grio drosto 'n daerllyd,
A'u haberthau o bôb rhyw,
**Ni newidie ei farn* Ni * altre Duw mo'i ferdyd.

Pe delei 'r bŷd yn gyfan,
A gweiddi am laefu 'r boenfan ;
Luc.16.24 Ni chaen gwedi marw 'r gŵr,
†*Dafn.* O'r † droppyn dwr iw fafan.

Y farn y saif yn ddilys;
  Llei cwympo 'r pren fe erys: Preg. 11. 3.
*Ni newid Duw o'r farn y rows;*
  *Erioed ni throws o'i 'wllys.* Jaco. 1. 17.

Mae Duw yn ddianwadal,
  Y farn y rows fe'i cynnal:
Ni all y bŷd â'u hymbil taer,
  Nâr nêf, na'r ddaer ei hattal.

Yr amser i weddio,
  Sydd cyn i ddŷn ‖ ddeparto; ‖ *Farw.*
Gweddi gwedi marw nêb,
  Sydd weddi heb * bresailo. **Tyccio, lesâu.*

Gan hynny rwi 'n cynghori,
  I bawb y garo weddi,
Geisio hon tra yntho † wrês, †*Fywyd.*
  Os cais ê lês oddiwrthi.

Ca is wisc, cais oel, cais oleu,
  Cais râs cyn delo 'r angeu: Esay. 55. 6
*Ni chair gwedi ‖ passo 'r dydd,* ‖ *Myned heibio.*
  *O'r dwr, os bydd e'n eisie.*

Gan hynny cyn * departo, **Marw.*
  Ni ddylem bawb weddio;
Dyna'r pryd heb ddim o'r ffael,
  Mae inni gael ein gwrando.

*Cyn marw y mae inni,* 1 Cor. 9. 24
  *Ennill nêf neu cholli,* Luc. 13. 24
*Gwedi marw ni chaiff ffôl,* 25, 26, 27.
  *Ond barn yn ôl ei frynti.*

Cyn marw mae † repento. †*edifarhau*
  Trai 'n ddydd y mae ymgweirio: Joa. 12. 35
*Pan êl hi 'n nôs, medd Christ ei hun,* Joan. 9. 4.
  *Ni all ûn-dŷn mor gweithio.* Preg. 9, 10.

Dymma 'r dydd sydd inni,
Yn ddyfal i addoli,
A'i fendithio bôb yr awr,
Am dan ei fawr ddaioni:

A chofio 'r môdd ein prynodd,
Trwy 'r gwerthfawr waed y gollodd,
O dan ei fron ar grog-pren croes,
A'r chwerw loes y gafodd.

Fel *Pelican* cariadus,
Tuag-at ei adar clwyfus,
Fe rows gwaed ei galon bûr,
I helpu frodyr nafus.

F' adawodd yr Angelion,
I ddwad at Iddewon,
I brynu enaid dŷn yn rhâd,
A gwerthfawr waed ei galon.

O'r gader ym mharadwys,
I'r ddairen fe ddescynnwys,
I gymryd cnawd o *Fair* wenn * dlôs,
I farw dros ei † Eglwys.

Fe gymrodd arno 'n tlodi,
A'n gwaeledd a'n gofydi,
A'r hôll ddial arno 'i hûn,
Y haedde ddŷn am frynti.

Fe wanwyd am ein beie,
F' archollwyd am gamwedde:
Ond trwy gleisie fe iachaws
Hôll liaws ein pechode.

Fe gollodd waed ei galon,
Ar grog-pren hefyd drosson:
Ac fe 'n gwnaeth yn Blant i Dduw,
Pan 'roeddem ei elynion.

* *Deg.*
Eph. 5. 25.
† *Sef y bobl ag a alwyd neu a elwir i undeb ag ef ei hun trwyffydd, ac i ufyddhau iddo mewn cyfiawnder a sanctei-ddrwydd.*

Fe 'n golchodd o'n pechode,
Fe brynodd ein eneidie,
Ac fe 'n* dŷg i Deyrnas nêf,
Er maint yw llêf ein beie.

*ni ddwg Christ

*nêb o honom ni i deyrnas nêf ac y fo byw a marw heb ffydd, edifeirwch, a sancteiddrwydd buchedd. Mae Duw yn dywedyd na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu ei deyrnas ef* 1Cor.6.9,10. *Y mae efe wedi tyngu yn ei lîd na chânt ddyfod i mewn i orphwysfa ef* Heb.3.11. *Fe ddywed Christ wrth y cyfryw, ewch ymmaith oddiwrthif, chwi hôll weithredwŷr anwiredd* Luc. 13.27. *Edrychwn ninne attom ein hunain, a gochelwn aros yn ein pechodau.* Er i Grist ddyfod i gadw pechaduriaid (*ag sydd yn gwîr gredu*) etto fe ddaeth i dorri gwddwg eu pechodau nhwy, 1*Jo*.3.8.

O moeswch i'n gan hynny,
Yn gefnog ei glodfori,
Ddydd a nôs; chwi welwch pam,
Mor rasfol am ein prynu.

A moeswch inni gadw,
Y gwylie sar ei enw,
Mewn duwiolder, rhinwedd, rhâd,
Credigrwydd, cariad croyw:

A moeswch inni dreulio
Yn sanctaidd, heb ei nyrddo
Mewn oferedd yn y bŷd,
Ond pawb i gŷd sancteiddio.

*Trown heibio afreolaeth,*
*A medd-dod a phibiaeth;*
A dewn ynghyd i Demel Dduw,
Cans hynny yw cristnogaeth.

*Nid gweddaidd i gristnogion,*
*Ymdroi mewn beie brwnton,*
Ar wylie Christ ein prynwr prydd,
Y môdd y bydd Iddewon:

Ond troelio 'rhain yn sanctaidd,
Yn sobor ac yn weddaidd,
Megis plant i'n nefol Dâd,
Mewn grâs a chariad perffaidd:

Ac arfer bôb diwarnod,
Yn ddyfal iawn i ddysod,
I *Demel Duw a'i sanctaidd Dŷ,
Bôb rhai dan ganu mawr-glod.

*Temlau Duw

*mewn gwirionedd ymadrodd yn nyddiau yr efengyl yw cynnulleidfaoedd y rhai sy'n ofni ei enw ef; yr vn peth yw ei dŷ ef a'i demel ef: yn y 3 o'r Heb, a'r 6, y dywedir fel hyn-* Eithr Christ megis mâb ar ei dŷ ei hun, tŷ *yr hwn ydym ni*, os nyni a geidw ein hysder a gorfoledd ein gobaith, yn sicer hyd y diwedd. *Teml y Duw byw ydych chwi*, medd Paul *wrth yr eglwys, neu 'r ffyddloniaid* yn Corinth, 2 Cor. 6. 16. *Nid ydwyf fi, yn y messur lleiaf, yn dywedyd vn gair yn erbyn dysod yn barchus i addoli Duw yn* ôl *ei ewyllys ei hun, yn y lleoedd y mae 'r Awdwr yn eu alw yn Demlau, ac yn Eglwysydd; ac nid ydwyf fi 'n gwadu, nad ellir wrth ddull o ymadrodd, a elwir metonymia alw y lleoedd hynny wrth yr enwau mae 'r Awdwr yn eu harfer. Ond yn gymmaint ac nad oes vn Adeilad mwy nâ'i gilydd y nawr yn nyddiau 'r Efengyl, wedi ei adeiladu trwy orchymyn neillduol y goruchaf Dduw, a* || *phortreiad mewn scrifen oddi wrth ei yspryd ef, fel yr adeiladwyd y* † *Deml fawr yn Ierusalem, yn amser y gyfraith: nac vn lle mwy nâ'i gilydd y nawr yn Arwydd o Ghrist a'i bobl, fel yr oedd*

|| Patrwn.
† 1 Cron. 28. 19, 11, 19, 20.

*oedd y * Deml honno y prŷd hynny: nac un addewid ynawr o bresennoldeb Duw i un lle mwy nâ'i gilydd (pan fo'r gynnulleidfa o bobl yr Arglwydd yn absennol) fel yr oedd yn yr amser hynny ir ‖Demel honno: Am y rhesymmau hyn nid ydwyfi yn deall etto (cynta beth a ddeallasi ar ôl hyn) pa sancteiddrwydd yr oedd yr Awdwr bendigedig yn ei dybied ei fod yn y † cyfryw leoedd,* *Joan. 2. 19. 21. 2 Cor. 6. 16 ‖1 Bren. 9. 3. †1 Tim. 2. 8.

Nid * edrych ar ein dwylo,
Am roi vn aberth iddo,
Ond clôd a mawl tu fewn ei lŷs,
Cans hyn sydd felys ganddo.

**Gwelwch beth y mae Duw yn ei edrych am dano.* Psal. 51. 17. 1 Cor. 6. 20 Rhuf. 12. 1 2. Mich. 6. 6, 7, 8.

O dewch iw byrth gan hynny,
Dan ddiolch a than ganu,
Fach a mawr, ar fore a hwyr,
Yn brûdd i lwyr foliannu.

O dewch iw Demel sanctaidd,
Yn drefnus ac yn weddaidd,
I glodforu enw Duw,
Cans hyfryd yw a gweddaidd.

† *Tra gweddaidd a pherthnassol,*
*I bob rhyw Gristion duwiol,*
*Foli ein Prynwr ddydd a nos,*
*Am farw dros ei bobol.*

†Fe ddylei Gristianogion duwiol ddangos eu diolchgarwch am eu prynedigaeth, trwy gofio a charu Duw â'r galon, trwy ei foli ef â'u tafodau, ac offrwm pob vn ei gorph a'i yspryd i wasanaethu ef, mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder holl ddyddiau eu bywyd. Ac heb wneuthur felly ni Ddichon vn dyn sicrhau ei hunan ei fod ef yn Blentyn i Dduw. *Psal.* 103. 1, 2. 1 *Jo.* 4 19, *Psal.* 51. 15. *Rhuf.* 12. 1. 1 *Cor.* 6. 20. *Luc.* 1. 74, 75. 1 *Jo.* 3. 6. hyd yr 11. 1 *Jo.* 2. 3, 4.

Dymma i gyd y taliad,
  Y diolch a'r aberthiad,
Y mae'n ddisgwyl ar law 'r gwŷr,
  Am dan ei gûr a'i gariad.

Gan hynny curwch ddwylo,
  A rhoddwch foliant iddo,
Yn ei demel fawr a'i lŷs,
  Cans hyn sydd felys gantho.

A nedwch i'n yn vnlle,
  I gablu â'n geneue,
‖cyflwr. Rhag ein mynd yn waeth ein ‖ câs,
  Nâ *Suddas* a'i bradyche.

Ir Tâd, I'r mâb, I'r Yspryd,
  I'r Drindod vndod hyfryd,
Y bô clôd a moliant mawr,
  Bôb dydd, bôb awr, bôb ennyd.

---

*Cynghor i geisio yr Arglwydd Iesu Grist.*

O cais gŵr, na gwraig, na Phlentyn,
  Gael y Bywyd mawr di-derfyn,
* 1 Joan 5. 12. Ceisient *Grist* s'a'r * bywyd ynddo,
  Ac hwy gânt y bywyd gantho.

*Rhaid yw ceisio Crist yn gynta,*
*Lle mae 'r bywyd yn llettua:*
*Gwael yw 'r gwaith, a thraws, a thrist,*
Joan 14. 6 *Geisio 'r bywyd nes cael Crist.*

Cais di Grist yn Geidwad itti,
Ac yn Arglwydd i'th Reoli:
† Tragwyddol. Di gae 'r Bywyd † di-drangc ynddo,
Ac ni cholli bŷth o hono,

Oni

*Oni cheisi Grist yn Geidwad,*
*Ac yn * llywydd parchus arnad,* *Llywodraethwr.
*Nid yw bossib it' ddychymmig,*
*B'wedd y byddu ddyn cadwedig.*

Pawb a chwennych gael wrth farw,
Grist fel Ceidwad idd eu cadw:
*Wrth fyw ni fyn ond rhai o'r rheini,*
*Ghrist fel Arglwydd i'w rheoli.*

Näd dy dwyllo Gristion anllad,
Ni bydd *Christ* i nêb yn Geidwad,
Ond ir Dŷn a gymro o ddifri,
*Ghrist* yn Arglwydd iw reoli. Heb. 5. 9.

*Rhwn na fynno ei reoli,*
*Gan Air Duw, a'i yspryd gwisci,*
*Nac edryched y Dŷn hwnnw,*
*Gael gan vn mâb Duw ei gadw.* Luc. 19. 27

Cais gan hynny Grist yn Geidwad,
Ac yn *Ben Rheolwr* arnad:
Ni all vn dyn gwnaed y fynno,
Bŷth fôd yn gadwedig hebddo.

Pe caet ti 'r Bŷd a'i bethau auraid,
Heb gael Crist i gadw d'enaid;
Beth y dale 'r drwg-fyd trist,
O'r colli d'enaid eisie Christ?

Pe caet Ghrist heb ddim ond hynny,
Di gaet ddigon i'th ddiwallu:
Mae yn gryno yn Ghrist ei hun,
Oll sydd raid i gadw dŷn. Col. 1. 19.

Och! na welyd mor anghenraid,
Yw mâb Duw i gadw d'enaid:
Ac na alli weithio sywaeth,
Hebddo ddarn o'th iechydwriaeth:

Ond

Ond bôd yn rhaid, ac yn gorfod,
Arnad geisio 'r Iesu drossod,
Weithio 'r cwbwl, dechre, a diwedd,
Cyn y gallech gael trugaredd.

Os ni ddichon dŷn nac Angel,
Gwyllt, na dôf, nac vn anifel,
Wella dim o'ch gyflwr truan,
Nes gwellasso Christ ei hunan.

Rhaid it Ghrist yn Dduw, yn ddŷn,
A'i ddwy nattur dan yr vn,
Weithio pôb darn o'ch brîd bryniad,
Cyn bodloner Duw 'r vchel-dad.

Rhaid i Ghrist dy Frawd, dy Frenin,
Weithio pôb darn, a phôb tippin,
O'r gwaith mawr o'ch iechydwriaeth;
Ni all eraill helpu ysowaeth.

O cais enaid dŷn feddiannu
*Christ*, a'i ddonie i † ddiddanu,
Rhaid ir enaid bâch ymgweiro
Dderbyn Christ cyn delo atto.

Gwna dy enaid bâch yn barod,
I gael *Christ* i drigo ynod,
Gwedyn planna dy hun yndo,
A thynn râs a grym oddiwrtho.

Rhaid it wneuthur anwyl gristion,
*Rŵm i *Ghrist* cyn dêl i'th galon, **Lle.*
A chymhennu ei lê yn barod,
Cyn y delo dan dy fargod.

*† Er fôd Christ yn dyfod i lanhau y pechadur, pan y mae efe yn aflan: etto nid yw efe yn dyfod i ddiddanu y pechadur, nes yn gyntaf ei Sancteiddio ef.* Jo.14. 15, 17, 21, 23. *Mae 'n rhaid bôd grâs yn gyntaf, cyn gellir cael heddwch a llawenydd yn yr Arglwydd,* Rhuf.15.13. Rhuf.5. 1,2.

Ni

Ni all Chriſt, na'i yſpryd ſanctaidd,
Aros bŷth mewn lle anghriaidd:
O cais yn dŷn ei gyfeillach,
Gwnaed ei galon iddo 'n lanach.

Ni ddaw *Chriſt* ir galon aflan,
Nes troi pechod oſlyd allan:
Ni thrîg Chriſt lle bo aflendid,
*Sanctaidd yw a glân o'i yſpryd.*

Ni chyttuna *Dyw* a *Dagon*,
*Chriſt* a *Belial* mewn yn galon,
Mwy nâ'r Dŵr a'r Tân pan dotter,
I gŷd-aros mewn yn lleſter.

Ni all calon llawn o ſalchder,
Dderbyn *Chriſt* nes ir arllwyſer,
Mwy nâ baril llawn o blwcca,
Dderbyn llaeth nes * fento 'r llacca. *Bwrw allan.

Rhaid ymado 'n lân a phechod,
A'i gaſâu, a'i lwyr ymwrthod,
Cyn y gallo enaid yn dyn,
Gael cyfeillach Chriſt na'i dderbyn.

Rhaid ir enaid bâch ymarllwys,
O bôb pechod y mae 'n gynnwys,
Fel y gallo Chriſt a'i ddonie,
Lanw 'r enaid gwâg â'i râde.

Ni all vndyn dderbyn Chriſt,
Ir galon aflan druan driſt,
Nes cymhenner hon yn gynta, Eſ 57. 15.
I reſlawi 'r Brenin mwya. Pſ. 24. 9, 10

Ni all vndyn wrth † gŵrs nattur, †Trefn.
Chwennych Chriſt er maint o'i ddolur,

Nes

Nes dêl Duw â'i râs i gyffro,
*Er fôd A dwyn y Dŷn o'i * ansodd atto.

*Dŷn trwy nattur yn anewyllysgar i ddyfod at Ghrist, etto ar ôl tywalltu yspryd Duw arno, a gweithio grâs ynddo, y mae efe yn dyfod atto yn ewyllysgar ac o'i wîr fodd* Eph.2.1. 2Cor.3.5. Dihar.1.23. Joan.6.44. Can. 1.4. Psal. 110.3.Phil.2.13.

Duw o'i râs a'i naws ei hun,
Sy'n cynnig Christ i gadw Dŷn:
Nid dim ond mwynder Duw yn vnig,
Sy'n cynnig Christ ir Dŷn colledig.

Nid oes dim mewn dŷn all gyffro
Duw i ddangos ffasar iddo:
Duw o'i nattur dda ei hun,
Sy'n rhoddi Christ i gadw dŷn.

Mae Duw 'n cynnig Dwr y bywyd,
Grâs, a dawn a didrangc iechyd,
Yn rhâd, yn rhwydd, ir dŷn a'i mynno,
Datc.21.6. Or daw at Ghrist â syched arno.

Mae Duw 'n galw pawb yn rhîn,
†sef Christ I fwytta † Manna, i yfed * Gwîn:
Yn rhâd, yn rhwydd, heb aur, heb arian,
Esay.55.1,2. Os at Ghrist y down dan drottan.

Nid yw Duw yn gwardd i vndyn,
Dderbyn Christ, a'i gadw, a'i ganlyn,
Y mae 'n gwardd i nêb ei wrthod,
Esa.1.18. Er ffieiddied y fo'i bechod.

Er bod Duw yn cynnig Christ,
I bôb pechadur truan, trist,

Ni

Ni ddaw vn er hynny atto,
Nes dêl Duw â bâch i * lysco. *Pan ydys *yn dywedyd fod Duw yn llysco dŷn at ei fâb Christ; yr ystyr yw, fod Duw trwy ei yspryd a'i râs yn gwneuthur dŷn sydd o bono ei hun yn anewyllysgar, i fod yn awr yn ewyllysgar i dderbyn Christ.* Tynn fi (*medd yr Eglwys.* Can. 1.4.) ni a redwn ar dy ôl.

Ni ddaw vndyn gwnaed y fynno,
At fâb Duw er maint ymgweitio,
Nes y tynno Tâd trugaredd, Jo 6.44.
Ef at Ghrist i gael ymgeledd.

Ni ddoe 'r ddafad aeth ar ddidro,
Bŷth ir gorlan nes ei * chario, *Dwyn.
Na phechadur at ei Geidwad,
Nes ei garrio fel y ddafad. Luc. 15.

Ni ddaw lleidyr at y Justys,
Bŷth o'i fôdd ond yn wrthnebus,
Na phechadur † serch ei flingo, †Er.
At ei Brynwr, nes ei lysco.

Y mae nattur yn gwrthnebu, Gal. 5.17.
Mae Cydwybod yn ei nadu,
Mae bechodau 'n dwedyd wrtho,
Ei condemnir or daw atto.

Rhaid i Dduw 'r Tâd agor llygaid
Dŷn, i weld gofidi 'i enaid,
A'i drueni, a'i wael gyflwr,
Cyn 'mofynno am iachawdwr. Act. 26.18.

Ni ddaw 'r iach i mofyn Meddyg, Mar. 2.17.
Nes y gwelo ei glwyfo 'n ffyrnig:
Ni ddaw Dyn i 'mofyn Ceidwad,
Nes y gwelo ei gyflwr † irad. †Trist.

Rhaid

*Rhaid i'n weled ein trueni,*
*A'n tost gyflwr, a'n gofydi,*
*Cyflwr. *A'r ddamnedig* * *stâd ein ganed*
*Cyn gweld eisiu Christ er rheited.*

Rhaid ir Tâd a'i Air, a'i yspryd,
†Oleuo. †'Leuo dyn i weld ei ofyd,
Cyn y ceisio dyn diwybod,
Help gan Grist i fadde'i bechod.

Hos. 11. 4. Rhaid ir Tad â bâch o gariad,
Dynnu dyn fel tynnu dafad,
Cyn y delo vn pechadur,
At fâb Duw i geisio cyflur.

Ezek. 36. 26. Rhaid i Dduw droi'r galon garreg,
†Tyner. Yn galon gig mor † sofft ar bloneg,
Nes dolurio 'i weld ei chyflwr
Cyn mofynno 'i am Iachawdwr.

Rhaid i Dduw 'r Tâd ddangos itti
Olud ei râs a'i dosturi,
Yn rhoi fâb drossod i'w groes-hoelio,
*Beiddiech Cyn y * mentrech ddwad atto.

Rhaid ir Tâd fynegi itti,
Mor anfeidrol o'i ddaioni,
Ac mor barod yw i fadde,
Ir 'difeiriol ei holl feie:

Esay. 55 7 A'i fôd ê'n gwawdd, ac yn ceisio,
Pôb pechadur ddwad atto,
*I gael cyfran o'i drugaredd,*
*Ond ymwrthod â'i ddrwg fuchedd.*

1 Jo. 3. 23. Rhaid i Dduw orchymyn itti,
Dan boen melldith drom a didri,
Gredu ynGrist, a'mddiried ynddo,
†beiddiech Cyn y † mentrech ddwad atto.

Gwedi

Gwedi Galw a Gorchymyn,
Rhaid ir graſſol Dâd dy † ganlyn, †Deiſyf, arnat.
Ddwad at Griſt i'th gymmodi,
A'th Dâd nefol gwedi ||Siommi. ||Gyffroi i ddigofaint

*Rhaid dy ganlyn yn gariadus,*
*Mae dy nattur mor wrthnebus,*
*Cyn y delech trwy ymhwedd,*
*I gael heddwch a thrugaredd.*

Rhaid ir Brenin ganlyn Bradwr,
Ac ymhwedd â'r Troſſeddwr,
Cyn y delo i geiſio pardwn,
Am ei frâd, a'i drais, ai *dreſwn. *bradwriaeth.

*Er nad gweddus iddo ganlyn,*
*Arnat ti ſy'n pechu iw erbyn:*
*Mae 'n ymhwedd â thi 'n deilwng* Ezek. 33. 11.
*Ddwad atto i geiſio pardwn.*

Gwedi canlyn, rhaid yw dangos,
Ddaed amynedd Duw a'i 'maros,
Mor ddioddefgar, ac mor ddiddig 2 Pet. 3 9.
Yw, ir chriſtion llaes, hwyrfrydig:

*Ac mor bwyllog y mae 'n edrych,*
*Gan gyd-ddwyn â'th feie 'n fynych,*
*A hir aros wrth dy leſſer,* Mat. 23. 37.
*I roi ymmaith bob diffeithder.*

Er dy † gathrain, er dy gyffro, †Ddeiſyf
Er dy ganlyn a'th oleuo,
Ni || ddoi byth at Griſt o'th bechod, ||Ddeui. Act. 2. 37.
Nes y pigo Duw 'th gydwybod:
*A'th gyhuddo, a'th rag-farnu, * Ac nes ith gyhuddo.
A'th gondemno, a'th lwyr adu,
Gan dy †gonſciens dôſt dy hunan, † cydwybod
Am dy fuchedd oſtyd, aflan.

Ac er pigo dy gydwybod,
A'th gondemno am dy bechod,
*Jo.* 6.44. Ni ddoi byth at Grist er hynny,
Nes dêl yspryd Duw dy dynny.

Rhaid i Dduw â'i yspryd gwiwlan,
Fwrw i maes yr yspryd aflan,
*Eph.* 2.2. Sy'n dy galon yn Teyrnasu,
Cyn y ceisiech help Crist Jesu.

Rhaid ir yspryd glân dy dynnu,
A'th ryddhâu, a'th lwyr waredu,
Oddi wrth Satan, A'th gyfrwyddo,
At fâb Duw, cyn delech atto.

*Joan.* 14. 23. Rhaid dy dynnu oddiwrth dy bechod,
A rhaid puro dy gydwybod,
A Sancteiddio 'r galon aflan,
*Cyn y delo Christ ith gyfran.

* *Cyn y delo Christ i ddywedyd heddwch wrth bobl, ac i roddi llawenydd ysprydol iddynt, gan dystiolaethu trwy ei yspryd, eu bod hwy yn blant i Dduw, a bod iddynt hwy ran ynddo fe, y mae efe yn gyntaf yn eu cyfiawnhau a'u Sancteiddio hwynt.* Rhuf. 5. 1. 1 Pet. 1. 8. Rhuf. 15. 13. 1 Joan 2. 3, 4, 5.

*Eph.* 2. 3. Plant digofaint wrth naturiaeth,
Ym ni bôb rhai oll ysowaeth,
Hyd nis gwnelo Christ ni, clyw,
*Jo.* 1. 12. O Blant digofaint yn blant Duw.

Mae digofaint Duw mor greulon
Yn llosci yn erbyn pechod dynion
Nid oes dim all ddofi ei loscfan
Ond gwaed calon Christ ei hunan.

Ni all y dŵr sy 'chlaw 'r ffurfafen,
Na dŵr y môr, na dyfroedd Hafren,
Ddiffodd digter Duw at ddyn
Nes dofo Christ â'i waed ei hun.

'Rym

Rym ni bôb rhai yn Elynion, Rhuf. 5. 1. 10.
I'r Duw mawr y barnwr cyfion,
Nes y gwnelo Christ ei hun
Heddwch tēg rhwng Duw a dŷn.

Ni all dŷn, na Diawl, nac Angel,
Na nêf, , na daer, mi dweda 'n uchel,
† Reconseilo Duw a dŷn, † Heddychu.
Nes Reconseilo Christ ei hun.

Rym ni bawb dan felldith greulon, Gal. 3. 10 13.
Am drosseddu 'r Gyfraith gyfion:
Ni ddaw nêb o dan y felldith,
Nes gwaredo Christ e'n ddiwith.

Rym ni bawb yn weision pechod, Ioan. 8. 34. 36.
Yn pechu boenoeth bôb diwrnod:
Ni all vn dŷn lai na phechu,
Nes dêl Christ ei Adgenhedlu.

'Rym ni bawb yn || slass i Satan, || Caethweision.
Ac mewn Carchar tywyll, aflan:
Nes del Christ i ddwyn ei arfe, Luc. 11. 21. 22.
Ni ddaw dŷn y maes o'i grampe.

Rym ni bawb yn slass i'r cythrel, 1 Ioan. 3. 8.
Ac mewn carchar dû ddiogel: Col. 1. 13.
Nes del Christ i rwymo Satan
Ni ddaw nêb o'i deyrnas allan,

Pe doe *Michel* a'i Angelion, Datc. 12. 7 11.
I ymdrechu â'r ddraig greulon,
Ni orchfyge bŷth o hono
Nes doe Oen Duw i'w *goncwero. *Gorchfygu.

'Rym ni 'n euog bawb o Ange, Rhuf. 6. 23.
Ac o uffern boeth a'i phoene:
Ni all vn dŷn ddiangc rhagddynt, Rhuf. 8. 1.
Nes gwaredo Christ ni oddwrthynt.

Rhuf. 5. 12, 17, 18. Fe 'n condemnwyd cyn ein geni,
Bawb am drossedd ein rhieni:
Rhaid cael cymmorth Christ yn gynta,
Cyn cadwer un o eppil Adda.

Ni chaiff un dŷn gwnaed a allo,
Fynd i Deyrnas Dduw i dario,
Nes ail aner hwn yn hyfryd
Joan 3. 5, 6. Gan fâb Duw, â'r Dŵr, a'r yspryd.

Rhaid i Grist ein Adgenhedlu,
A'n ail greo a'n newyddu,
Cyn y caffo vn dŷn cnawdol,
Etifeddu 'r Deyrnas nefol.

Ni alle nêb orchfygu 'r ddraig,
Na sigo ei shol am dwyllo 'r wraig,
Na'n tynnu maes o'i dywyll gorlan,
Gen. 3. 15. Ond Hâd y wraig, mâb Duw ei hunan.

Ni alle nêb roi rhan o'r fendith,
Gal. 3. 13. Na'n tynnu maes o dan y felldith,
Ond *Jesu Grist* yr Hedyn dinam,
Gen. 22. 18 Addawodd Duw o lwyne *Abram*.

Ni alle vn creadur hynod,
Ein tynnu maes o ddannedd pechod,
† Drigo. Gen. 49. 10 A'n dwyn ir nêf at Dduw i † dario,
Ond *Jesu Grist* yr vnig *Silo*.

* *Sef, os credwn ni yndo, ac os edifarhawn ni am ein pechodau, a bôd vnufyddiddo.* Duw ddug *Israel* trwy law Moeses,
O gramp *Pharo* i *Ganaan* gynnes:
Duw trwy Grist a'n harwain *ninne,
O gramp Satan ir nêf ole.

Heb 5. 9. Y Neidir brês a helpe 'n escyd,
Y rhai a frathe 'r neidir danllyd:
Num. 21. 9 A Christ â'i waed a helpa 'n fuan,
Jo 3 14, 15 Yr enaid prûdd a frathe Satan.

Gwaed yr oen y gadwe 'r Angel, Exod. 12.
Y maes o'r tai rhag difa Israel :
Gwaed mâb Duw y geidw Satan,
Y maes o galon pawb a gredan.

Fal y tynnodd *Dafydd* rymmus, 1Sam 17. 34, 35.
Oen o eneu 'r llew afradus :
Felly tynnodd *Christ* ein Bugel, Act. 26. 18
Enaid † dŷn o Eneu 'r Cythrel. †*Sef y credadyn.*

A'i farwolaeth lladodd *Samson*, Barn. 16. 30.
Y rhai penna o'i elynion :
A'i ddioddefaint lladdodd Jesu,
Angeu, Pechod, Diawl a'i deulu.

Maent hwy 'n farwol gwedi clwyfo,
Er bôd chwythiant ynddynt etto :
Ni all *Eli* sy'n yr hôll-fyd,
Iachau clwyf na chadw'i bywyd.

Nid oedd dim y olche *Naaman*, 2 Bren 5.
O'i glaf gwân ond dyfroedd *Jordan* :
Nid oes dim a'n golcha ninne,
Ond gwaed *Crist* oddiwrth ein beie.

Helodd Duw ei Angel hyfryd,
I ddwyn *Sadrac* o'r ffwrn danllyd : Dan. 3.
Helodd Duw ei fâb ei hunan,
I'n dwyn ni o ffwrnes Satan.

*Jonas* a fu 'm mol y Morfil,
Dridie a their-nos mewn mawr † beril : † *Enbydrwydd.*
Felly bu ein Prynwr hygar,
Drosom ninne ym mola 'r ddaiar.

Fel offrymmodd *Abram Isaac*, Gen. 22.
I *Jehofa* ar ben *Moriac* :
Felly offrymmodd Crist ei enaid,
I Dâd cyfion dros ei ddefaid.

 'Neb

Joan 5. 'Neb a 'molche ym mhwll *Bethesda*,
Fe iachaid o'i glwyf pwy bynna:
'Neb ymolcho yng-waed y cymmod,
Fe iachair o bôb rhyw bechod.

Gwaed y Pelican sy'n helpu,
Ei Adar gwedi 'r Sarph eu brathu:
Gwaed yr Oen all gadw 'r cristion,
Gwedi bechod frathu galon.

†*Iachâ.* Yr Vnicorn â'i gorn y † helpa
'R Dwr lle chwdo 'r Sarph ei chylla:
*Christ* â'i waed all cadw 'r enaid,
Lle chwdo 'r Sarph ei wenwyn embaid.

*Mor gwilyddus i ni wrthod,*
*Vn mab Duw i fod 'yn briod:*
**cardottyn* *A phe palle merch rhyw * feger,*
*Fod yn wraig i Frenin Lloeger.*

Gen. 28. 12 Nid yw bossib i neb ddringad,
Ir nêf vchel vwchlaw 'r lleuad,
Oni chymmer yscol *Iaco*,
'Rhon yw Crist i ddringad arno.

*O gan hynny llêf yn irad,*
☞ *Am gael gafel yn dy Geidwad;*
*Nad ir Byd na dim sydd ynddo*
*Beri it golli d'afel arno.*

Llêf am Grist fel hŷdd am afon,
Psal. 42. 1. Mofyn Grist a phôb fforddolion:
Cant. 5. 8. Cais e'n ddyfal nes y caffech,
Cadw d'afel pan canfyddech.

Cyn y gallech chwennych Christ,
I gadw d'enaid truan, trist,
Rhaid it weld, fôd grâs a gallu
Gan fâb Duw i'th gadw a'th brynu.

Rhaid

Rhaid it weld fôd Christ yn rasol,
Yn Dduw, yn ddŷn, yn rymmys hollol,
Yn well nâ dim, yn rheitach wrtho,
Nâ'r bŷd i gŷd, a'r maint sydd yndo.

Rhaid it weld fôd Christ yn rheitach,
Yn well ymhell, yn werthsawroccach,
Nâ'r bŷd a'i bethau darfodedig,
I gadw d' enaid bach o'i berig.

Ni all y byd, a'i werthfawr bethau,
Brynu d' enaid bŷth o'i boenau:
Fe all Christ ei ddwyn i'r nefoedd,
O grafangau 'r Sarph a'i twyllodd.

Fe all Christ â'i waed ei olchi, Esa 1. 18.
O'i bechodau fel y lili,
Er eu bôd mor gôch a'r scarled,
A'u glanhau mor wynn a'r foled.

Fe all Christ dy Ail † reparo, †Atgweirio.
Yn ddŷn newydd er dy nyrddo,
A'th gyfnerthy tra fech byw
I fyw mewn ffafar dŷn a Duw.

Fe all Christ dy lwyr * ffwrneiso, *Cym-mhwysc.
A grâs, a grym, i lynu wrtho,
A dysc, â dawn, â gwîr wybodaeth,
I weithio gwaith dy iechydwriaeth. Jo. 1. 16.

Fe all Christ || recyfro itti, ||Ennill yn ôl.
Faint y gollodd dy † rieni, †Adda ac Efa.
A rhoi itti * siwrach fywyd, *Siccrach.
Nas gall Satan ddwyn oddiwrthyd.

Fe all mâb Duw gadw d'enaid,
Er ei fynd i fysc y bleiddiaid,
A'i ddwyn adre i'r wîr Gorlan
Yn wŷch ar ei 'scwyddau hunan.

 Ni

Ni all y bŷd a'r maint sydd ynddo,
Gadw d'enaid, na recyfro
Faint y gollaist gynt yn *Adda*,
Ond dy ollwng i'r pŵll issa.

*O gan hynny llef yn irad,*
*Am gael gafael ar dy geidwad:*
*Nâd i'r bŷd, na dim sydd yndo*
*Beri it golli d'afel arno.*

Crynhô di 'nghŷd dy rym, a'th allu,
Rho 'th goel, a'th dryst, a'th bwys ar Iesu,
Cais ef, câr ef, craffa arno,
Bydd suwr i gadw d'afel yndo.

Rhaid i griston brûdd 'wllysio,
Cael mâb Duw yn Geidwad iddo;
Cyn y bytho 'r Prynwr hygar,
Datc. 22. 17. Geidwad bŷth ir anwyllysgar.

† *Hiraetha* Oni chwennych, oni † flysia,
Oni chais, oni sycheda,
Dŷn am fâb Duw idd i gadw,
Ni thry mâb Duw bŷth drwyn hwnnw.

Ni rŷ Duw o'i fâb i vn-dyn,
Nes bo chwannog idd i dderbyn:
Rhaid yw chwennych Christ a'i geisio,
Psa 110. 3 Cyn y cafler gafel arno.

Or bydd vn-dyn yn gwllysio,
Mat. 5. 6. Yn hiraethu, yn dymuno,
Derbyn Christ, a'i râs, a'i ffafar,
Duw rhŷ iddynt yn wllysgar.

Ni chais Duw gan ddŷn edifar,
Ond derbyn Christ yn dra gwllysgar;
Y Dŷn a'i ceisio yn awyddus,
Dat. 22. 17. Fe caiff e'n rhâd yn ôl ei wllys.

Cyn cael Christ, a grâs oddiwrtho, Eph.3.17.
Rhaid cael ffydd i 'maflyd yndo:
Heb ffydd ni all vn dŷn byw,
Gyrraedd gafael ar fâb Duw.

Ni chaiff Christion mwy nâ † Phagan, †Dyn heb broffes Christianogrwydd.
Lês, na ffrwyth, na rhan, na chyfran,
O'r maint ôll a brynodd Jesu,
Heb ffydd fywiol i'w meddiannu. Gal.5.6.

Ffydd sydd reita peth iw cheisio,
Bŷth ni chai di Grist heb honno:
Cais y fynnech yn dy ddydd,
Ni cheidw Christ di bŷth heb ffydd. Mar.16.16

*Heb ffydd ni bydd it wnêl â Christ,* Rhuf.14.23.
*Heb ffydd mae 'r weithred ore 'n drist:*
*Heb ffydd ni wîr fodlonir Duw,* Heb.11.6.
*Wrth ffydd y bydd y cyfion byw.* Rhuf.1.17

Pa bae gennyd aur fynydde,
A'r bŷd yn bacc, a'i amryw bethau,
Beth fyddit gwell * ar ddydd anghraid, *Ar adydd o anghenrheidrwydd.
Os eisie ffydd, y colli d'enaid.

*Pe baet mor dlawd a* Lazar *druan,*
*Heb dai, heb dîr, heb fwyd, heb † screpan,* †Cŵd.
*Heb dda, heb ddim ond ffydd yn vnig,*
*Trwy ffydd yng-Hrist ti wyt cadwedig.*

Er na ddichon mynydd auraid, Luc 7.50.
Gyffro Christ i gadw d'enaid:
Gronyn bach o ffydd fel hedyn,
All ei gyffro i gadw vn dyn.

Heb ffydd ni ellir cael diddanwch, 1 Pet.1.8.
Gwir lawenydd, na dedwyddwch,
Yn y nef, nac ar y ddairen,
*Bôd heb ffydd sydd beth aflawen.*

*Heb ffydd ni chae ran yng Hrist,*
Mar.16.16 *Heb ffydd fe'th droir i vffern drist:*
Heb.11.6. *Heb ffydd ni * phlessir o Dduw 'r lluoedd,*
*Ni fodlonir. *Heb ffydd nid âe di bŷth ir nefoedd,*

||Maddeuant. Ni chair || pardwn bŷth am bechod,
Ni chair ffafar ar law 'r Drindod:
†O ddiffif. *Ni chair dim llawenydd † prydd,*
*Ffydd fywiol yw 'r ffydd honno sydd ag edifeirwch a glendid calon, a gweithredoedd da yn ei chanlyn hi. *Lle na byddo * bywiol ffydd.*

*Rhaid ir tlawd, rhaid ir cyfoethog,*
*Rhaid ir diddysc a'r llythrennog,*
*Rhaid ir Brenin, rhaid ir beger,*
*Rhaid i bawb wrth ffydd cyn cadwer.*

Rhaid i bawb ei ffydd ei hun,
Nid ffydd arall wrth ei glŷn:
Act.20.21. *Os ni chedwir nêb yn gyngan,*
Act.15.9. *Ond trwy 'i ffydd ai grêd ei hunan.*

Jac.2.18. Nid ffydd dy fam, nid ffydd dy dâd,
Nid ffydd y Prins a'r penna o'r wlâd,
All tynnu grâs, o Grist id allan,
Ond dy ffydd a'th grêd dy hunan.

Ezek. 18. Ni cheidw ffydd y Tâd o'i blentyn,
Na ffydd y mâb o'i Dâd escymmyn:
*Pawb a gedwir pôb yr vn,*
*Wrth ei ffydd a'i crêd ei hun.*

*Y modd i gael ffydd.* Wrth wrando geiriau Duw yn brŷdd
Mae Duw yn arfer rhoddi ffydd:
Heb wrando 'r gair nid yw yn arfer,
Ruf.10.17. Rhoddi ffydd i neb un amser.

Gwrando 'r gair, a chrêd addawo,
†Craffa. † Marca, a chofia 'rhyn a ddywetto:
*A'ddawo Duw, fei tâl yn ddilys*
*Addewid. *Ni thorrodd Duw erioed o'i * bromys.*

Nid

Nid ein nattur, nid ein Tadau,
Nid ein dysc, na'n poen, na'n doniau,
Ond yspryd Duw trwy air ei hun, Gal. 5. 22.
Sy'n gweithio ffydd ynghalon Dŷn.

Gwrando 'r gair, a chais yr yspryd,
Llef am ffydd fel am dy fywyd:
Wrth weiddi am râs, a gwrando 'r fengyl, Mat. 7. 7.
Mae Duw yn rhoddi ffydd yn rhigyl.

*Nid y Gair tu faes ei hun,*
*Sy'n gweithio ffydd yng-halon Dŷn:*
*Ond yspryd Duw yng-hyd â'r Gair,*
*Sy'n gweithio ffydd ple bynna cair.*

---

## *Psal.* 38.

DUw grasol, Tâd trugaredd,
Na faedda fi 'n dy ddigedd,
Ac na chospa fi 'n dy fâr,
Mor ddigllon ar fy niwedd.

Duw mae dy saethe llymion,
Yn glynu yn fy nghalon,
A'th law drom yn daran chwyrn,
Yn briwo f'escyrn gweinon.

Nid oes im cnawd ond nychdod,
Gan faint dy lîd a'th ddyrnod,
Na dim Hedd im hescyrn briw,
Waith cymmaint yw fy mhechod.

*A'm camwedd a'm trosseddε,*
*Sy'n pwyso 'n drwm (Gwae finne,)*
*Fel baich gorthrwm ar fy ngwarr,*
*Yn gwascu ar fy scwydde.*

A'm cnawd sy'n llawn o gleisie,
  Waith trwmmed yw'th ddyrnodie,
A'm cleisie 'n pydru fel hên glwyf,
  Gan ffoled wyf, gwae finne.

Di grymmaist (Dduw) fy nghefen,
  Di 'm helaist ir bedd * haychen,
Di'm gostyngais hyd y llawr,
  Rwi 'n vn yn awr a'r ddairen.

*'Ym mron, agos.

Rwi beunydd yn alaru,
  Rwi 'r nôs heb allel cyscu:
Rwi 'n wylo 'n dôst, rwi 'n griddsan mwy,
  Fy neigre aeth trwy 'ngwely.

Gwŷl dristed yw f' amcanion,
  Clyŵ dosted yw f' vchneidion:
Gwŷl mor drwm yw 'th lîd a'th sâr,
  Yn gwascu ar fy-nghalon.

I beri 'm fwy o flinder,
  A gwaywyr heb esmwythder,
Mae 'r holl gnawd yn afiach iawn,
  Am llwyne 'n llawn o boethder.

Rwi 'n egwan gwedi 'nghlwyfo,
  Rwi 'n ochain ac yn rhuo,
Gan faint o'm poen fy Mrhynŵr || cu,
  Rwi 'n barod i wall-bwyllo.

|| Anwyl.

*O dofa beth o'th ddigter,*
  *A llaesa ddarn o'm blinder:*
*Na lwyr ddifa fi fy Nuw*
  *Ond rho i'm ryw esmwythder.*

Di wyddost Dduw fy-ngheidwad,
  Beth ydyw fy neisyfiad:
Ni chuddiwyd rhagot ti vn pryd,
  Na'm poen, na'm cryd mewn bwriad.

Mae

Mae 'nghalon drom yn curo,
  A'm nerth ſydd gwedi 'ngado,
Am llygaid trymion bôb yr un,
  S'eb weled dŷn i'm ſwccro.

Fy-ngheraint a'm cyfeillion,
  O hirbell rhoent olygon,
Ar fy-nrhallod blin a'm pla,
  Heb gyſſur, na chynghorion.

A'r rhai ddymune 'n Niſa,
  Oſſodent fagleu 'm dala,
A'm gorthrymmu megis Cŵn,
  Och! och! pan oeddwn wanna.

A minneu yn fy-nrhafel,
  Fe ddwede bawb ei chweddel
Ac a'm barnent bôb yr un,
  Yn waetha dŷn o'm cenel.

A rhai ddychmygent gelwydd,
  A rhai 'm gwatwarent beunydd,
A rhai chwardde 'n cuwch ar goedd,
  Gan gymmaint oedd fy-nghuſtydd.

A minne fel dŷn byddar,
  Heb glywed dim o'u gwatwar,
Yn tewi ſôn heb atteb nêb,
  Fel mudan heb ei laſar.

Yr wi fel gŵr heb glywed,
  Neu ffôl heb fedru 'ſtyried,
Yn gado i bawb chwedleua eu hûn,
  Heb amme dŷn a'r aned.

Ond Arglwydd rwi 'n gobeithio,
  Dy fôd di yn eu gwrando,
Ac yn atteb dros dy wâs,
  I bawb a'i câs enllibio.

Duw

Duw nâd im drwg elynion,
  Gael arnai wynn eu calon,
Na chrechwennu tra font byw,
  Weld cymmaint yw 'nhrallodion.

*Pan llithro 'nrhoed ond gronyn,*
  *Hwy chwarddant bawb i'm herbyn,*
*Ac a wawdiant am fy-mhen,*
  *Gan roi i'm fen yfcymmun.*

Fe'm ganed i ddwyn poene,
  Partôwyd fi i ddiale:
A blindere 'nghalon don,
  Sydd gar fy-mron yn ddie.

*O Arglwydd rwi'n cyfadden*
  *Fy-mhechod a'm trofedden:*
*Mae 'n flin gennif o fy Nuw,*
  *Weld cymmaint yw fy meieu.*

Ond etto mae 'ngelynion,
  Yn fywiaidd, ac yn gryfion,
A'r fawl fe'b achos i'm cafau,
  Sydd yn amlhau yn greulon.

A'r rhai a dalant immi
  Dwrn drwg am fy naioni,
Sy'm gwrthnebu bôb yr awr,
  Trwy wneuthur mawr ddrygioni.

Ac am fy môd yn dilyn,
  Y peth fydd dda i'r werin,
Rwi 'n gâs gan bawb o'r bobol ddrwg,
  Ar rhai f'au gŵg i'm herbyn.

Na wrthod di fy helpy
  O Dduw, fy Nuw, er hynny;
Gwna fi beunydd ar fy-ngwell,
  Ac na fydd bell oddiwrthy.

Ond

Ond bryssia i'm cynnorthwyo,
A'm helpy byth tra gantho,
Duw fy iechyd, *Vn* a *Thri*,
Cans ynot ti rwi 'n † trysto. † *Ymddiried.*

## *Am y Sabboth.*

DEffro 'n fore gydâ 'r ceiliog,
Ffyst d'adanedd, cân yn serchog
Psalm ir Arglwydd yn blygeiniol, Psal. 92. 1, 2.
Ar bôb Sabboth yn dra suriol.

Gwisc dy ddillad gore am danad,
† Ymsancteiddia cyn dy ddwad, † *Ymbaratoa trwy weddi.*
O flaen Duw ir Demel sanctaidd,
Hoff gan Dduw ei addoli 'n gruaidd.

Gwedyn dôs â'th dylwyth gennyd,
I dŷ Dduw â chalon hyfryd,
I addoli Duw 'n y ‖ dyrfa, ‖ *Yng hynulleidfaoedd ei bobl.*
Megis *Joseph*, *Mair*, a *Josua*.

Fe fyn Duw ei addoli 'n barchus,
Ar bôb Sabboth yn gyhoeddus,
Gydâ 'r dyrfa yn y Demel,
Nid yn ddirgel yn y cornel.

Duw ddibennodd ei holl weithred,
Ar y dydd o flaen y seithfed,
Gorphen dithe bôb gorchwylion,
Cyn y Sabboth od wyt gristion.

Ymsancteiddia cyn y Sabboth,
Cadw 'n lân dy lester boenoth:
Golch dy hun mewn edifeirwch,
Ofna Dduw, a chais ei heddwch.

Cyn

Cyn y Sabboth rhaid ymgweirio,
A throi pôb bydol-waith heibio,
I gael gweithio Gwaith yr Arglwydd,
Tra fo'r dydd mewn gwir ſancteiddrwydd.

Gorphwys di, a'th dda, a'th ddynion,
Oddiwrth bôb rhyw o orchwylion:
Ac na weithia ddydd yr Arglwydd,
Waith o † bleſſer na bydolrwydd.

Gwerthu * livlod, cario beiche,
Gweithio 'n galwad, mynd i ſhiwrne,
Pôb ofer-waith pleſſeredig,
Ar y Sabboth ſydd warddedig.

Cadw 'r Sabboth oll yn brŷdd,
Fore a hwyr, a chennol dydd,
Yn dy dŷ fel yn yr Eglwys,
Yn gwaſnaethu Duw heb orphwys.

*† Difyrrwch.*
** Gair dyrus pôb mâth o ymborth yr ydys yn dybied.*
Nehem. 13. 15. Eſa. 19. 58. 13.

Cymmer fwy o † garc trech byw,
Weithio 'r Sabboth waith dy Dduw;
Nag y gymrech vn dydd amgen,
Ynghylch gweithio bydol breſſen.

*† Gofal.*

*Ar y Sûl mae mor anghenraid,*
*Geiſio Manna 'borthi 'r enaid,*
*Ac yw ceiſio ar ddydd marchnad,*
*Fwyd i borthi 'r corphyn anllad.*

Côd y bore ar y wawr ddydd,
Am y cynta ar vchedydd,
I gael treulio dydd yr Arglwydd,
Mewn duwioldeb a ſancteiddrwydd.

Nid diwrnod i ni gyſcu,
Nac i dordain yn y gwely:
Ond diwrnod iw ſancteiddio,
Yw 'r dydd Sabboth oll tro ganto.

Nid

Nid diwrnod itti loetran,
Nac i feddwi, nac i fwlian:
Ond diwrnod itti weithio,
Gwaith dy Dduw yw 'r Sûl tra dalo.

*Dydd iw dreulio mewn sancteiddrwydd,*
*Dydd i weithio gwaith yr Arglwydd:*
*Dydd i ddarllain, a gweddio,*
*Dydd i addoli Duw a'i gofio.*

Dydd i orphwys rhag gwaith bydol,
Dydd i weithio gwaith sancteiddiol;
Ac nid dydd i fôd yn segur,
Yw dydd Duw medd geiriau 'r Scrythur.

Er bod Duw yn erchi coffa,
Cadw 'r Sabboth yn ddisigla;
Nid ym ninnau 'n ceisio cadw,
Vn gorchymyn waeth nâ hwnnw.

*O'r holl ddyddie nid oes vn-dydd,*
*Ym ni'n dreulio mor ddigrefydd,*
*Mor anneddfol, mor escymmyn,*
*A'r dydd Sabboth tra fo'r flwyddyn.*

*Dydd i feddwi, Dydd i fwlian*
*Dydd i ddawnsio, Dydd i loetran,*
*Dydd i hwrian a gwylhersu,*
*Yw 'r dydd Sabboth gan y Cymru.*

*Dydd i eiste a * dyfalu,* *Gwawdio
*Dydd i ymladd ac ymdaeru:*
*Dydd i weithio gwaith y Cythrel*
*Yw dydd Duw mewn llawer cornel.*

Y Dydd a ddylem ei sancteiddio,
Ym ni fwya yn ei nyrddo,
I amherchi 'n prynwr tirion,
A dolurio ei gywir weision.

Treulia

Treulia 'r Sabboth oll yn llwyr,
Mewn sancteiddrwydd fore a hwyr:
†Rhan. Ac na ddoro † bart na chyfran,
O ddydd Duw i addoli Satan.

Coffa gadw 'r Sabboth sanctaidd,
Duw fyn gadw hwn yn berffaidd;
Rhwn a dreulio 'r fûl yn ofer,
Ni wna brîs o ddim orchmynner.

Cadw 'r Sabboth ti a'th genel,
Yn dy dŷ fel yn dy demel:
Gen.18.19 Gwna i'th dylwyth fyw mor gymmwys,
Jos.24.15. Yn dy dŷ fel yn yr Eglwys.

Tri rhyw waith all dŷn arferu,
Ar y Sabboth heb drosseddu,
Gwaith duwioldeb yn ddiembaid,
Gwaith cariadol, Gwaith Anghenrhaid.

*Sef, i Anrhydeddu Duw. Gweithred dduwiol yw trafaelu,
I dŷ Dduw i * Anrhydeddu.
Ac i wrando 'r fengyl hyfryd,
2Bren.4.23. Pyt fae 'mhell o ffordd oddiwrthyd.

Gwaith cariadawl ydyw cadw,
Dŷn a Nifel rhag eu marw,
A rhoi ymborth iddynt ddigon,
Ac ymgleddu 'r bobol weinon.

Gwaith anghenrhaid 'rhwn nis gally,
Gynt na chwedyn ei gyflawni,
Megis cadw Tŷ rhag llosci,
Gwraig wrth escor, Buwch, rhag boddi.

Gwachel ddilyn drwg gyfeillach,
Cyfaill drwg sydd wybren afiach,
Plâg yn llygru, pyg yn nyrddo,
'R dŷn duwiola a'i dilyno.

## *Am weddi.*

Pan yr elech i weddio,
Edifara am aeth heibio ;
A llywr ymolch o'th holl frynti,
Os dymynu wrando 'th weddi.

*Duw ni wrendy bechaduriaid,* Joan 9.31.
*A fo'n byw mewn pechod diriaid ;*
*F'orfydd 'madel â drygioni,*
*Cyn gwrandawo Duw dy weddi.*

Os mewn malis, rhyfyg, mwrddro,
Llîd, a thrais, y doi weddio,
I dŷ Dduw ar ben dy linie,
Duw a'th wrthyd a'th weddie. Esay 1.15.

Melldith *Moab* fydd yn cwympo,
Ar yr anwir wrth weddio ;
Ceisio maent heb gael eu † Canlyn, †*Deisyfiad*
Am fôd dwylo rhain yn fcymmyn.

Y nêb a alwo ar yr Arglwydd,
Ymadawed â'i halogrwydd, 1 Tim 2.8
Ac ymolched ei ddwy ddwylo,
Oddiwrth waed o cais ei wrando.

Tirion yw Duw a thofturiol,
Ir rhai a fydd edifeiriol ; Joel 2.12, 13.
Edifara am dy frynti,
Ac fe wrendy Duw dy weddi.

Os difaru am y cwbwl,
Pyt fae 'th fai mor gôch a'r pwrpwl, Esay 1.18.
Christ a'th olch mor wyn a'r lili,
Ac a wrendy 'n rhwydd dy weddi. 1 Jo. 1.22.

*Pan y delech i weddio,*
Jer 4.14. *Tro bob meddwl ofer heibio:*
A rhwym gartre dy fydolrwydd,
† *Yn llefaru.* Trech yn † parlo ti a'th Arglwydd.

Brwnt yw gweled pacc a ffardel,
Ar dy gefen yn y Demel:
*Brwntach yw gweld dy fydolrwydd,*
*Pan gweddiech ar yr Arglwydd.*

Pan gweddiech galw yn gynnwys,
Ar Dduw dros bôb ftâd o'r eglwys,
Ac nac arfer megis Pagan
Weddi 'n vnig it dy hunan.

1 Tim. 2. 1, 2. Galw 'n gynta dros frenhinoedd,
Am gael grâs i drîn eu pobloedd,
Mewn gwir grefydd, a llonyddwch,
Hedd, vniondeb, a dedwyddwch.

Eph. 6. 19. Gwedyn galw dros Eglwyfwyr,
Am gael grâs i draethu 'n eglur,
Holl ddirgelwch yr Efengyl,
A phregethu 'r gwîr yn rhigyl.

A gweddia dros Swyddogion,
Ar i Dduw roi grym a chalon,
Iddynt gofpi pôb rhyw droffedd,
* *Cynnal.* A * maintainio ffydd a rhinwedd.

Cais gan Dduw fendithio hefyd,
Pôb fcolheigion o gelfyddyd;
Fel y gallont lanw 'r gwledydd,
A goleuni, moes, a chrefydd.

Nac anghofia o'r cyffredyn,
Ond gweddia hefyd droftyn,
Fel y gallont fyw 'n ei galwad,
Mewn vfydd-dod, hedd, a chariad.

A gweddia dros drueuniaid,
Sydd mewn trallod, custydd embaid,
Ar i Dduw dosturio wrthynt,
A rhoi help, a chymfford iddynt.

## *Gweddi dros yr Eglwys, yn llawn o ddymuniadau grassol.*

ARglwydd grassol cadw d'Eglwys,
A'r wîn-wydden dêg y blanwys — Psal. 80.
Dy ddeheu-law di dy hunan, — 14,15.
O'r dechreuad yn dy winllan.

Nâd ir Baedd o'r coed i thurrio, — Psa.80. 13
Nâd ir Bwystfil gwyllt ei chroppio:
Nâd vn Gelyn er mwyn Iesu,
Ei hanrheithio, byth na'i scathru.

Bydd yn * wal o dân o'i bobtu, — *Mûr.
Ddydd a nôs gan ei chwmpassu, — Zec.2.5,8.
Bydd â'th lygad arni 'n wastod, — Esa.27.2,3
A'th fraich rymmus yn ei gwarchod.

Cadw hi megis byw dy lygad,
Portha hi fel dy Braidd yn ddifrad,
Trwsia hi fel dy anwyl briod,
Nâd vn gelyn byth i gorfod.

Gwella ei gwelydd, côd ei bwlchau, — Psa.51.18.
Gwilia ei phyrth, a chweiria 'i thwrau;
Cadarnhâ bob barr sydd ynddi,
Nâd vn gelyn i difrodi.

*Nâd i Dwrc, na Phab, na Phagan,* — Gen.12.3.
*Nac vn Pennaeth waethu'th winllan.*
*Ond bydd elyn iw gelynion,*
*A diffetha ei digassogion.*

Glawia arni yn gawade,
Dy fendithion nôs a bore,
†Canghen-nau. Nes ei tanno † ofgle ei gwinwydd,
Dros y Bŷd o'r môr i gilydd.

*Tafla. * Towla i lawr, a dryllia 'n gandryll,
Datc. 12. 9. Rhwyfc y ddraig, a'i theyrnas dywyll:
Adeilada ym mhôb cornel
Deyrnas Christ, a Sathra 'r cythrel.

2 Theff. 2. 3, 4, 8. *Christ â'th anal llwyr ddifetha*
‖Y Pâb. *Y* ‖ Mâb Anwir *fy'n ymddrycha*,
†Eglwys Rufain. *A'r* † hên Buttain *goch fy'n yfed*
*Gwaed dy Saint, i dorri ei fyched.*

Datc. 17. 1, 6. Gwna i'r Fengyl wenn farchogaeth,
Trwy 'r holl fŷd at bôb cenhedlaeth,
I gael gorfod a gorchfygu;
Dat. 6. 2. A thro bawb o'th blant i chredu.

Adeilada o gylch-gwmpas,
Ym mhôb Gwlâd dy rasfol Deyrnas,
Ym-mhlith Groegiaid ac Iddewon;
Gwna hwy Arglwydd yn Griftnogion.

Ir Iddewon gwna drugaredd,
Dangos iddynt dy wirionedd:
Rh f. 11. 25, 26. Tynn ei anghrediniaeth ymmaith,
2 Cor. 3. 16. Derbyn hwynt i'th gorlan eilchwaith.
A bendithia pôb rhyw Deyrnas,
Lle addolir Christ yn addas:
Cadw 'r fengyl fanctaidd iddynt,
Nes dêl Christ i farnu rhyngthynt.

## *Am Dyngu.*

YR Iddew dîg a rwyg ei wiscoedd,
Pan y cabler Duw y lluoedd:
Llawer Christion gwael ni † syfla, † Chythrybwlir.
Pan y cabler Duw gorucha.

Os tyngei Sibswn i ben *Pharo*
Yng ham, fe gae ei ddi-eneidio:
Os twng y christion gorph ei Brynwr,
A'i gîg a'i waed, nid oes Dialwr.

*Gwn na frathei yr Iddewon,*
*Ghrist ond vn-waith dan ei ddwy-fron:*
*Mae 'r cristnogion â'u câs lwe,*
*Yn ei frathu fîl o weithie.*

Na ryfedda weld gwŷr mawrion, Lev. 18.28 Hos. 4.2,3.
Yn gwerthu 'r Tir a 'r Tie gwychion:
*Cablu Duw a bair yn fuan,*
*Ir Tai, a'r Tir droi 'r meistri allan.*

*Di gae weld yn nhai Gwŷr mawrion*
*Bedwar Pâr o garde brithion,*
*I rai dyngu ac ymgigo,*
*Heb vn llyfyr i weddio.*

*Rwyfi 'n tybied ac yn credu,*
*Na chair clywed cassach dyngu,*
*Gan Gythreiliaid yn † Gehinnon,* † Uffern.
*Nag a glywer gan gristnogion.*

Nid oes Sôn yn nheie llawer,
Am enw Duw ond pan y cabler;
Nac am werthfawr waed y Jesu,
Ond tra fyther yn ei dyngu.

Zech. 5. 2, 3, 4. Melldith Duw medd *Zecharias*,
A rêd i Dŷ 'r vdonwr diras :
Ac a lyna wrth bôb ceibren,
Nes pydru 'r tŷ, a'i droi yn dommen.

Gwell it drigo lle bo powdwr,
Yn y gegin, yn y Parlwr,
Nag it drigo lle bo tyngu,
Yn y Parlwr neu 'n y Penty.

2 Bren. 19. 35. Naw vgein-mîl o lu 'r Assiriaid,
Y laddodd Angel Duw yn ddirriaid,
Mewn vn nos-waith gynt am gablu
Enw 'r Arglwydd a'i ddirmygu,

Lev. 24. 16 Mae Duw 'n erchi llwyr labyddio,
Pôb rhyw ddynion ag a gablo :
*Nid dieuog o'r dŷn sceler,*
*Ac a gymro 'i enw 'n ofer.*

Pyt sae Farnwyr yr holl Deyrnas,
Yn rhyddhau 'r vdonwr diras ;
Duw ei hun a farn yn siccer
Bawb a gymro ei enw 'n ofer.

*Dyled-swydd Gweinidogion.*

*This Poem is collected out of the Authors rough draught. Some things are omitted because the coppy is illegible. It's pitty that the transcript cannot be found.*

Exod 28. 36, 38. DWg sancteiddrwydd yn dy dalcen,
Fel y gallo pobol ddarllen,
Wrth d'ymddygiad a'th sancteiddrwydd,
Dy fôd ti yn wâs ir Arglwydd.

Pâr i'th glŷch sydd wrth dy shiacced,
Ganu 'r ffordd y bech yn cerdded ;
Fel y gallo pawb yn rhygyl,
Glywed gennit eiriau 'r fengyl.

Pâr ir Pomgranadau ffrwythlon, Exod. 28.
Oedd wrth ymyl shiacced *Aaron*, 33, 34, 35.
Bêr-aroglu â'th ddaioni,
Bôb rhyw dyrfa ddelech iddi.

Pâr i 'rogle dy ymddygiad,
Pâr i lewyrch dy lân alwad,
Pâr i ffrwyth dy wefus draethu,
Mae gwâs wyt ir Arglwydd Iesu.

Gŵr i Dduw wyt wrth dy alwad,
Gwâs i Ghrist ein pen a'n ceidwad: 2 Cor. 5. 20.
*Nid yw gweddus i wâs Brenin,*
*Fynd mor frwnt a Gŵr cyffredin.*

Cennad wyt ir Brenin mwya,
I fynegi ei Air ir dyrfa:
Nâd vn Gair heb ei fynegi,
O'r hyn archwys itti draethu.

Bugail wyt i gadw 'r defaid,
'Brynodd Christ â'i waed bendigaid: Act. 20. 28.
Nâd vn ddafad farw o newyn, Ezek. 33. 8
Rhag mynd ei gwaed ar dy gobyn.

Dŵg Sancteiddrwydd gydâ 'th *Urim*, Deut 33. 8
Dŵg wybodaeth gydâ 'th *Thwmmim*:
Dŵg y ddau hyn ar dy galon,
Hyn yw dlyed ffeiriad ffyddlon.

Rhoest dy law ar gorn yr arad, Luc. 9. 62.
Dôs o'th flaen, a dilyn d'alwad,
Na thro 'n d'ôl fel ci at chwdfa,
Ni chai 'r coron heb hir-bara. 2 Tim. 4. 7, 8.

Gwradwydd oedd i *Ephraim* fydyr,
Droi 'n ei ôl yn nydd y † frwydyr: † *Ymladdfa*
O troi 'n ôl oddiwrth dy alwad,
Gwaeth o'th ddiwedd nâ'th ddechreuad.

Mat. 4. Gado 'r llong fel *Iaco* a Pheder,
Dilyn Ghrist tra caffech amser:
Ni ddylei Gweinidog fôdyn wr bydol. *Rhaid i weision y Messia,*
*Ado 'r Bŷd fel* Lefi *'r dollfa.*

Bwrw 'r Bŷd a'i bethe oddiwrthyd,
Rwyt ti 'n rhedeg am dy fywyd:
† Llwyth. † Ffardel gron o bridd a *hindra
*Rhwystra Cawr, neu Farch wrth redeg gyrfa.

Towla ffwrdd bôb peth sy'n pwyso,
A'r pechodau sy'n dy hindro:
Rheded pawb y nefol yrfa,
Heb. 12. 1. Trwy amynedd am y cynta.

||Cyfarwydd. Portha ddefaid Christ yn || gywrain,
*Gymmell. Yn wllysgar heb dy * gathrain:
1 Pet. 5. 2, 3, 4. Pan ddangoslo Christ ei fawredd,
Di gae goron ac anrhydedd.

*Gwae pob Bugail mûd anghynnil,*
*Na phregetha Christ a'i fengyl:*
☞ *Gwaed eneidiau mîl ofynnir,*
Ezek. 33. 8 *Ar llaw hwnnw pan ei bernir.*

Mewn tair ffordd y dlyt ti borthi
Defaid Christ, a'u llon gomfforddi:
*Ag athrawiaeth bûr 'fengylaidd,*
*Gweddi frŵd, a Bywyd Sanctaidd.*

Gwell yw ffeiriad da nag Angel,
Gwaeth yw 'r drwg nâ'r ddraig, neu'r cythrel:
*Y Da a'n dwg i dîr goleuni,*
*Y Drwg a'n gollwng bawb i'n colli.*

Trin dy winllan, hi ddwg rawn-win,
Hoya dy faes, fe ddwg egin,
*Neu fe ddaw 'n ddaionus. Trin dy braidd, fe fydd llwyddiannus,
Dysc dy Blwyf * fe fydd rinweddus.

Dyscwch

Dyſcwch eich praidd, ac † arweiniwch, — †Sef trwy eich ſiampl dda.
I wlâd *Ganaan* trwy 'r anialwch :
Nid nes ffeiriad fôd yn *Ddoctor*, 
Oni wnaiff yn ôl ei gyngor.

Byddwch dirion wrth y defaid, — Eſay.40. 11.
Cwnnwch lêf yn ôl y bleiddiaid :
*Mwynder a wna 'r Ddafad bori,*
*Llefain a wna 'r Blaidd gynffonni.*

Rhowch y ſron ir ŵyn cariadus, — 1Cor. 4.21
Rhowch y ffon wrth Hwrdd cildynnus : — 2Cor. 13.2
Byddwch fwyn wrth rai diniwed,
† Coſpwch bawb o'r rhai pengaled. — †Sef trwy geryddon a bygwthion, ac eſcymmundod.

Bydded arfau yn eich dwylo,
Fel plant Iſrael wrth adeilo ;
Llŵy i * fildo, cledd' i 'm-ddiffin, — Neh.4.17.
Ac i ymladd dros y werin. — *adeiladu.

Porthwch bawb eich Praidd â Manna, — 1Pet.5.2.
Nedwch arnynt eiſie porſa ;
O'r bydd marw vn rhag newyn,
Bydd Gwaed hwnnw ar eich cobyn. — Ezec. 33. 8.

Cyrchwch adre, trowch i'r gorlan, — Ezec. 34. 4.
Y ddiſperod aeth i || ſtraglan : — ||gyrwydro
Nedwch vn i gyfrgolli,
Fe fynn Duw am bôb pen gyfri. — Heb.13.17

*Canwyll 'ych i roi goleuni,* — Mat.5.14. 16.
*'N eglwys Dduw ir holl gwmpeini :*
*O! diſcleiriwch fel canhwylle,*
*Fel y rhodiom yn eich gole.*

Y lamp a dreulia'i hun o'r Thyſſur,
Yn goleuo 'r gwŷr addolwŷr :
*Treuliwch chwithau 'ch oes mor ffyddlon,*
*Yn goleuo eich plwyfolion.*

Halen

Mat. 5.13. Halen 'ych i † ſeſno eneidie,
†Tymmberu, helio. Rhag drwg * ſawry mewn pechode:
*Arogliad. || Seſnwch galon pawb ſy'n pechu,
||Tymmberwch. Rhag i Griſt â'i droed eich ſathru.

Golwg dôſt yw gweled deſaid,
Yn eu llarpio 'n ſaſnau bleiddiaid;
Toſtach gweld eneidiau 'n griddfan,
Hoſ. 4.6. Eiſie Dŷſc yng-hrampe Satan.

*yd. Tôſt yw gweled Maes o * laſyr,
Yn pydru eiſieu help medelwŷr:
☞ *Toſtach gweled mîl o ddynion,*
*Yn meirw eiſieu help Athrawon.*

Tôſt yw gweled Plentyn bychan,
Eiſieu help, ar Rês yn brwylian:
*Toſtach gweld eneidiau bagad,*
Dihar. 29. 18. *Mewn tân eiſie help offeiriad.*

Tôſt gweld mîl yn mynd i boddi,
Eiſieu rhyw vn i cynghori:
*Toſtach gweled mîl yſowaeth,*
*Aiff i vffern eiſie athrawiaeth.*

Y Ceiliog gwynn y ffyſt ei adanedd,
I ddeffro'i hun cyn deffro'i wragedd:
Felly dlye 'r holl offeiriaid,
Ddeffro'i hun cyn deffro'i deſaid.

Fel y dyge wialen *Aaron,*
Ddail, a blodau, a chnau ffrwythlon,
Pan oedd eraill o bôb graddau,
Num. 17.8 Heb ddwyn ffrwyth, na dail, na blodau:

*Felly dlye 'r Gweinidogion,*
*Mewn rhinweddau fod yn ffrwythlon:*
*Pan bo eraill o bob galwad,*
*Yn ddi-rinwedd eu hymddygiad.*

Beth wnair â'r dall i arwain deilliaid ? Mat. 15.14
Beth wnair â'r mûd i gyfarth bleiddiaid ? *Y mae'r coppy yn ammherffaith yma fel mewn lleoedd eraill*
Beth wnair â'r hesp heb laeth mewn bronne,
I fagu plant, i borthi eneidie ?

Ni wnair dim â chî cysgadur,
Ni wnair dim â gweision segur,
Ni wnair dim â halen diflas; Esa. 56. 10.
Ni wnair dim â ffeiriad llanas. Mat. 5. 13.

Fe wnair stalwyn o hên farch tywyll,
Fe wnair tân o hên dŷ candryll,
Fe wnair peth â chrochon twllog;
Ni wnair dim â ffeiriad diog.

Pwy ddŷd ddall i arwain deilliaid ?
Pwy ddŷd mûd i gyfarth bleiddiaid ?
Pwy ddŷd ynfyd i roi cyngor ?
Pwy ddŷd ddwl i rannu tryssor ?

*Dodi 'r dall ar ben disgwylfa,*
*Dodi 'r dwl i ddyscu tyrfa,*
*Dodi 'r diddysc wrth y † llyw,* †*Sef stern, neu llyw yr eglwys, iw rheoli.*
*Yw dodiad dŷn, nid dodiad Duw.*

Os *Doctor* wyt, ô dysc ni 'r deillion,
Os bugail da ymgledda 'r gweinion, Ezec 34.2
Os * steward doeth cyfranna 'n gywir, 1 Cor. 4.1. * *Goruchwyliwr.*
Os gwâs i Grist, gwna arch dy feistr..

Os ci cywir, cyfarth lladron, Luc. 12 42
Os pyscodwr, dala ddynion, Esa. 56. 10 Mat. 4. 19.
Os gwiliedydd, gwilia 'r gelyn, Ezec 33.7
A rho 'mhryd y rhybydd iddyn.

Gwinllannwr wyt, o gweithia 'n ffyddlon, Dihar. 24. 30, 31. &c.
Nâd i'th winwydd fynd yn wylltion:
Trîn eu gwraidd, a'u brîg, a'u bonie, Luc. 13. 8. 9
Nâd eu torri eisieu ffrwythe.

Lle

Lle ni hauir hâd, ni ſedir,
Lle ni chanir corn ni chyffrir,
†ebynydda Lle ni phorthir praidd ni † phrwſia,
*Sef, yn yſprydol. Lle ni ddyſcir plwyf ni * lwydda.

Joan 21.15 16, 17. *Peder, Peder,* od oes cariad,
Gennyd at dy Ghriſt a'th Geidwad,
*Portha, Portha, portha'i ddefaid,*
*Mâg ei ŵyn, a tharfa'r bleiddiaid.*

Nâd ei ddefaid fynd ar ddidro,
Nâd ir Blaidd, na'r llew eu ſcliffio,
Ezec. 34.4 Nâd ir cwâl a'r pŵd eu mallu,
Eiſieu trîn, a'u troi au maethu.

Oh! diſcleiriwch yn eich gradde,
Datc. 1.20 Megis ſêr mewn noſwaith ole:
Ac na fyddwch fel y lleuad,
Sydd a brychau yn ei llygad.

Gwnewch eich clywed yn yr Eglwys,
Fel Angelion ym Mharadwys:
Gwnewch eich gweled yn y dyrfa,
Fel y ſêr pan bont ddiſcleiria.

Byddwch farw yn y pulpit,
Yn pregethu 'r fengyl hyfryd,
Nai'n 'r eglwys ar eich daulin,
Yn gweddio dros y werin.

Bydded pôb offeiriad glân,
Nehem. 9.19. Fel piler niwl, a'r piler tân,
Yn cyfrwyddo 'r ffordd ir bobol,
Fynd o'r Aipht i *Ganaan* nefol.

*Cydwybod. *A pha * gonſciens y gall ffeiriad,*
*Gippio 'r cnŷf heb borthi 'r ddafad,*
Ezec. 34. 2, 3. *Bwytta 'r offrwm mor ddiwybod,*
*Ac heb weiddi 'n erbyn pechod.*

Ol

*O! ba lêf ac achwyn irad,*
*Y fydd ddydd y farn gan fagad,*
*A'm ir ffeiriaid eu newynu,*
*Au handwyo eisie eu dyscu.* Ezec.33.8

---

## *Am Ragluniaeth Duw.*

DUw ni attal vn daioni
Oddiwrth nêb a fo 'n ei ofni:
Fe ry grâs ac vrddas iddynt, Psal.84.11.
Ni bydd ffael na diffyg arnynt. Psa.34.10.

Bwrw d'ofal ar yr Arglwydd,
Ac fe'th bortha mewn helaethrwydd:
Ni âd Duw ir cyfiawn gwympo,
Na dwyn diffyg byth tra gantlio.

Mae Duw 'n dwedyd wrthyd (craffa)
Lleda 'th safan minneu llanwa: Psa. 81.10
Cymmer boen mewn galwad vnion, Eph.4.8.
Mi fendithia 'th holl orchwylion.

Er bôd eisieu ar y llewod,
A'r rhai cryfa o'r bwystfilod; Psa.34.10
Ni bydd eisieu dim daioni,
Ar a † drysto i Dduw 'r Tosturi. †*Ymddiriedo.*

Mae Duw 'n porthi 'r bobol aflan,
Mae'n rhoi maeth ir *Twrc* a'r *Pagan*:
Mae 'n rhoi ymborth iw elynion,
Oni phortha Duw ei weision? Mat.5.45.

Gwachel chwennych gormod olud,
Ymfodlona ar maint sydd gennyd:
Bŷth ni ffaela, bŷth ni edy Heb.13.5.
Duw o'r dyn a fo 'n ei wsnaethu.

Yn

Ym mhôb diffyg cais gan Dduw,
Rhoddwr pôb daioni yw :
Hab. 1. 16. Gwachel drysto i'th rwyd dy hûn,
Rhag colli 'r pyscod s'wrth dy glûn.

Llawer dŷn sy'n dlawd yn byw,
Eisie ceisio cymmorth Duw :
A llawer dŷn sy'n mynd i fegian,
Am drysto i rym a'i rwyd ei hunan.

Lle mae Duw mor hael ir werin,
Pam y marw cant rhag newyn ?
Am roi coelar rym eu breichieu,
Heb geisio cymmorth Duw na'i oreu.

Ni chwsc, ni hûn o'n Ceidwad grassol,
Sy'n gofalu am ei bobol :
Tra fo'm bawb yn cyscu 'n esmwyth,
Psa. 121. 4. Mae 'n gofalu am ei dylwyth.

*A ddichon gwraig anghofio ei phlentyn,*
Esa 49. 15 *A sugno ei bronne yn ei rwymyn ?*
*Pas anghofie hon ei meibion,*
*Bŷth ni anghofia Duw o'i weision.*

Cyn bo eisieu arian arnad,
Os gwasnaethu Dduw yn ddifrad,
Mat 17. 27 Fe bair Duw ir pyscod garrio
Arrian itti i'th ddi-rwydo.

Er na bo dy stôr ond cwtta,
1 Bren. 17. 16. Fel blawd y weddw o *Sarepta* :
Os gwasnaethu Dduw yn ffyddlon,
Fe wna Duw fod hynny 'n ddigon.

Gwachel roi dy bwys na'th hyder,
*Medr. Ar dy * scil dy hun, a'th gryfder :
Ond ar Dduw dy helpwr vnig
Or ceisi fôd yn ddyn di-ddiffig.

Mae

Mae Duw yn porthi 'r Adar gwylltion,
Mae 'n dillattu 'r lili gwynnion,
Mae 'n rhoi maeth i bôb peth bywiol,
*Oni phortha ei blant a'i bobol?*

*Ni haua 'r fran, ni feder fedi,*
*Nid oes na chell, na scubor iddi:*
*Etto er hyn mae Duw gorucha,*
*Yn porthi 'r Brain bob haf, bob gaia.*

*Ni chrîb, ni nŷdd, na'r Rhôs, na'r lili,*
*Ni feder vn na gwau, na stofi:*
*Etto 'r Arglwydd a'u dillatta,* Mat. 6. 26, 30.
*Mewn harddach wisc nâ'r Brenin gwycha.*

Llygaid pôb creadur bywiol, Psal. 145. 15.
Sydd yn disgwyl ar Dduw nefol,
Am roi maeth ac ymborth iddynt,
Ynte 'n hael yn rhannu rhyngthynt.

Mae 'n agoryd ei law rassol,
Ac yn porthi pôb peth bywiol,
O'i râs, a'i rôdd, mewn pryd, a messur,
Heb adael gwâll ar vn creadur.

Mae 'n rhoi bwyd i gnawon llewod,
Mae 'n rhoi maeth i'r gwyllt fwyst-filod,
Mae e'n porthi Plant y Gigfran, Psa. 147. 9.
*Oni phortha ei blant ei hunan?*

Ni chwymp vn o wallt dy ben, Mat. 10. 29
Ni syrth aderyn tô ar bren;
Ni ddigwydd dim, heb brŷdd ragweliad
Duw 'n Creawdwr mawr, a'n Ceidwad.

Duw rows itti gorph, a bywyd,
Anadl, einioes, cryfder, iechyd,
Deall, Rheswm, côf, a chyfri,
*Oni ddyry fara itti?*

Fe werthyr dau o adar tô,
Am ffyrllyng fechan lawer trô;
Er gwaeled ynt mae Duw 'n eu porthi;
Di dalu fwy nâ dêg o'r rheini.

Er bôd Duw 'n gofalu 'n gaeth,
Am bôb creadur ac a wnaeth;
Mae 'n gofalu am ddŷn a'i enaid,
Fwy nag am yr holl gredùriaid.

1Pet. 5.7. Rho dy ofal ar dy Dduw,
Mae 'n gofalu drosot clyw:
Os gwasnaethu *Grist* yn gywir,
Mae dy gyflog gantho 'n siccir.

## *Am y Pur-dan.*

YMae 'r Papistiaid yn dala, fod heb-law nêf ac vffern *Drydydd le*, ble mae eneidiau pobl, trwy ddioddef cospedigaeth tân, yn rhoddi iawn i Dduw am ryw bechodau nas maddeuwyd iddynt yn y Byd hwn; ac yn cael trwy hynny lanhâd oddiwrthynt: Ac a dichon ffryns y marw trwy weddiau, ac Offerennau, ac Arian a roddir ir Pâb, gael gollyngdod ir cyfryw eneidiau allan o'r *Purdan.* Yn erbyn yr athrawiaeth gelwyddog, gythreulig hon y mae 'r Awdwr fel hyn yn dywedyd.

NId oes dim all golchi enaid
Dyn, ond gwaed yr Oen bendigaid,
†*Ymmaith* 'Rhwn sy'n golchi † ffwrdd bôb pechod,
Datc. 1.5. Heb.9.14. Ac yn puro 'r holl gydwybod.

Nid oes ffordd ond dwy ir hollfyd,
Mat.7.13, 14. Ffordd i ddestryw, ffordd i fywyd:
*Ni ddangossodd Christ yn vn man,*
*Drydydd ffordd yn mynd i'r pûrdan.*

Nid

Nid oes hefyd ddim ond daule;
I blant dynion gwedi ange,
Nêf ac uffern, heb le trydydd,
*Nid yw pûrdan ddim ond celwydd.*

Nid oes ond dau * sort o ddynion, *Fâth.
Vn yw'r Anwir, llall yw'r ffyddlon:
Y rhai anwir a ddifethir,
A'r rhai ffyddlon oll a gedwir.

Tân a ddichon boeni dynion,
Tân all losci daiarolion:
*Ni all Tân, na'r holl greduriaid,*
Ond gwaed Iesu buro 'r enaid. Act 4. 12. Mat. 1. 21.

Tân all buro 'r Aur o'i sorod,
Tân all losci 'r ûs, a'r callod:
Ni all Tân, na dim er hynny,
Buro 'r enaid ond gwaed Jesu.

Y dŷn nad elo i Baradwys,
Lle mae Jesu Grist a'n prynwys;
Nid oes lŷn nad el dan drottan,
I bwll vffern lle mae Satan.

Y dŷn nad elo megis *Lazar*,
I glŷd fonwes *Abram* hygar,
Nid oes lŷn nad êl i'r ffwrnes,
Ble mae 'r diawl yn poeni *Difes*.

Nid yw *Purdan* yn y Nefoedd,
Yn y ddaiar, yn y moroedd,
Nac yn uffern: ble gan hynny
Y mae Pûrdan yn gartrefy?

Rhai a ddwedant fôd y purdan,
Yn y môr yn fawr ei ddwrddan:
Rhai 'n y ddaiar; Rhai yn † Ætna,
Ni wn p'un o'r rhain a greda.

† *Glann fawr o ba yn y mae Tân yn d'a mynych yn dyfod allan*

O o Rhai

Rhai a ddwedant mae Angelion,
Rhai mae hên gythreuliaid duon,
Sy'n || tormento 'r ſawl ſy'm mhurdan;
Rhai ni wyddant beth y ddwedan.

|| Poeni.

Rhai ſy'n tybied mae tân ffyrnig,
Rhai mae Tân a Dŵr berwedig,
Sy'n poenydio 'r ſawl ſy'm Hûrdân;
† 'Does mawr cydfod ar ei * llaſan.

† *Nid oes.*
* *Ar eu ſwmp o gelwydd.*

Rhai ſy'n tybied mae pechode
Crynnion, bychain, hawdd eu madde,
Ys yn goſpi yn y purdan,
Rhai mae beie marwol anian.

Rhai || dormentir yn y Purdan
Hyd ddydd barn, os gŵir y ddwedan,
Rhai dros filoedd o flynydde;
Rhai nes offrwm dros eu 'neidie.

|| Poenir.

Fe all *ffeiriad* ond cael offrwm,
Fe all *Eſcob* os rhy bardwn,
Fe all *Pâb* os gwîr y ddwedan
Dynny fynno maes o'r purdan.

*Fe gaiff † Carl am * ddryll o Arian,*
*Ei ryddhau o boene purdan:*
*Ond y tlawd ſe'b geiniog gantho*
*Fe gaiff yndi hîr boenydio.*

† *clown cyfoethog.*
* *Am arian y roddo ei ffryns.*

Od yw purdan yn ein puro,
Oddiwrth bechod gwedi 'n nyrddo;
*I ba bwrpas yr offrymmodd*
*Chriſt ei werthfawr waed, a'n prynodd?*

Os y purdan ſy'n ein golchi,
O'n pechodau oll, a'n brynti;
Pam y dywed y Scrythyrau,
Mae gwaed Chriſt ſy'n golchi 'n beiau?

*Ofer oedd i fâb Duw cyfion,*
*Golli gwerthfawr waed ei galon,*
*I'n glanhau oddiwrth ein brynti;*
*Os y purdan sy'n ein golchi?*

O cai waed fy Nghrist i'm golchi,
O'm holl bechod a'm holl frynti:
Cloed y *Pâb* ei nghenol purdan,
Ni bydd arnai byth o'i ofan.

Dannedd gwaedlyd y pabyddion,
Sydd yn gollwng gwaed cristnogion,
Sydd yn dangos nad gwir ddefaid,
Crist yw 'r rhain, ond rheipus fleiddiaid.

---

## *Am Barbâd mewn stâd o râs.*

HOll-alluog ydyw *Duw*,
Da, a di anwadal yw:
Fe ddwg i ben yr hyn * arfaethodd, *Bwrpasf- odd.*
Ni chyll ef vn o'r rhai ddewissodd.

Nid yw bossib golli vn,
O'r rhai ddewissodd Duw ei hun:
Ni all y Bŷd, na'r cnawd, na'r cythrel,
Dynnu vn o ddwylo 'r bugel. Jo. 10. 28.

Duw sydd ffyddlon rhwn a'n golchodd, 1 Thess.
Fe gyflawna rhyn arfaethodd: 5. 24.
Fe geidw yn lân y corph a'r yspryd,
Nes del Christ iw dwyn ir Bywyd.

Fe scrifennodd Duw cyn cynfyd Datc. 20.
Enwau ei Sainct, yn Rhol y bywyd, 12.
Ni all holl gyfrwysdra Satan,
Grafu vn o'u henwau allan.

Y rhai ddetholodd Duw cyn bŷd,
Rheini eilw Duw 'n ei bryd:
Rheini oll a wîr ſancteiddia,
Rhuf. 8. 30 Ac yn y nêf fe'i gogonedda.

Duw medd *Paul* a brûdd oſſododd
Siccr ſail ir rhai ddewiſſodd:
2 Tim. 2. Fe ŵyr pwy yw 'r rhai ddetholwys,
19. Ni chyll ef vn o'r rhai ddewiſſwys.

O braidd bychan paid ac ofni,
Luc. 12. 32 Yr hael Dduw rows deyrnas itti,
Er mwyn Chriſt, er cyn dechreuad,
Mat. 25. Ni all nêb ei dwyn oddiarnad.

34. Jer. 32. 40 Duw addawodd ddodi ei oſan,
Yng-halon pawb o'i ddewis Gorlan;
Ac na chânt hwy lwyr ymado,
† *Gwbl.* Na throi byth yn † gwitt oddiwrtho.

2 Cor. 1. Mae 'n Tâd nefol gwedi ſelu
21, 22. Rhai ddetholodd e'ng-Hriſt Ieſu,
* *Wyſtl.* A rhoi 'r yſpryd glân yn * erneſt
I bob vn i cadw 'n oneſt.

Jo. 10. 28. Mae Mâb Duw yn rhoi dan warant
Dragwyddol fywyd i'r rhai gredant:
Bych ni chollir vn o honynt,
1 Jo. 5. 12. Y mae Chriſt a'i yſpryd ganthynt.

1 Pet. 1. Mae Duw 'n cadw trwy fawr allu
4, 5. Ei blant ei hun rhag fficidd bechu:
A thrwy ffydd yn rhoi yn helaeth
Nêf i'r rhain, a iechydwriaeth.

Judas 24. Duw a geidw ei blant rhag cwympo,
Phil. 1 6. Duw a'u cynnal rhag tramgwyddo:
Duw a'u ceidw yn ddiſeius,
Hyd ddydd barn yn dra goſalus.

Nid

Nid cadwedig ydyw *Iaco*,
Am na newid byth o hano:
Ond cadwedig er hyn yw, Mal. 3. 6.
Am na newid byth o Dduw.

Nid yw ficcrwydd † iechyd dyn, † *Iechydwriaeth.*
Yn fefyll ar ei law ei hun: Heb. 10. 16
Ond ar brommais Duw, a'i ammod, *hyd y* 24.
Yn ei fab am fadde pechod.

*Er i Beder wadu 'feiftyr,* Mar. 26. 75
*Er i Ddafydd gwympo 'n fudyr,* Psal. 51.
*Yspryd Duw a wnaeth i'r ddauddyn,*
*'Difarhau, a gwella gwedyn.*

Er bôd meibion Duw yn cwympo,
Ac yn pechu wrth ei temptio:
Ni chwymp vn o'r rhain mor ddiffaith, Psa. 37. 24.
Ac na allont godi eilchwaith.

Er i dafod *Peder* wadu
Chrift, rhag ofan ei garcharu;
'Roedd ei galon etto 'n ficcir
Yn gwîr lynu wrth ei feiftir.

Er ir faint dramgwyddo weithie,
Ac anghofio Duw ar brydie:
Ni all ûn er hyn dramgwyddo,
Fel na allant ail * recytro. * *Codi drachefn.*

O pecha un o'r detholedig,
Mae yfpryd Duw 'n ei gyffro 'n † darrig, † *Daer.*
I 'difarhau trwy dduwiol driftwch: 2 Sam. 24. 10.
Nes gwella 'r bai ni chaiff lonyddwch.

Os dewifodd Duw di un-waith,
Bŷth ni wrthyd Duw di 'r eilchwaith; Jac. 1. 17.
Os ni newid Duw o'i gariad: Jo. 13. 1.
A garo dro, fe câr yn waftad.

*Fe ddylei pob Gwraig fagu ei phlentyn (sef, oni fydd hi gwann a chlafycca) â'i llaeth ei hunain.*

MÂg dy blant â llaeth dy fronne,
Na fydd waeth nâ'r ddraig ir dreige:
*Pôb anifel, a phob bwystfil*
*Berchen llaeth a fâg ei eppil.*

Fe wnaeth Duw dy fronne i fagu,
Fel y gwnaeth e'r grôth i blannu:
Nid gwell y fron na rotho sugyn,
Hos. 9. 14. Nâ chrôth yr hêsp na ddygodd blentyn.

Rhows Duw laeth i'th fron trwy fendith,
Na chadw hwn i droi yn felldith:
Gen. 21. 7. Sara yn ddêg a phedwar vgen,
Heb. 11. 11 Fagodd Isaac yn dra llawen:
*Mae'r coppy yn ammherffaith yn y mannhyn.* O paratows Duw laeth i'th fronne,
I fagu 'ch blant â llaeth eu mamme:
Tôst it ddwyn oddiar dy blentyn,
Y peth y rows natturiaeth iddyn.

*Cynghor i wraig i beidio tristhâu gormod ar ol marwolaeth plentyn.*

M*artha, Martha* paid ac ŵylo,
Cymmer gyssur, gâd dy'chneidio,
Am dy blentyn bach y gymrwys,
Duw mor gynnar i Baradwys.

F'anwyl chwaer, na thorr dy galon,
'N ŵylo 'n ôl dy blentyn tirion,
Aeth gan Dduw, o boen a blinder,
I'r nêf at Grist, i gael esmwythder.

Cennad Duw a ddaeth iw geisio,
O blith y drwg lle 'roedd e'n tarrio,
I fynd ag ef i'r nefoedd ole,
At y saint i ganu hymne.

Yr Angylion gynt a gyrchwys, Luc. 16. 22
I goel *Abram* enaid *Lazrus*,
Aeth ir nefoedd yn eu breichiau
Ag enaid bach dy blentyn dithau.

Duw a'i cippiodd ar frŷs atto,
Cyn i † bechod caeth ei nyrddo,
Na chyfeillach ddrwg ei lygru,
Na'r malisiwr dû ei ddrygu.

† Sef, *cyn i bechod gweithredol ei nyrddo.*

Nawr ni ddichon vn gwrthnebwr,
Nac oferddyn, na malisiwr,
Wneuthur speit na niwed iddo:
Gydâ Christ y mae e'n tarrio.

Mae e'n gorphwys mewn esmwythder,
Oddiwrth bôb rhyw boen a blinder:
Mae'ef gydâ 'r Oen a'i gwmpni,
Yn clodforu Tâd goleuni.

Cymmer gyssur, cwyn dy galon,
Goruwch pôb rhyw ddaiarolion:
* Gwŷl y man lle mae dy blentyn
Gydâ Christ, ni ŵyli ddafnyn. Dat. 14. 4.

* *Gwêl.*

Gwŷl lle mae yr hwn a'i prynodd,
Gwedi dderbyn atto i'r nefoedd,
I blith miloedd o wyryfon,
Sydd â'u cyrph a'u llestri 'n loywon.

Gwŷl y wisc o Syndon purwyn,
Y rows Christ am dan dy blentyn,
Sy'n discleirio fel yr Haul-wen,
Yn y nêf yngh ylch dy fachgen.

2Tim.4.8. Gwŷl y goron o aur melyn,
Y ddododd Christ ar ben dy blentyn:
Gwŷl orfoledd plant goleuni,
Wrth ei urddo a'i goroni.

† Mintai neu Lû o gantorion Gwŷl y † Côr lle mae e'n gorphwys,
Gydâ Angelion ym Mharadwys:
Gwŷl y gadair lle mae 'n eiste,
Gydâ 'r Saint i ganu psalme.

Datc.14 2 Gwŷl y delyn Auraid hefyd,
Sy'n ei law yn canu 'n hyfryd,
Ir Tâd nefawl 'rhwn a'i crewys,
A'r Oen sanctaidd rhwn a'i prynwys.

Gwrando 'r caniad mwyn *Hosanna*,
Esay 6. *Sant*, *Sant*, *Sant* ac *Halelnia*,
Datc.19.4. Mae e'n ganu i Dduw 'r lluoedd,
Yn y man yr aeth i'r nefoedd.

Datc.2.17 Gwŷl y ffrwythe pêr a'r Manna,
Mae dy blentyn yn ei fwytta,
Gydâ 'r saint ar ford yr Oen,
Yn ddibringder, yn ddiboen.

Dat.22.6. Gwŷl y ffynnon wenn fendiged,
A'r Dŵr bywiol lle mae 'n yfed:
O'r hwn gwedi brofi unwaith,
Ni ddaw bŷth ddim syched eilchwaith.

Gwŷl y dre lle mae e'n trigio,
Ag Aur melyn gwedi phafio,
* Muriau. A'i holl * welydd o gylch gwmpas,
Datc.21. O fain gwerthfawr, *Beril*, *Topas*,

Gwŷl pwy ydyw ei gyfeillion,
Sef y saint, a'r gwîr Angelion,
Mat.6.20. At ba rai ni ddichon drygddyn
Gwnaed a allo dwad attyn.

Gwŷl

Gwŷl pa waith y mae e'n wneuthyr,
Cadw 'r Sabbath fawr yn ddifyr,
Gydâ 'r Saint, heb ddim i arfer, Date 4.
Ond clodforu Duw bôb amser. 8,9,10.

*Gwyl nad oes na phoen, na thristwch,* Datc.21.4.
*Nychdod, newyn, na thywyllwch,*
*Ond dedwyddwch bŷth tra ganto,*
*Lle mae 'th fab y nawr yn trigo.*

Pam gan hynny sy chwaer dirion,
Y halaru mor hiraethlon,
Am dy blentyn y gyrhaeddodd
Duw, o drallod atto i'r nefoedd?

Pam y hŵyly weld dy Brynwr,
Yn ei dynnu o gyfyngdwr,
I esmwythder a dedwyddwch,
O blith dynion ar eu † garrwch. † Gwg.

*Pam y hwyly weld Duw cyfion,*
*Yn ei alw 'geisio coron,* Mar.10.14
*A gogoniant mawr di-derfyn,*
*Er nad oedd ef etto ond plentyn.*

Duw sy'n tynnu atto 'n gynnar, Esay 57.1.
Ei rai anwyl, || cu, a hygar, || Hoff.
Rhag cael gweled dim o'r drygfyd
Y ddaw 'n † immwngc ar y r ynfyd. † Disymmwth.

Y mae Duw yn tynnu 'n fuan
Ei rai anwyl atto 'i hunan,
Rhag i'r anwir ei * gormeilo, * Gorthymmu.
A'r drygionus ei gwradwyddo.

Lladdwyd *Abel* er gwirionned,
Gwerthwyd *Joseph* er di-ddrwcced,
Taflwyd *Daniel* at y llewod,
Trwblwyd *Dafydd* â mawr drallod.

Meibion

Meibion *Job* i gŷd a lethwyd,
Holl blant *Rachel* hwythau laddwyd,
†*Cydyn.* Crogwyd *Absalom* wrth ei † locsen,
Ni ŵyr dŷn beth yw dynghedfen.

Vn a gwymp ar flaen y cledde,
Llall a grogir am ei feie,
Arall y fawdd pan bo meddw,
Wylo ddlyt weld diwedd hwnnw.

Tôst gweld llâdd mâb gwraig â bilwg,
Tôst gweld torri ei ben â'i wddwg,
Neu lwyr nychu yn y carchar;
Nid tôst marw o angeu hygar.

Pam y hŵyla gwraig gan hynny,
Weld yr Arglwydd gwynn yn tynny
Ei blant anwyl atto 'n gynnar,
Trwy ryw glefyd hyfryd, hygar?

*O rhown ddiolch i'r vcheldad,*
*Am y cyfryw lan ymweliad:*
1 Thess. 4: 13. *Ac nac wylwn dros ben messur,*
*Ond sydd raid i gynnwys nattur.*

Ond rhown ddiolch i'n Tâd sanctaidd,
Pan y tynno mor garuaidd,
Ei rai anwyl o'u mawr flinder,
Atto 'i hun, i gael esmwythder.

Duw ro cynffordd, a diddanwch,
*Lleihau.* It fy chwaer, i * leisu 'th dristwch:
*Duw 'th gyssuro am dy blentyn*
*Duw ro 'i minne decced Terfyn.*

---

Rhybydd

*Rhybydd i ochelyd gorthrymmu neb, ac i roddi yn ol yr hyn a dreisiwyd oddiar neb.*

ENnill can punt, colli 'r credyd,
Ennill bawach, colli bywyd, †Coel, parch.
Ennill cyfoeth, colli *Christ*,
Ennill trwm, ond colled trist. Mat.16.26

Gwell ceiniog fach trwy ffordd ddigamwedd,
Na'r wheigain Aur trwy drais a ffalstedd:
Y naill a lwydda 'r ffordd y cerddech,
A'r llall a fwytty faint a feddech.

Gwell * Câ o dîr trwy union bryniad, *un maes.
Nâ Gwlâd o dir trwy dreisio bagad:
Trais hel d'enaid i boenydio,
A'th wraig yn dlawd, a'th blant ar ddidro.

Cyttuna ar frŷs â'r rhai orthrymmaist
Rho 'n ôl fel *Zache* faint y dreisiaist; Luc. 19.8.
Na ddôs medd Christ i'r carchar cyfyng,
Rhaid talu 'r trais hyd att y ffyrlling. Mat. 5.25.

Na wna gam ag vn rhyw ddyn,
Gwell godde dêg nâ gwneuthur vn:
Os cam a wnai rhaid atteb drosto; 1Thes.4.6
Ond godde gam cae iawn am dano.

Beth wnai di ar geiniog drist y dreisech,
Fe fwytty hon y maent y feddech:
Ni fynn Duw, na'i Dŷ mo honi, Esay.61.8
Yn ffroene Christ mae 'r fâth yn drewi.

Os prynu tir hi bair ei werthy,
Os adail Tai hi try yn lludy,
Os rhoi hi'th blânt hi gyrr ar anffod,
Os rhoi i'r tlawd mae Duw 'n ei gwrthod.

Rho

Rho 'r geiniog drais iw hunion berchen,
Amos 5.11 Cyn tynnoi 'th Dŷ ryw farn aflawen:
Ni lwydda hon ymhlith dy weiniaid,
Mwy nâ'r Arch ymmysc estroniaid.

*Gwahoddedigaeth i Bechaduriaid i ddyfod, i dderbyn y pethau da ac a mae Duw yn eu gynnig yn yr Efengyl, trwy y ddammeg o'r Swpper fawr.*

DEwch fonddigion, dewch gyffredin,
Mat.22.4. Dewch i swpper mâb y Brenin;
Luc 14.16 Dewch, a nedwch ddim i'ch rhwystro,
Dewch mae Duw 'n 'ch gwawdd chwi atto.

Mae 'n y swpper sir o'r gore,
Bwyd, i * lonni eich eneidie,
Mêl, a Manna, Bara 'r bywyd,
Gwîn gorfoledd, doniau 'r yspryd.

* *Llawenychu.* Esay 55. 1,2,3.

Chwi gewch yndi vn mâb Duw,
Yr oen yn farw, ac yn fyw,
Gwedi lâdd a chwedi || rostio,
A chwedi codi o'r bêdd ich † sirio.

Cewch ei werthfawr waed i'ch golchi,
Cewch ei sanctaidd * gnawd i'ch porthi,
Cewch ei wlân yn drwssiad i chwi,
A'i fywyd gwyn ich adgyfodi.

|| *Gwedi dioddef poethder digofaint Duw.*
† *Llawenhau.*
* *Yr ufydddod a gyflawnodd efe yn ei gnawd.*

Chwi gewch heddwch Duw ar Drindod,
Chwi gewch bardwn am bôb pechod,
Chwi gewch yspryd y diddanwch,
Chwi gewch Grist, a phôb dedwyddwch.

Dewch yn llawen, dewch yn siriol,
Dewch heb aros ir wlêdd nefol,
Dewch yn † gyfrdo i Briodi
Christ, sy'n cynnig ei hun inni.

† *Gysan gwbl heb ragrith.*

Naded

Naded nêb i ddim ei || ſtayo, ||Cadw yn ôl.
Na'r Bŷd, na'r cnawd, na'r fall ei rwyſtro,
Na'r fferem fawr, na'r pum iau ychen, Luc. 14. 18, 19.
Na'r wraig newydd, na dim amgen.

Onid ewch chwi 'n hŷ, yn hoyw, Luc. 14. 24
I'r briodas wrth eich galw;
Gwr y tŷ ſy'n tyngu 'n || ſceler, ||yn bryſſur
Na chewch † daſto bŷch o'i ſwpper, †Broſi.

Dewch gan hynny iddi 'n addas,
Yng-wiſc ſanctaidd y briodas: Mat. 22. 13
Na ddewch iddi byth heb honno,
Rhag cael rhwym ich traed a'ch dwylo.

Gwynn a chôch yw 'r wiſc o râs,
Gwynn tu fewn, a chôch tu fâs;
Gwynn yn goſyn buchedd ſanctaidd,
Côch yn dangos ffydd griſtnogaidd.

Trwſſied pôb rhai eu heneidie,
Mewn hardd wiſcoedd o rinwedde,
A ſo gweddus a chyfaddas,
I † ſirioli 'r gwir *Feſſias*. †Lawenychu.

Or dewch ir wledd i'ch priodi,
Mewn diſeirwch, ffydd, a gweddi,
Chwi gewch gan Ghriſt fod yn waſtod,
I chwi 'n Geidwad ac yn Briod. Hoſ. 2. 19.

---

## *Pſalm* 100.

DEwch holl Dylwythe 'r ddaiar,
Dewch bawb â llawen lafar:
Cenwch glôd a chalon rwydd,
I Dduw, ein Harglwydd hygar.

Dewch

Dewch fawr a bach drachefen,
Dewch bawb sy'n troedo 'r ddairen,
*Llawen. Dewch addolwch Dduw yn * llon,
Bob rhai â chalon lawen.

Gwybyddwch hyn yn siccir,
Mae 'r Arglwydd grassol, geirwir,
Y sydd Frenin nêf a llawr,
Ac Emprwr mawr yn holl dir.

Gwybyddwch nad chwi'ch hunain,
Ach gwnaeth o'r pridd mor gywrain:
†Tlych. Ei waith ef † ych o'r llŵch a'r llaid,
Ei blant a'i ddefaid bychain.

O Dewch iw byrth gan hynny,
Dan ddiolch a than ganu,
Fach a mawr ar fore a hwyr,
Yn brudd iw lwyr foliannu.

O Dewch iw Demel sanctaidd,
Yn drefnus, ac yn gruaidd,
I glodforu enw Duw,
Cans hyfryd yw a gweddaidd.

Daionus a thosturiol,
Yw 'r Arglwydd wrth ei bobol:
O oes i oes y peri Air,
Dros fŷth fe gair yn rassol.

*Cynghor i'r Llyfyr, o waith y Sawl sy'n ei ddanson ef y nawr ir wlâd.*

Dôs o Lyfyr bach i *Gymru*,
I ddatcuddio ac i ddyscu
Y ffordd vnion i Baradwys,
Ag sy'n mynd at Dduw yn gymmwys.

Er

Er bôd yno rai 'n ei gwybod,
Ac yn rhodio † yndi 'n waſtod:
*Etto mae* * *'no rai er hynny,*
*Na cherddaſant droedfedd yndi.*

Mae 'no rai nad yw yn nabod,
Y gwîr *Dduw*, nac ei lân hanfod,
Ei ſâb *Chriſt*, na'i yſpryd ſanctaidd,
Trwy ddibriſſio ei ‖ eiriau puraidd.

Mae 'no rai ſydd anghnabyddus,
O'u drwg ffyrdd, a'u ſtâd anhappus,
Trwy ddirmygu a dibriſſio
'R moddion ſydd iw cyfarwyddo.

Mae 'no lawer yn annuwiol,
Yn trammwyo 'r ffordd vffernol:
Rhai ni thrônt ir ffordd fendiged,
Gan fyw 'n ffrom-ffoll, a phengaled.

*Rhaid yw nabod Tâd goleuni,*
*A'r mâb rhâd ein Harglwydd* Jeſu:
*Credu ynddo, a byw 'n raſſol,*
*Cyn yr aer ir deyrnas nefol.*

Dôs gan hynny a goleua,
Y rhai tywyll ſydd † yng-*Hambria*,
A chyfeiria eu traed yn gymmwys,
Ir ffordd vnion i Baradwys.

*Canwyll Cymru* mae d'hen feiſtyr,
Yn dy alw mewn rhyw lyfyr:
Gwna dy ſwydd ar frŷs gan hynny,
Trwy oleuo 'r dall yng *Hymru*.

Llawer plwyf, och Dduw! ſydd yno,
Mewn mawr ddiffyg o'u cyfrwyddo,
Trwy dallineb, neu 'ſceuluſdra,
Rhai o'r ffeiriaid llawn † cybyddra.

† *Sef yn y ffordd ir nefoedd.*
* *Yno.*
‖ *Ac ſydd fodd i wneuthur Duw 'n gydnabyddus.*
Mat. 7. 13.
Joan. 17. 3.
Heb. 12. 14
† Yng *Hymru.*
† *Nid ydys yn dywedyd fod pawb felly*

Cans

*Pennaes.

Cans mae rhai o'r * prif offeiriaid,
Yno 'n ddiofal am eu defaid,
Ac yn gadel idd eu dyscu,
Rai na fedrant wneuthur hynny.

‖ Mewn rhyw leoedd.

Tôst yw gweled fâch Guwradiaid,
Sydd olygwyr ar y ‖ defaid,
Dan Bersoniaid mawr cyfoethog,
A Ficceriaid uchel, enwog.

† Y mae Duw yn dyst fy môd i yn dwedyd hyn heb falis.

Deillion, meddwon, a gwatwarwyr,
Rhai heb nabod Duw na'r Scrythyr,
*(Heb † ddim malis rwi'n ei ddweid e)*
Sydd fugeiliaid mewn rhyw fanne.

Nid am y Conffurmiaid grasol,
Rwyfi 'n dwedyd hyn yn hollol,
Nid am *Jerem*, nid am *Eli*,
1 Sam. 2. 17. Ond am *Phinees*, ai frawd *Hophni*.

* Mae 'r Ficcer yn dywedyd llawer mwy yn ei gân am ddyled-swyddau Gwenidogion.

Nid wi'n * dwedyd ond y ddwedodd,
Yr Hên *Ficcer* pan llefarodd,
Gan roi allan, a chyhoeddi
Hyn o Bennill yn *Llanedi*.

***DODI 'r Dall ar Ben Disgwylfa,***
***Dodi 'r Dwl i Ddyscu Tyrfa,***
***Dodi 'r Diddysg wrth y Llyw,***
***Yw Dodiad*** Dŷn , ***nid Dodiad Duw.***

† Fe ddatcuddia Duw ryw ddydd pwy sydd felly, Barned pobl a fynnont.

Dôs gan hynny, Bryssia i *Gymru*,
A chyflawna 'r diffyg dyscu,
Y sydd yno mewn rhyw fanne;
Ac nac ofna Ddŷn yn vn-lle.

Gwîr *Gonfformist* oedd dy feistir,
Ac am hynny ni'th scymmynir:
Ni throer arnat ti yn haerllic,
Waith dy dacclu gan † ffanatic.

Rwyt

Rwyt ti'n crio fynu 'r Gwylie,
Rwyt ti 'n dala ffurf weddie,
Rwyt ti 'n gwawdd rhai ir Eglwysydd,
Rwyt ti 'n † llwo Tadau bedydd :

Temlau, a Thai Dduw yw'r llannodd,
Medd d' hên feistyr mewn rhyw leoedd
Ynnot ti : pa ham gan hynny,
M' arnat ofon fynd i Gymru ?

Mae d'ail feistyr ynte 'n dala,
Holl athrawiaeth y gymmanfa
O *Eglwys Loeger*, gan ei thraethu,
Ym mhôb * tyrfa y dêl iddi :

Mae e'n traethu ei hathrawiaeth,
Er na || leica mo'i dyscyblaeth ;
Ond nid yw 'n † cyhoeddi hynny,
Ble mae 'n arfer o bregethu.

Ymwrola, dôs yn ebrwydd,
Na phrydera y cei aflwydd,
Am dy fôd yn dwad o ddwylo,
Vn nad ydyw yn conffformo.

Cans mae llawer o'r conffformiaid,
Grassol, Sanctaidd hwyntau 'n tybiaid,
Fel mae eraill, fôd d' ail feistyr,
Yn ceisio llwyddiant eu gyd-wladwyr.

Di * gêst resso gynt yng Hymru,
Ac na || thebyg nas cei hynny
Etto, gan bôb † sort o bobol,
Oni fyddant balch, neu ffrom-ffol.

Hwy ddioddefant dy geryddon,
Hwy a hoffant dy gynghorion,
Hwy'th ddarllenant yn awyddus ;
Canys trwyddot rwyt ti 'n felus.

† Yn ymfodloni i.

* O'i wrandawyr.

|| Er nad ydyw fodloniw dyscyblaeth.

† Sef, ei anfodlonrwydd ir dyscyblaeth.

* Gefaist.

|| Feddylia

† Math.

Er y byddi yn fwy goſt-fawr
Nag y buoſt: ni bydd nemmawr
O Deuluoedd yr holl *Gymru*,
Nas derbynnant di er hynny.

Ni bydd ffeiriad, Ni bydd Meiſtir,
Ni bydd plantach na gwaſnaethwyr,
Na bugelydd ar fynydde,
Nas greſſawant ti yn † ddie. († Siccr.)

*Fe ddioddefir i ti ddwedyd,*
*Pethau nis baidd eraill † 'nghanyd:* (†Dywedyd)
*Ac pe 'nganent mewn rhyw fanne,*
*Hwy gaent gerrig am ei penne.*

F'all y gwann gael ynnot gyſſur,
Ac ychwaneg grâs mewn meſſur,
I waſnaethu Duw yn ddifrad,
Bôb vn yn ei || briod alwad. (||*Yn y galwad ſy'n perthynu iddo ei hun*)

Os Dŷn graſſol fydd ith ddarllen,
Os rhagorol fydd dy berchen,
Mewn pôb dawn a grâs yſprydol;
Trwy 'th gyfeillach fâ 'n fwy duwiol.

Ac os drwg-ddyn fydd ddarllenwr,
Meddwyn, marllyd, neu watwarwr,
Er ei * bleſſer fe 'th fawrhâ di, (*Digryſwch.*)
(Dal e'n gyfrwys os y gelli.

Gwna 'ddo alw ar Dduw, ac adde
Ei ddrwg gyflwr, a'i bechode,
Credu yng-Hriſt, ac ediſaru;
Nid twyll tynnu Dyn at Ieſu.

Cadw 'th ſâch yn afel ynddo,
Nad e fyned a thramwyo,
At ei hên gyfeillion ofer, (Dih. 4. 14.)
I fyw 'n atcas yn ddibryder. (*byd yr* 20.)

Ond

Ond ymhwedd arno gofio,
Mai gwell ofni Duw na'i ddigio ; Psal.103. 17.
Cans fe geidw 'rhai a'i hoffant, 1 Sam.2. 30.
Ae fe ddamna 'rhai 'dirmygant.

Dôs gan hynny fe'th dderbynnir,
Gan bob * fort, ac fe'th gymmerir, *Pôb mâth o bobl.
I bôb dwylo yn dra hyfryd,
Fe'th fawrhaer di 'n anwyl hefyd.

Ac tra '*ngHymru* ddim cristnogaeth,
Fe gymmerir dy gwmpniaeth,
Fe'th ddarllenir, ac fe gyfyd,
Rhai a'th brintiant pan bo † anghenyd. †Anghenrheidrwydd.

Gan dy fôd mewn * shwt gymmeriad, *Yn y fâth
Bydd yn fwyn, a dangos gariad
Yn ddiragrith ym mhob teulu,
A Dôd allan dy eleuni.

Gwna nhwy wybod a chyffessu,
*Fôd pôb pechod brwnt yn haeddu* Ruf.6.23.
*Melldith Duw, a'r Tân vffernol,* Deut.28. 15. Datc. 21.8.
*Ym mysc Diawlaid yn dragwyddol :*

*Ac nad oes vn ffordd i gadw* Jo.14.6.
*Vn rhyw ddŷn rhag mynd i ddestryw,* Act 4.12.
*Ond yn vnic trwy Ghrist Iesu,*
*Ddaeth o'r nêf ir ddaer i'n prynu.*

*Ac na cheidw Christ vn Christion,* Jo 3.36.
*Ond y gretto yndo 'n ffyddlon,* Esa.55.7.
*Gan droi ymmaith eu pechodau,*
*A byw 'n ôl ei sanctaidd ddeddfau :*

Dysc nhwy wiliad ei meddyliau,
Dysc nhwy 'styried ei holl eiriau,
Ac i edrych beth a wnelon,
Pa le bynnag ac y byddon.

Gwna nhwy gofio gorfydd cytri,
Ger bron Christ ar ddydd eu †dichri,
Am eu câs a'u drwg weithredoedd,
A'u drwg eiriau ym mhob lleoedd:

*† Caledi, sef dydd y farn.*

Rhuf. 2.16 Ac nad â drwg feddwl heibio,
Heb ei ddannod, heb ei gofio,
Gan y Barnwr mawr Christ Iesu,
Os o'r bŷd 'r âer cyn difaru.

Dysc nhwy 'ddoli Duw 'n ei Teie,
A chyflawni 'dyledswydde,
Idd ei gilydd yn gristnogaidd,
Yn dra diwyd, ac yn weddaidd.

*Fel y tynnaist gynt i † ddarllain,*
*Lawer vn yn ddigon cywrain:*
*Er mwyn Christ gwna hynny etto,*
*Da fydd hynny i bôb Cymro.*

*† Yr ydys yn tybied i lyfrau* Mr. Prichard *dynnu miloedd i ddyscu darllain.*

Tynn bôb rhai at y Scrythyrau,
Dangos iddynt y rhesymmau,
Rows dy feistyr yn dy ddechre,
Pam rhaid darllen y scrythyre.

Dysc nhwy dreulio 'r Sabboth sanctaidd,
Yn gristnogol ac yn weddaidd,
Gan addoli Duw 'n gyhoeddus,
Ac yn ddirgel fel mae 'n weddus.

Hal hwy o'r pebyll, nâd hwy botian,
Ar y Sabboth, nac i † loetran:
Dwed ith feistir feio hynny,
Lawer gwaith yn enw 'r Iesu.

*† Segyrtu.*

Gwna nhwy wrando 'r gair â gofal,
Gwna nhwy arfer gweddi 'n ddyfal,
Cymryd y communiwn sanctaidd,
Yn dra gweddol a christnogaidd.

Gwna

Gwna i bôb rhai fynych gofio,
Rhaid mynd ymmaith, a rhaid * paccio
Bawb oddi ymma, cans rhaid marw,
A derbyn barn gan Ghrist yn hoyw.

* Ymadael.

Pâr ynt wybod fôd dedwyddwch,
Ir rhai sanctaidd, a || rhialtwch,
Yn y nêf, ac fôd tôst benyd,
Ir rhai drwg yn uffern danllyd.

|| Gogoniant.
Mat. 25. 41.

Dysc nad oes ar ôl marwolaeth,
Yn y pwll ddim taledigaeth,
Am bechodau, ac am frynti,
Cans dros fŷth rhaid yno boeni.

Pâr ir Cymru fynych gofio,
Mae peth tôst yw gorfod trigo,
Blwyddyn gyfan mewn tywyllwch,
A chadwynau heb ddiddanwch:

Och! faint dostach a fydd trigo,
Fŷth yn uffern i boenydio,
Dan law Satan mewn cadwynau,
Am ddibrissio Duw a'i ddeddfau.

Pan y doech i dre *Landdyfri*,
Ac i *Lanfair*, a *Llanedi*,
Mofyn yno pwy sydd rassol,
Pwy sydd ffyddlon a difeiriol?

Ond cael cwrdd trwy fawr ymofyn,
A'r rhai sanctaidd sydd yn taring,
Yn y Dre a'r plwydde hynny,
*Dywaid Heddwch wrth y rheini.*

Ac yn enw 'th feistyr traetha
Llîd a bâr y Duw gorucha,
Ir troseddwyr ni ddifarant,
A'r anffyddlon ac ni chredant.

*Dywaid wrthynt ir hên Ficcer,*
*Wylo'n dôst â chalon dyner,*
*Am eu brynti ; a'u rhybuddio,*
† Edifaru. *Wella ei buchedd a † repento.*

Dywaid iddo ddyscu o'r scrythur
Ffordd yr Arglwydd mawr yn eglur,
Iddynt hwy, a'i bôd er hynny,
Fyth yn byw mewn ffieidd frynti.

☞ *Dwed y bydd y dydd diwetha,*
*Lai o gosp i Dre Gomorra,*
*Nag y fydd i Dre Llanddyfri,*
*Ac i Lanfair a Llanedi.*

* Eglur. Christ y ddengys yn * blaen ddigon,
† Set, moddion grâs Am y rhai sydd dan y † moddion,
Y daw arnynt fwy o'r storom,
Mat.11.23. Nag a ddaeth o'r nef ar *Sodom.*

Cans y sawl sy'n pechu 'n rhigyl,
Dan bregethiad yr efengyl,
Sy'n pentyrru eu hanwiredd,
Am droi cefne ar drugaredd.

☞ Dwêd na chas yn nyddiau 'r *Ficcer,*
Nemmawr iawn yng *Hymru* 'r Hanner,
O'r athrawiaeth, a'r cynghorion,
Gawsant hwy yn Eglur ddigon.

*Dwed fod Duw yn gofyn llawer,*
† Cwrr. *Ym mhôb gwlad, ac ym mhob † cwarter,*
Luc.12.48 *Ble mae'n rasol yn rhoi amledd,*
*O'i efengyl mewn trugaredd :*

*Ac pa fwya y ddeellir,*
*O wîr 'wllys Duw o'r scrythur,*
Luc.12.47. *Mwy o lawer cawn ein curo,*
*Am roi achos i Dduw ddigio.*

*Gwandd*

*Gwawdd gan hynny Hên ac Ifangc,*
*(Os hwynt hwy a fynnant ddiangc,*
*Llîd a bâr yr Arglwydd nefol,)*
*I fyw 'n sanctaidd ac yn dduwiol.*

*Cofia 'r Ifangc y ditlir,*
*Ar y plant sydd ddrwg weithredwyr*
*Anwireddau 'r Tadau 'n gyngan* Exod.20.5
*Gydâ 'u hanwireddau eu hunan:*

Cans o rodio 'n ffyrdd eu Teide,
Maent hwy 'n dweid y maes yn ole
Eu || cŷdsent yn eu drygioni, || *Cyttundeb.*
*Duw sydd cyfiawn yn eu cospi.*

Gwna nhwy ddarllen y trwm achwyn,
Wnaeth dy feistir yn ei herbyn:
Er mwyn Christ bydd yn dra eiriol,
Ar ynt fôd yn edifeiriol.

*Yn ol traethu hyn ym mhlwydde*
*Yr hên Ficcer, bryssia, dere,*
*Gwna 'r un neges dros d'ail feistyr,*
*Ym mhlwydd* Mydrim, *ac yn* Merthyr.

Dwêd wrth bawb ac sydd yn taring,
Ym mhôb plwyf yn shir Gaerfyrdding,
Ac wrth bawb o bobol Gymru,
*Y Gair y glywsont gaiff eu barnu.* Jo.12.48.

*Pan y doech i dai 'r bonddigion,*
*Pâr ynt newid eu harferion,*
*Gadel balchder, trawsder, medd-dod*
*A gochelyd digio 'r Drindod.*

Dwêd yn † hlayn pan dônt iw barnu, † *Yn eglur.*
Ar y barr o flaen *Christ Jesu*,
Na bydd * gwân rhwng Prins a deilaid, * *Gwahaniaeth*
Rhwng cyfoethog a begeriaid: 1Pet.1.17

Ac y dylent herwydd hynny,
Lwyr ymadel â'i holl frynti,
Credu ynghrist, a bôd 'n tifar,
Cyn i mynd hi 'n rhy ddiweddar.

Gwna nhwy feddwl am ei 'neidie,
Fwy nag am ei câs blessere;
Fwy nag am eu dâ, a'u rhenti,
Eu ffryns, cenel, a'u holl wegi.

Pan y doech i ddwylo 'r ifangc,
†Di-ddi-wedd. Gwna 'nhwy gofio 'r bywyd † didrangc:
Deisyf arnynt adel heibio
Eu hynfydrwydd, a repento.

Dangos iddynt nad yw plesser,
Preg. 11. 9 Y byd hwn ond rhyw beth ofer,
Ac y gorfydd ryw ddydd atteb,
O flaen Christ am bob ffolineb.

Ni chyflawna plesser bydol,
Chwant yr enaid sydd anfarwol:
Nid oes dim all wneuthur hynny,
Ond nawdd Duw trwy waed y Jesu.

Oh! ymhwedd arnynt adel
Chwant y Byd, y Cnawd, a'r Cythrel;
Heb. 3. 7, 8 Ac ymroi tra'i gelwir heddu,
I wasnaethu 'r Arglwydd Jesu.
Cans ni wyddant a cant amser,
I ymadel a diffeithder:
Cans mae 'n arfer dwad i'r farchnad,
Groen yr oen fel croen y ddafad.

Dangos iddynt pa fâth feistyr,
Yw Christ Jesu iw wasnaethwyr,
†Heddwch Yn rhoi iddynt † hedd, a bywyd,
Teyrnas nef, a choron hyfryd.

Gwna

Gwna 'nhwy 'n fynych ddyfal gofio,
Nad yw 'r Cythrel ond eu hudo;
Ac nad oes ond yr aflwyddiant,
I'r rhai hynny a'i gwasnaethant.

Cans o byddant heb eu cospi, Job 21. 31.
Gan Dduw ymma am ddrygioni:
Cant ryw bryd, mewn tân vffernol,
Gosp ofnadwy yn dragwyddol.

Ffarwel, *deisyf ar bob Christion*
*Nas derbynnont ond a welon*
*Ynnot, yn gyttun â'r scrythur;*
*Felly* ‖*plessu dy ddau feistir.* ‖*Rhyngu bodd.*

Ond cyn myned, vn gair gwrando,
Pâr i'th *Brynwyr* ddysal gofio;
Pan dy brynwyd gynt yn rhanne,
Trwy roi 'th fenthyg † êst yn † llappre: †*Aethost yn ddarnau*

A thrwy 'th ossod ar ffenestri,
* Bwtte glybion, ac ar seldi *Twlle, Lowsedi.
‖ Ust, llawn llwydi, êst yn † vfflon: ‖Gwlyb, llaith.
Na wnant beth y nawr mor * ffinion. †Yn ddrylliie. *Ffieidd.

*Ond pâr iddynt berwydd hynny,*
*'Th gadw 'n sŷch, a'th ymgeleddu;*
*Fel y byddech hîr o amser,*
*Dra gwasnaethgar ym mhob* ‖ *cwarter.* ‖ *Ym mhob cwrr o'r wlâd.*

---

*Fel y deallir y gân sy'n canlyn, Bydded hyspys ir darllenwr fyned Brenin* Charles *y cynta i* Spain, *pan yr oedd efe yn Dywysog* Cymru, *mewn pwrpas i briodi merch Brenin y Deyrnas honno; Ac pan yr oedd Teyrnas* Lloeger *yn llawn ofn, na adawe 'r* Spaniards *iddo byth ddychwelyd adref, fe welodd Duw fod yn dda i ddyfod ac ef i dref yn iach llawen; ac ar hyn fe wnaeth Ficcer* Prichard *y gan hon. Da y fuassei, pe na enwassei efe yn y gan, ond y gwîr Dduw yn unic; Ble mae fe nawr yn galw, (fel y Poetau genhedlig gynt) ar y gau a'r ffalst dduwiau, Er mi wn yn ddigon da nad oedd efe yn credu fod un Duw onid y gwir Dduw. Yr wyfi gwedi spelian amryw o eiriau saesneg yn y gan yn y ffordd gymreigaidd.*

Y *Muwsys* oll o Helicon,
Y *Grasys* tair, a'r *Nymphs* o'i bron,
Cymrwch bawb eich offer ganu,
I resso o *Spain* Dywysog *Cymru*.

*Apollo* dôd dy gôr yn gyngan,
Pâr ir *Nymphs* a'r *Grasys* ddawnsian,
Tra fo'r *Muwsys* ôll yn canu,
Welcwm hôm i Brins y *Cymru*.

Doro

Doro ir *Grasys* wiscoedd gwynion,
Pletha eu gwallt â'r lawrydd gwyrddion,
Trwssia 'r *Nymphs* â'u tlysse o dautu,
Fynd i resso Prins y *Cymru*.

Rho ir *Musys* offer auraid,
dan law 'r Ceidwaid,
Fel y gallont gywrain ganu,
Gresso o *Spain* i Brins y *Cymru*.

Gosod pôb vn yn eu gradde,
Gwachel ado dim yn eisie,
Ag a allo lawenychu,
Clûst a llygad Prins y *Cymru*.

Gwedyn *Phœbus* taro 'r delyn,
Hôff gan ferched *Iove* dy ganlyn,
A'r tair chwaer y fydd yn gwenu,
Dawnsio welcwm Prins y Cymru.

Troed *Melpomen* drîst ei hoer-nad,
Caned *Clio* lawen ganiad ;
Gaded pawb *Thalia* flaenu
† Auraid vers i Brins y Cymru.

*Merchur* dithe, dôs i hedfan,
Gwyssia 'r Duwiau, fawr a bychan,
A'r Duwiesse bawb 'ymdacclu,
Fynd i resso Prins y Cymru.

Dawed *Iove* a'i holl oreu-gwŷr,
*Mars* mewn rhangc a'i holl Ryfelwyr,
*Phæb'* a'i ffeiriaid oll dan ganu,
Gresso o *Spain* i Brins y Cymru.

Dawed *Iuno* ar Goach o Baunod,
*Festa* ar gerbyd o glomennod,
*Venus* ar elerchod coes-ddu,
I roi gresso i Brins y *Cymru*.

*The Copies are unintelligible here.* Corenelos dan law, &c. Goreu 'n nelos dan law, &c.

Mewn Coppy arall. †*Dawnsio welcwm prins y Cymru.*

Rhodded

Rhodded *Fenus* iddo degwch,
*Iuno* gyfoeth, *Pallas* heddwch,
*Ceres* lafyr gwedi addfedu,
I bresento Prins y Cymru.

Coppy arall †Zon.

* Sôn adeinog heda dithe,
Dros y moroedd a'r mynydde,
Cân â'th gorn ir bŷd o bobtu,
Sâff return i Brins y Cymru.

*Nid wyf yn cofio, i mi ddarllen erioed yn un o'r poetau am* Sôn *neu* Zôn.

Pâr i bawb â'i dillad gore,
Ddwad ei ressewi adre:
Ac yn ddyfal i foliannu
Duw, am gadw Prins y Cymru.

*Neptun* donnog a'i Ddolphinniaid,
*Thetys* drwst-fawr â'i Sirenniaid,
Y rows shiars i *Driton* ganu,
Gosteg fôr i Brins y Cymru.

*Æolus* chwyrn-wyllt ynte ostegodd
Dwrdd, a chynnwr yr holl wyntodd,
Ac a wnaeth i *Zephyr* chwythu
'Rhwyl, wrth fôdd Tywysog Cymru.

*Phebus* hardd o'r nêf a chwarddodd,
Weld y llongau ar y moroedd;
Ac a wnaeth i'r Haul-wen wenu,
Tra fu'r dydd ar Brins y Cymru.

*Cynthia* hithe ni bu segyr,
Na'i morwynion ar yr Awyr,
I oleuo 'r bŷd o bôb tu,
Tra fu 'r nôs, i Brins y Cymru.

*Castor*, *Pollux*, ac *Vrania*,
Pôl y gogledd, ac *Aurora*,
A'r holl Sêr oedd yn ymdynnu,
Ledo'r ffordd i Brins y Cymru.

Haul

Haul, a Lleuad, ſêr y nefoedd,
Gwynt, a glaw, a thîr, a moroedd,
Nef, a Daiar ſy'n datcanu,
Ffafar Duw i Brins y Cymru.

Pan y daeth i olwg *Lloeger*,
F'aeth y Duwie i ſtrifio 'n ſceler,
Pwy gae gynta dan ymdynnu,
Ddwyn i dîr Dywyſog Cymru.

*Merchur* am ſôd drosto 'n Ladmer,
*Iove* am roddi iddo bwer,
*Fenus* am ei fynd i garu,
Fynne'r Dydd gan Brins y Cymru.

*Satwrn* friglwyd tâd y duwie,
Wrth ei oedran ynte mynne,
Ond y *Sûl* 'rhwn oedd e'n barchu,
Gas y Dydd gan Brins y Cymru.

Y pummed dydd o fîs October,
Ar ddydd Sûl, dair awr cyn hanner,
Y dygodd Duw dan lawenychu,
I dîr *Lloeger* Brins y Cymru.

Duw ddanſonodd ei wîr Angel,
I gyfrwyddo ei holl drafel;
Ac i ddwyn pôb peth o bobtu,
Wrth född calon Prins y Cymru.

O moliannwn ninne 'r Drindod,
Ddydd a nôs, â chalon barod,
Am 'ddo ddwyn Pôb peth o bobtu,
Wrth född calon prins y Cymru.

Spayn a fynne mewn cyfrwyſder,
Gadw'n Prins dros ddyddie lawer:
Duw a gwlâd y fynne er hynny
Fyrr ymchweliad Prins y Cymru.

Dan

Dan i *Dduw* o gariad atto,
Ddangos Cymmaint ffafar iddo,
Pa fâth roeso gwŷch y ddyly
Brydain roi i Brins y Cymru?

Doed ein *Brenin*, a'i *Gyngheriaid*,
Doed y *Ieirll*, â'r holl *Bennaethiaid*,
Yn eu Rhôbs a thrwps o bobtu
I Resewi Prins y Cymru.

Doed y grasol *Archescobiaid*,
A'r *Escobion* a'r *Preladiaid*,
Mewn prosessiwn i foliannu
Duw, am gadw Prins y Cymru.

Doed Ardderchawg Arglwydd *Keeper*,
Vrddas *Cymru*, llewyrch *Lloeger*,
A'r *Britanniaid* hardd o dautu,
Iddi roeso Prins y Cymru.

Doed y mwya garo Cymro,
Colofn y deyrnas *Arglwydd Penfro*
A'i wŷr galant i stafellu,
Yn nhŷ 'r Brenin Brins y Cymru.

Doed *Mayr Llundain* a'i gwmpeini.
Yn eu Scarled a'u Cadwyni,
Ar feirch gwynnion i anrhegu,
Ac i roeso Prins y Cymru.

Doed y *Marchants* mawrion hwynte,
I'r heolydd â'u gwîn gore,
I roi rhwng eu ffryns o bobtu,
I yfed health tywysog Cymru.

Doed yr holl *Brentishiaid* hwynte,
Dan roi bloedd, a thaflu Cappe,
Yn dra llawen dan † grechwennu,
I roeso o Spayn Dywysog Cymru.

† *Chwerthin.*

Doed

Doed *Scholheigion* yr holl ynys,
Yn eu grâdd, â'u hauraid versys,
A'u * haraithau dan || lewychu
I roesawi Prins y *Cymru*.

Doed *Offeiriaid* a'u plwyfolion,
Gwŷr, a gwragedd, merched, meibion,
I'r Eglwysydd i foliannu
Duw, am gadw Prins y *Cymru*.

Caner clŷch yr holl eglwysydd,
Nes dadseinio 'r môr, a'r mynydd,
Ac i'r ddaiar sûd ddatcanu
Groeso o *Spain* i Brins y *Cymru*.

Cynner tân a bônfires fagad;
Tân sy'n dangos gwrês ein cariad;
Fel y gwelo 'r bŷd o bobtu
Faint o'ch serch i Brins y *Cymru*.

*Minne* a'm *Tylwyth* nôs a bore,
A rôf ddiolch a'r syng linie,
I'r *gwîr Dduw* am ddwyn o dautu,
Yn iach lawen Brins y *Cymru*.

Duw 'ymddiffynno rhag bradwriaeth,
Cadwed Christ ef rhag pabyddiaeth,
Ac rhag pawb sydd yn amcanu
Drwg, neu speit i Brins y *Cymru*.

Duw ro calon *Ezekias*,
Synwyr *Selef*, zêl *Josias*,
Dewrder *Dafydd*, ac at hynny
Einioes *Noe* i Brins y *Cymru*.

*Joas*, *Cusai* fo Cynghorwŷr,
*Joseph*, *Daniel* fo golygwyr,
*Moesen*, *Samuel* y fo 'n barnu,
Bŷth at faingc dan Brins y *Cymru*.

* Orations.
|| Lewenychu.

Christ

Christ a'i escill a'i hadeinio,
Christ a'i yspryd a'i cyfrwyddo,
Christ a'i râs y fytho 'n nerthu,
Ym-mhôb achos Brins y *Cymru*.

Arglwydd grassol cadw 'r deyrnas,
A Bendithia 'n Brenin *Shiamas*:
A rho gynnydd grâs, a gallu,
Vwch-law pawb i Brins y *Cymru*.

---

## *Tabl y Bedwarydd Ran.*



*FINIS.*

---

Fe werthir y Llyfr a enwir *HOLL DDLED-SWYDD DYN*, gan *R. Royston*, *gwerthwr Llyfre i Adderchog grâs y Brenin*, tan Lûn yr *Angel*, ym mhonwent Powls yn *Llundain*.